# YR YMARFER O DDUWIOLDEB: YN CYFARWYDDO dŷn i ryngu bodd Duw:

Yr hwn lyfr â osodwyd allan yn saeson-aec o waith y gwir barchedig dâd *Lewis Escob* Bangor, ac a gyfieithwyd yn gamber-aec o waith *Row. Vaughan* o Gaergai o sîr Feirion wr bonheddig.

---

——— *Est voluisse satis.*

Idduwioldeb y mae 't addewid, or bywyd hwn sydd yr awron, ac o'r hwn a fydd. 1. *Tim.* 4. 8.

---



Printiedig gan *Felix Kyngston* tros *Robert Allot*, ac ydynt iw cael tan lûn yr Arth ym mhonwent S^t^ *Paul* yn *Llundain*. 1630.



# AT YR VCHEL ALLVOCAF DYWYSOG CHARLES *tywysog Cymbru.*



HRIST IESV Tywysog y Tywysogion â fendithio eich mawredd, â hir ddyddiau, ac amlder oi radau ar gynnydd; yr hyn a'ch gwnâ chwi yn wir ffynnadwy yn y bywyd hwn, ac yn ddedwydd dragwyddol yn y byd a ddaw. 1.Tim.1.15. Dad.1.13.

Fe saethodd *Ionathan* dair o saethau i beri i *Ddafydd* gilio ym mhellach oddiwrth ddigofaint *Saul:* dymma'r trydydd llythyr a scrifennais innau, i dynnu eich *mawrhydi* yn nes at ffafr Duw, gan hyfforddi eich calon mal *Iosiah* yn eich ieuengctid, i ddilyn ar ôl Duw *Dafydd*, ac *Iaco* eich Tâd. Nid o ran fym 1.Sam.20.20.

 môd

môd yn ammeu fod eich *Mawrhydi* yn gwneuthur hyn, heb fy addysc i, ondo ran fy mymmwn gyd a'r Apostol i chwi amlhau mewn grâs, ffydd, a gwybodaeth, a *phôb astudrwydd yn eich cariad i wasanaeth Duw q gwir grefydd*. Ni bu erioed fwy o eisiau vnion bur ddilygredig athrawiaeth, canys y mae 'n debygol fod y *bardd* yn brudio am ein hamser ni yn hyn o ymadrodd: * *Obsequium amicos, veritas odium parit*. Ac nid rhyfedd, gan weled ein bod ni wedi ein gadael i wehilion yr amser, yr hwn gan ei fod yn ddiwaethaf sydd angenrhaid iddo fod yn waethaf ei ddyddiau: A pha fodd y geill fod yn waeth, gan weled na wyr gwagedd pa fodd y bydd gorwageiddiach, nac anwiredd, *anwireddach*? Ac fel y cyfrifid or blaen *hwynt* yn fwyaf sancteiddiol, y rhai a ddangosai fwyaf zêl a chariad yn eu crefydd: yr awrhon, fe ai cyfrifir hwy yn fwy moddol, y rhai sy 'n gweuthur y broffessleiaf ou ffydd. Y mae 'n ymddangos yn eglur mai y rhain ydyw y dyddiau diweddaf; o ran bod diofalwch am y stât dragwyddol gwedi llifeirio (fel y rhagddywedodd *Crist* y byddei dros

2.Cor.7. 8.

* *Gweniaith a bair gariad, gwir a bair gâs.*

Mat. 25. 1, &c.

dros bob grâdd o ddynion, megis y mae y rhan fwyaf sy 'n byw yr awrhon a mwy serch tu ag at ei llawenydd bydol nac at ei duw'ai llawenydd tragwyddol: Ac or rhai sydd yn cymmeryd arnynt ddangos serch tu ag at Dduw: O Dduw Pa galon sancteiddiol na waeda, weled ansynyched y maent yn dyfod i weddio, mor ddianrhydeddus y gwrandawant air Duw? mor ddieithr ydynt ar fwrdd yr Arglwydd? mor gyfannedd y maent yn olygwyr ar *gogimerth* a chwaryddiaeth yr staids? Lle (er eu bod yn Gristianogion) yr ymhyfrydant eu hunain wrth wrando eillion y cythraul yn gwatwor crefydd, a thrwy gabledd yn camarfer geiriau yr Scrythur sanctaidd yn eu chwarêyddfâu, mor *gynefin* ac yr arferir pibellau *Tobacco* mewn tafarndai. Felly pe bai vn yn y dyddiau hyn yn myned i edrych am nerth duwioldeb: prin y cai ef weled eulun o hono mewn llawer o gristianogion. Ni bu erioed fwy o bechu, na llai cydwybod am bechu, ni bu y *Barnwr* erioed nês i ddyfod, ni bu erioed lai o barodrwydd erbyn ei ddyfod. A phe deuai y priodfab yr awrhon, pa rifedi (or rhai sy 'n

eu tybied eu hunain yn ddigon *doeth a*
Mat.25.8 *gwybodol*) a gaid yn forwynion ffolion, *heb vn defnyn o olew ffydd gadwedigol yn eu lampau?* O blegid y callineb mwyaf sydd gan lawer yn yr oes hon, ydyw bod yn gall i dwyllo eraill yn gyntaf, ai twyllo eu hunain yn y diwedd.

Ac os digwydd ryw amser i ryw lyfr da ddyfod iw dwylaw, neu ryw feddwl da ddyfod iw pennau, yr hyn a bair iddynt gofio fyrred yw 'r oes hon, a gwanned yw eu sicrwydd hwynt am fywyd tragwyddol, pan ddarfyddo y bywyd hwn: ac fel y mae iddynt ryw bechodau cyfrinachol am yr rhain, y mae yn rhaid iddynt edifarhau, neu gael eu cospi yn vffern yn ol hyn: y mae *diofalwch* yn ebrwydd yn sio ynglust y rhagrithiwr, (er bod yn fadws iddo feddwl am y pethau hyn) nad yw hi etto amser, ai fod ef etto yn ddigon ieuangc (er na eill nas bô 'n gwybod fod llawer myrddiwn cyn ieuanged ac yntau, yn barod yn vffern, eisiau edifeirwch amserol) y mae *rhyfyg* yn ei sicrhau yn y glust arall, y geill ef yn ól hyn gael amser pan fô 'n segur i edifarhau, a pha wedd bynnac y mae eraill yn marw, ei fod ef yn ddigon

gon pell allan o ergid marwolaeth. Ac am hynny efe a eill yn hyf gymmeryd peth ychwaneg amſer i ddilyn ei drachwantau melus, ac i chwanegu ei olud ai lywodraeth. Felly megis (diogwas *Salomon)* y mae yn ymroi i gyſcu tippyn eilwaith, ychydig heppian etto, ymgaredigo gronyn ychwaneg, i huno yn ei bechodau arferol. Nes o'r diwedd i anobaith (gwrthun lawforwyn diofalrhwydd) ddyfod i mewn heb ei diſgwyl, a dangos iddo fod ei awr wedi dyfod, ai amſer gwedi myned heibio. Ac nad oes iw ddiſgwyl ond marw, a chael coſpedigaeth. Na fydded hyn ddieithrol i neb, o ran gormod y ſywaeth a wyddant ei fod yn wir, a mwy (oni chânt fwy a râs) ſydd debygol iw gwenhieithio eu hunain fal hyn hyd eu *diwedd*, Ac yn y diwedd i oddef coſpedigaeth *di-ddiwedd*.

Yn fy-nymuniad gan hynny am iechydwriaeth cyffredinol, ac yn enwedig am ddawn tragwyddol eich ardderchawgrwydd chwi, mi â ymegnia is i bigo allan (o ganol amryfuſeddau anibennus) yr hên *ymarſer o wir dduwioldeb*, yr hwn oedd yn blodeuo yn dêg cyn i'r

ymrafaelion gwrthwynebus yma ddeori: yr hwn a ddûg fy llafur egwan i lechu dan gysgod adenydd eich mawrhydi, a thrwy gael y fâth groesaw, ni eill fod yn anghroesawgar i Eglwys *Grist*. Os, bod yn grefyddol ym *mhob oesoedd*, ydoedd yr anrhydedd mwyaf: ond mwy anrhydeddus yw, yn yr oes angbrefyddol hon, fod yn wir batrwm a glain hynod ar dduwioldeb? duwioldeb a wnaeth i *Ddafydd*, *Salomon*, *Jehosaphat*, *Ezechias*, *Iosias*, *Zerubbabel*, *Constantius*, *Theodosius*, *Edward* y chweched, y *Frenhines Elizabeth*, y tywysog Harri, a llawer o dywysogion crefyddol eraill, gael eu hanrhydeddu, fel y mae eu henwau hwy (gwedi eu marwolaeth) yn arogl pêr mal olew gwerthfawr yn eglwys Dduw, ai coffadwraith cyn felused a mêl yn ein geneuau. neu megis perciddlais miwsic mewn llysieuwledd o wîn: lle y mae bywyd y tywysogion anuwiol eu bucheddau, yn braenu ac yn drewi ynghoffadwriaeth pobl Dduw. A phâ anrhydedd yw, i wyr mawrion gael mawr oruwchafiaeth ar y ddaiar, pan fo Duw yn cyfrif eu henwau yn anheilwng iw scryfennu

ſennu yn llyfr y bywyd yn y nefoedd ?

Duwioldeb ydyw 'r peth ſy 'n ene-inio enw da Tywyſog,ac yn gwneuthur ei wyneb-pryd i ddiſcleirio o flaen dynion, ai enaid yn ogoneddus ym mhlith Angelion. Canys fel yr oedd wyneb *Moſes* wrth ymddiddan yn fynych â Duw, yn diſcleirio yngolwg y bobl; felly trwy fynych weddio (yr hyn yw, ein hymddiddan ni â Duw) a gwrando ei air (yr hyn yw Duw yn llefaru wrthym ninnau) ni gawn ein cyfne-widio o ogoniant i ogoniant, gan yſ-pryd yr Arglwydd, yn vn llûn ar Arglwydd. A chan weled mor ddi-ſter yw'r bywyd hwn i bawb, yn enwedig i dywyſogion: pa athrawiaeth ſydd reſymmolach i dywyſogion, ac i ddeiliaid fyfyrrio arno, nar hon ſydd yn dyſcu i ddyn pechadurus ei wadu ei hûn,gan farw-eiddio ei lygredigaeth: fel y gallo feddiannu Criſt Awdur yr iechydwriaeth: a gwrthwynebu gan ddifyrrwch y byd darfodedig,i gael meddu y gwir nefol ar tragwyddol lewenydd:aw gwneuthur yn wir *anrhydeddus* ger bron Duw mewn duwioldeb, y rhai ſynt yr awrhon *anrhydeddus* yn vnig ger bron dyn.

Exod 31. 29,30.

2.Cor.3. 18.

dyn mewn gwagedd ? Pa draul byn-
nac a wnelom mewn daiarol wagedd,
gan mwyaf naill ai fe fydd farw gyd
â ni, ai yn y man ar ein hôl. Eithr yr
Mat.26. hyn a dreiliom ni fel *Mair*, yn arfer
13. o dduwioldeb, a bery yn goffadwri-
aeth dragwyddol. O blegid i dduwi-
oldeb y mae 'r addewid yn y byd hwn,
ac yn y byd ſydd i ddyfod. Eithr heb
dduwioldeb, nid oes dim diddanwch
ir cydwybod oddifewn, na dim tang-
neddyf oddiallan iw ddiſgwyl yn y
byd hwn, na dim dedwyddwch trag-
wyddol yn y byd a ddaw. Pa fodd y
geill duwioldeb nad addawo iddo ei
hûn, gael ymgeleddwr bucheddol o'ch
mawrhydi; gan eich bod yn vnig fab
ac aer ir fâth lywiawdr graſuſol : yr
hwn nid yw yn vnig yn ymdiffynnwr
y ffydd o herwydd ei enw, eithr yn
ymddiffynnwr y ffydd mewn gwirio-
nedd: megis y mae 'r byd yn deall
wrth weled ei ddyſceidiaeth yn di-
ddymmu gau athrawiaeth *Bellarmin*,
ac fal y curodd i lawr dwyſennau cab-
ledd *Vorstius* Athean? Oh mor hawdd
hefyd yw i'ch Mawrhydi chwi
fod cyſtal (oni fyddwch well) a'r rhai â
aethant

aethant o'ch blaen, mewn grâs a mawredd; os gosodwch eich calon i geisio, ac i wasanaethu Duw, gan ystyried mor grefyddol y cafas eich *Mawrhydi* ddygiad i fynu, gan dduwiol a rhinweddol olygwyr ac Athrawon; a hefyd eich bod chwi yn byw yn yr amser y darfu i ddoethineb Duw a gofal ein brenin bucheddol, osod yn ben ar yr eglwys hon, (iw hanrhaethadwy lawenydd) ail * *Iehoiada* anrhydeddus, yr hwn a wna ddaioni i'n Israel ni tu ag at Dduw, a at ei dŷ ef, gan yr hwn y geill eich Mawrhydi beunydd gael dyscu pureidddra crefydd ym *mhob amheuon* o ran iechydwriaeth eich enaid oddifewn: a chyngor i hyfforddi eich cyflwr grasol oddiallan: Ac i'ch blaenllymmu yn hytrach i fod yn ewyllysgarach i ymarfer duwioldel goruchel, meddyliwch yn fynych rhyngoch â chwi 'ch hûn, fod eich *Mawrhydi* yn clywed eich râd *Iaco* fucheddol yn dywedyd wrthych, megis y dywedodd *Dafydd* gynt wrth ei fab *Salomon*: *A thithau Charles fy mab adnebydd Dduw dy dâd a* gwasanetha ef â chalon berffaith, ac â meddwl ewyllyscar: Canys yr Arglwydd sydd yn

*Archesgob Caergaint.

1. Chron. 28. 9.

chwilio

chwilio yr holl galonnau ac yn deall pob dychymyg meddyliau: o cheisi ef, ti a'i cei, ond os gwrthodi ef, efe a'th wrthyd tithau yn dragywydd. Er mwyn eich cyfarwyddo yn well i geisio, ac i wasanaethu *yr holl alluog Dduw*, yr hwn sydd raid iddo fod yn brif ymddiffynnwr i chwi yn eich bywyd, ac yn vnig ddiddanudd i chwi yn eich marwolaeth.

Yr ydwyf yma vnwaith etto, ar dâl fyngliniau yn offrwym fy hên rodd mewn argraph newydd yn rhwylaw eich mawrhydi, gan draddodi beunydd dros eich Ardderchawgrwydd (at yr Arddercho ccaf) fyngostyngedig weddi, ar i chwi fel y tyfoch (mewn maint ac oedran) felly (fal eich Meistr *Crist*) gynnyddu mewn gras a doethineb gyd â Duw a dynion daionus: hyn yw fy erfynniad yn oesdadol, ym mhob peth arall mi fyddaf byth,

*Yn vfyddwas wrth orchymmyn eich mawrhydi tra bwyf:*

LEVVIS BAYLY.



# Ad Carolum Principem.

Tolle malos; extolle Pios, cognosce Te-(ipsum:
Sacra tene, Pace consule, disce pati.

---

## HYNNY YW.

*Cnwyn y drwg oddiwrth y da;*
*A derchafa 'r dwyd:*
*Gwêl beth wyt, câr Dduw a hêdd,*
*A dysc ammynedd hefyd.*





# I'R ANNWYL VR-DDASOL WRAIG:

*Margred*, vnig etifeddes Syr *Iohn Lloyd* marchog a Sersiant or gyfraith, a chywely *John Lloyd* o *Riwaedog* Esq. grâs a thangneddyf yn y byd hwn, a gorfoledd tragwyddol yn y byd a ddaw a ddeisyf,

*R. V.*

MAl na byddwn yn euog o anair ac anufydd-dod (wir dduwiolfryd fenyw) ni allwn lai na gwneuthur fyngorau ar gyflawni eich dymuniad: sef, cyfieithu y llyfr hwn yn y dafodiaith arferedig i ni ym mro wynedd: megis trwy hyn o beth, y byddwn yn dangos ewyllyscarwch rhwymedig i dalu diolch i chwi am eich aml ddaioni ach boneddigeidd-dra tu ag attaf fi am heiddo. Gwelwch mai hynny yw'r achos a barodd i mi anghofio fyngwendid am hanneallgarwch yn yr iaith, cyn belled, ac y bûm mor dra-gwrol om bryd (dan hyderu yn fy egni bychan fy hûn) a

brâs

brâs bwytho trwsiad newydd ir etifedd hwn, or wisc gymreig orau ar a fedrais i ei llunio, ai anfon yr wyf attoch megis at fammaeth ddiwyd, yr hon o etifeddiaeth sy 'n dwyn parch a mawl am ymgeleddu eich iaithyddion. Pa wedd bynnac y darfu i mi ei osod allan yr oedd fy ewyllys yn dda, a hynny yw 'r cwbl a geiff atteb trosof, ne tynnaisid hwnnw oddiwrthif fe fuasai fy maich yn fymmhwyso i ya fuan ir ddaiar. Canys wrth ystyried y fâth fyd yw hwn, ar fâth gyfoethogrwydd o ieithoedd sydd yr awrhon oi fewn, y fâth ddyfnder o ddyscedidiaeth, y fâth glustiau moethus, a chyd â hynny amled yw Cenawon *Momus* wenwynllyd, ni buasai neb doeth yn rhyfeddu i hynny dagu fy amcannion gweiniaid yn eu dechreuad. Eithr ni wnaethym i gyfrif yn y byd or fâth beth, gan fod gennif ewyllys da ynlle tarian: O blegid pa beth a dery mor ffyrnig na eill ewyllys da ei dderbyn, pa beth sydd cyn anhawsed nas gwna ewyllys da ef yn hawdd ? pa beth sydd gyfuwch na chyrraedd ewyllys da ef? Pa beth sydd mor haeddedigol, nas ynnill ewyllys da ef ? ewyllys da yw cariad,

cariad, gwirionedd, awdur yr holl gelfy-
ddodau, agoriad pob trysor, medd *De-
mosthenes*. I ddiweddu, nid oes dim
cyfuwch yn y nef vwch ben, na dim cyn
ised yng waelod y ddaiar, nid oes dim
mor ddyfn yn eigion perfedd celfy-
ddyd, na dim mor guddiedig yn nirgel-
wch natur, ar nas geill ewyllys da, ei
amgylchu, ei agori, ei ddeongli, ai ddat-
cuddio. Pa wedd bynnac y darfu i eg-
ni fy ewyllys i, ddwyn hyn o orchwyl
ir lan, yr wyf yn diogel obeithio y by-
ddwch chwi a phawb duwiol yn ei
glodfori, ac nid yn craffu i feio ar fy an-
wybodaeth. Er i mi gymeryd arnaf yn
awr fod yn *gyfieithydd*, yr wyf yn cyd-
nabod na ddaethym erioed ir râdd i
fod yn *areithydd* parabl-ber i harddu fy
myfyrdod ag ymadroddion cymmen, ac
ni chwenychwn gael fynghyfrif yn *wen-
hieithyd* i mi fy hûn nac i neb arall: am
hynny i fod yn fyr, yr wyf yn deisyf ar-
noch dderbyn fyngharïad, fy ewyllys, a
hyn o dystiolaeth o honaw, wrth eich
*meddwl eich gwasanaeth ach gorchymyn*,
minnau a *orchymynnaf eich holl wasana-
eth ach meddyliau*. i fod yn arogldarth
cadwedig *megis olew morwyn gall* o flaen
y go-

y goruchel oruchaf yn y goruchafiaeth pennaf:

Eich câr âch câr, gorchmynnwch o mynnwch,

*Row. Vaughan.*



# Y cyfieithydd, ar henw y llyfr.

VNdeb duwioldeb *di waelder yma*
*Mwy cynnydd lle gwneler, (cawn,*
*Mae yrfa oi ymarfer*
*Tueddwn oll at Dduw nêr.*

*Arfer* duwiolder *di waeldaith wirfodd*
*Arfer bywyd perffaith*
*Arfer am wir fwrw ymmaith*
*Bêch i lawr ebychiol waith.*

*Arfer rôl didol mewn dedwydd arfaeth*
*Arfer bair llawenydd,*
*Arfer gwn ar fawr gynnydd*
*Arfer dda ar forau ddydd.*

*Arfer bob amser o ymswyn, cryfwaith*
*Mewn crefydd oreuswyn*
*Canllaw os ti ai cynllwyn*
*Iawn fàth yw, i nef i'th ddwyn.*

R. V.



# Mawl ir cyfieithydd o waith Gry: Philip.

1. *Cyfieithydd purffydd perffaith dysgedig*
*Dwys gyda synwyr faith* (
Y*dyw* Rolant *wrolwaith*
Vaughan *a wna i ran ir iaith.*

2. *Tranthodd cyfieithodd cof aeth oi ddeall*
*Ai dduwiol wybodaeth,*
Y*n fwyn iawn efe a wnaeth*
*I Frydain Arfer odiaeth.*

3. *Troi 'r llyfrau gorau er gwirio ir byd,*
Y*r wybodaeth s' ynddo*
*Troi 'r ieithoedd trwy wir weithio*
Y*n iaith ei fam a wnaeth fo.*

4. *Arfer ddyn purwyn er para d'arfer,*
*I dersyn d'orphwyssa*
*Gorau arfer ag yrfa*
Ymarfer duwiolder *da.*

5 *Ar*

5. *Arferion treion' at reol arfer*
*I orfod chwant cnawdol,*
*Arfer ni âd wr fry'n ôl,*
*Arfer dda arfer dduwiol.*

6. *Arfer a goelier i galyn gwr doeth*
*Yw gair Duw gyferbyn*
*Er ei arfer ai erfyn*
*Yn nod têg i enaid dyn.*

G. P.



# At y darlleydd.



Y anwyl gyd-wladwr deallgar, dyma fi yn bwrw fy mauch oddiarnaf, eithr nid hwyrach cyn gynted ac y delo yn dy olwg di, mai fy nhrwm-lwytho â beiau yw fyngwobr am dano, gâd iddo, os fy nhynged yw hynny, mae 'n rhaid ei chroeſawu : a gwrando dithau yr hwn wyt yn edrych ar wiſcoedd fy mâb maeth hwn, o ran cael tyllau yn ei ddillad ; bydd di dy hun ( pwy bynnac wyt) yn wniedydd iddo neu ir cyfryw yr amſer neſſaf, a thro a thrin yn orau ac y medrych , ac oni byddaf fi yn talu y nechwyn adref i ti, fe fydd rhywyn ai gwna yn ddiammau: Nid wyf yn adrodd mo hyn er mwyn elwi gwag foliant i'm fy hûn : a

eithr

eithr i ddwyn ar ddeall i'r, fy mod i yn ddibris am air y byd, pryd yr aethum i ddinoethi fy nyſceidiaeth egwan iddo: ac er mwyn rhoddi i ti argoel fy mod i yn cydnabod nad wyf ond megis march bychan a anturiai fyned tan bwn mwy nac a allai ei ddwyn, yr wyf yma o egion calon ddifrifol yn fy ymddaroſtwng fy hûn ger bron Duw a dynion, i erfyn nawdd am fy meiau:gan orchymmyn fyngwaith at ein *Lewiaid* dyſcedyg, iw gywirio ai ddiſcio megis y gwelont hwy fod yn orau.

Am y llyfr hwn,a ſail yr athrawiaeth ſydd ynddo, nid yw ond golau canwyll yngoleuni yr *Haul* i mi ei glodfori: bid, y pedwerydd waith ar hugain y printiwyd yn Saeſonaec, yn dyſtiolaeth oi odidawgrwydd. Am yr iaith a arferais i iw gyfieithu: yr ydwyf fi yn gweled cymmaint a ragor rhyngddi, ac iaith y Saeſon, ac ſydd rhwng cochol newydd a chaberden glyttiog: ac etto nid oes vn ſail o athrawiaeth yn y ſaith gelfyddyd, nad yw wedi ei addurno yn eu hiaith hwy. Oh Frutaniaid gwaedol, cymmerwch

merwch chwithau beth poen a thraul, i osod allan eich tafodiaith gyfoethog: oddieithr i chwi fod o vn feddwl a'r cymru seisnigaidd, y rhai sydd yn tybied yn oreu ddeleu a ddiffoddi ein iaith ni: fel y byddai yr holl ynys hon yn llefaru yn iaith y Saeson; eithr beth yw hyn ond meddylfryd anghristianogawl, ac adeildu cestill yn yr awyr, a dymuno i lawer o eneidiau yn y cyfamser, newynu am fara y bywyd.

Mwyaf peth sydd yn dyfod yn erbyn ein hiaith ni ydyw, anhawsed gan y cymru roddi eu plant i ddyscu, fel y mae 'n well gan lawer dyn fod ei etifedd yn fuwch yn ei fyw na threilio gwerth buwch i ddyscu iddo ddarllain: ac ni cheir yn lloegr nemmawr o eurych, neu scubwr simneiau na fedro ddarllain, ac na byddo a'i lyfr tan ei gessel yn yr Eglwys, neu yn ei ddarllain pan fyddo 'r achos. O dyscwn ninnau gydfrodyr eu dilyn hwy yn hyn o beth megis yr ydym ni yn ddigon parod i ddilyn eu harfer mewn pethau eraill. Yr ydym ni yn meddiannu yr ynys hon ou blaen hwy, er bod Camden

 ai

ai gau athrawiaeth ddyſcedig a llawer o ddiſcyblion iddoyn gwadu *Brutus* ac yn haeru mai Ieffrey o fynyw a ſcrifennodd o honaw gyntaf, a chan i mi grybwyll hynny: dyma ddychymyg *Camden* i chwi i'w ddarllain: *Britania* (medd efe) o *Brith* ſef, *Pictus*, a tania o'r gair groeg taunia yr hwn a arwyddoccâ *gwlad*, *ergo Britania:* ac felly rhoddi *Brutus* i gyſcu mewn *ogof anghoffadwriaeth tragwyddol*: cwſc dithau mewn heddwch *Camden* lythrennog o'm rhan i, canys nid yw ran ei Griſtion lygru enw da y marw, eithr am dy ddiſcyblion, er nad wyf o ddeiſceidiaeth iw hatteb: mi allaf adrodd fy meddwl iddynt, fel y gallaſant hwythau, ſef, fy mod i yn tybied mai mwy o ran cael mawl ac anrhydedd gan Saeſon ardderchawg, nac o ran doſparthu 'r gwirionedd y ſaethaſant eu geiriau anguriol gywilyddus. Eithr nid wyf yn ammau na chânt hwy eu hatteb gan ryw fryttwn calonnog, fel nad el eu dychymygion yn gredadwy yn yr oeſoedd neſſaf. Ac rhag ofn i ti dybied fy mod i yn myned o amgylch y llwybr, ſef i adrodd

peth

peth amherthynol i ymarfer Duwiodeb, mi ddychwelaf at fy neſtyn drachefn.

Fe allai y tybia llawer i mi gymmeryd mwy o rydd-did yn ſcriſennu 'r iaith hon, nac yr oedd tadogaeth y geiriau yn canniattâu. Eithr deall, mai wrth fwrw fy ſerch ar gywyddau cymraeg y cefais i y gyfrwyddyd wan ſydd gennif, ac yr wyf yn gobeithio i mi arfer y geiriau ſathredig a arferodd hên Athrawon o'm blaeni, ac na chyfeiliornais o athrawiaeth *Doctor Davis* ynghyfieithiad y Bibl, yr hwn yw 'r vnig *Plato* ardderchawg o'n hiaith ni. Os darfu i mi ddychymyg ymbell air er mwyn eglurhau pyngciau celfyddgar: y mae 'r hên Fardd *Hora.* yn atteb troſof yn y geiriau hyn ſef:

*——Licuit, ſemper licebit*
*Signatum præſente nota producere nomen*
*Vt ſiluæ foliȷ pronos mutantur in annos*
*Prima cadunt, ita verborum vetus inte-*
*(rit ætas:*

Ac nid oes gennif fi ond hyn i ddywedyd wrthit, i gloi ar y cwbl. Edrych a ddichon y llyfr hwn roddi me-

ddyginiaeth i'th enaid, neu lyfrau e-raill oi gyffelyb: megis y llyfr odiaethol a gyfenwir *llwybr hyfford i'r nefoedd* o gyfieithiad y llên dyscedig, am hanwyl athro Mr *Ro.* lloyd Ficar y waen, neu bregeth am edifeirwch o waith yr vnrhyw gymreugydd rhagorol: ac oni ddichon hynny beri i ti wellhau dy fuchedd, ni byddit ti ddim gwell *pe cyfodai vn oddiwrth y meirw* i'th athrawiaethu: eithr os cei di ddaioni oddiwrth y llyfr hwn, meddwl yn dy weddi am vn a fydd rhwym i wneuthur i'w iaith a'i wlad, y gwasanaeth a'r vfydd-dod gorau ar a fedro tra byddo ei enw.

*Row: Vaughan.*

*Di gwyn yw gennif yn y deg iaith bêr*
*Ddwyn y boen yn hirfaith*
*Os byddi was wybydd-iaith*
*Ynfwyn i gyd-ddwyn am gwaith.*

*R: V.*



FE ORFU I MI ROI Y CAROL TRIBAN HWN, ymma, rhag bod dolennau gwynnion yn y Llyfr: ac yr wyf yn gobeithio nad yw anghymhesur gan fod ei destyn yn Dduwiol.

*Fy fi sy 'n dechrau 'r awrhon*
Y *nail i'r* Mâb afradlon,
*Trwy nerth Iesu y mâb rhâd,*
*Miaf at* fy nhâd yn vnion.

*Mi bechais mi gyffessaf,*
*O flaen y nefoedd vchaf,*
*Im galw mwy nid teilwng fi*
*yn* Fab i ti 'r goruchaf.

*Mi dorrais bob gorchymmyn*
*A roddaist im iw ganlyn,*
*Llawn o bechod wyf erioed,*
*O fawd fy* nhroed im coryn.

*Mewn pechod darfu yngeni*
*Ac rwy 'n ymdroi mewn dryſni:*
*Mal y ddafad yn y llwyn*
*Ynghanol twyn mieri.*

*Myfi a fum mor ddiffiaith*
*( Heb wneuthur pris o'th gyfraith)*
*A myned fel yr hwch neu 'r ci*
*Ynghyd am brynti ganwaith.*

*Mi wn i'm bechu yn oeſtad*
*Na haeddwn gaffael cennad,*
*O ran ffiaidd fywyd drwg*
*I godi ngolwg attad.*

*Ond etto rydwy 'n gwybod,*
*Y modd i gael gollyngdod,*
*Er bod cyfiawnder i't Dduw 'r hêdd*
*Mae mwy trugaredd ynod.*

*Mi wn ddiddanwch hawddgar,*
*Llawenydd mawr di-gymmar,*
*Fod maddeuant am bob tro*
*Ir neb a fo 'n edifar.*

*Rwy 'n edifeiriol bellach,*
*Attolwg i ti eiriach*

*Dywaid*

*Dywaid Crist vn gair o'th ras*
*Ac fe a dywas yn holliach.*

*Rwy 'n meddwl gadael pechu*
Yn llwythog yn trafaelu,
*Er mwyn caffael* esmwythhâd
Yn dyfod attad Iesu.

*Er bod fy anwireirdra,*
*Mor goch* ar scarlat ymma,
*Ty di ddichon fy Nuw gwyn*
*Fy rhoi mor wyn ar eira.*

*O cladd yr ydwy 'n erfyn*
*Ym medd dy Grist anwyl-ddyn*
*Cladd o cladd nas gallont hwy.*
*Fyth godi mwy i'm herbyn.*

Duw crea i mi lân galon
*I fod ith garu yn ffyddlon,*
Adnewydda ddull fy mryd
O'm mewn a'th yspryd vnion.

*Dod i mi bur ammynedd*
*Tra byddwy 'n dwyn fy muchedd*
*Yn fy mywyd ym mhob cam*
*I feddwl am fy niwedd.*

Dysc

*Dysc i mi heddyw fedru*
*Fyw trwy lawn hyderu*
*Fel pe byddai siwr syngwedd*
*O synd ir bedd y foru.*

*Na roddwyf bwys na hyder,*
*Mewn da na dŷn a fager*
*Nac mewn dim ond ynot ti*
*Un Duw a Thri bob amser.*

*Dod i mi ras i edrych*
*A gwneuthur a orchmynnych*
*A gorchymmyn y Duw gwyn*
*I'm wneuthur hyn a fynnych.*

*Dod râs i mi Dd' ystyru,*
*Y byd, a gallael trechu*
*Y cnawd brwnt, a gochel gwall,*
*Rhag cael or fall sy maglu.*

*Dod imi 'n hyn o fywyd*
*Ddiogel obaith hyfryd*
*Bywiol ffydd i fynd i'r daith*
*A chariad perffaith hefyd.*

*A thyred y* Messias
*Fel dyna ngwisc priodas*

*Tyred*

*Tyred chwyppyn hyn yw nghân*
*I gael dy lân gymdeithas.*

——— *Olim hæc meminisse iuvabit.*

R. V.



## Englynion i wythnos y Dioddefaint

*A'I rhwng Iddewon wyr hy drygionus*
*F'ai droganwyd felly,*
*Dydd mercher henwer hynny*
*Y gwnaed ei frâd yn gnawd fry.*

*Ar ddydd Iau, golau gu elwog anrheg,*
*I nrhyw oll-alluog*
*Da Grist darparwyd i grôg*
*Cabled Iesu cwbl Dwysog.*

*Ar ddydd gwener, Nêr ddi-anwiredd*
*Croeshoeliwyd ei fawredd, (hwyl*
*Iawn gof, yno 'n gyfannedd*
*Y rhâd Fab ei rhoed iw fedd.*

*Sadwrn ddydd cynnydd ceinwyw goreu-*
*Gorweddodd Oen glan-ryw, (ddawn*
*A'r tryddyd y dydd od yw*
*Y cyfodes côf ydyw.*

*Mâb Duw gwywrâd o goll a gododd*
*Gwedi dwyn ei archoll:*
*Dyna 'r anrhreg dêg digoll*
*A'i dros ddyn ai drawsedd oll.*

*R. V.*



# YR YMARFER O DDUWIOLDEB: YN CYFARWYDDO DYN I RYNGU bodd Duw.

PWy bynnac wyt ſydd yn edrych yn y llyfr hwn, na chymmer arnat ſyth ei ddarllen, onid ymroi oth galon i fod yn ddifriſol arferwr o dduwioldeb. Etto darllen ef, a hynny yn ſuan, rhag cyn i ti ei ddarllen troſto, i Dduw (trwy ryw farwolaeth ddiſymmwth) dy dorri di ymmaith am dy hên anuwioldeb cynefin.

Oddieithr i ddŷn wir adnabod Duw, ni ddichon, ac ni chais moi iawn waſanaethu ef. Canys pa fodd y dichon dyn garu yr hwn nid edwyn? A phwy y à anrhydedda yr hwn y mae yn tybied nad rhaid iddo wrth ei gymmorth, a

pha fodd y cais neb gynnorthwy Duw drwy râs, yr hwn erioed nid adnabu ei drueni ei hûn o ***naturiaeth***: Am hyn (y
Heb. 11. 6. dywed yr Apostol) ***rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw gredu ei fod ef, a'i fod yn obrwywr i'r rhai sy 'n ei gesio ef.*** Ac yn gymmaint ac na ddichon bod dim gwir dduwioldeb, heb wybodaeth o Dduw: na dim ***ymarfer*** o iawn wybodaeth (gan ddŷn) heb ei adnabod ei hûn. Nyni gan hynny â osodwn i lawr ***wybodaeth*** am fawrhydi Duw, a thrueni dŷn, megis yn sylfeini isaf ac angenrheidiaf o ***Ymarfer duwioldeb.***

---

A G-



# A GWEDDIAD EGLVR O SYLWEDD A PHRIODOLIAETHAV

Duw, allan or ſcrythur lân cyn *belled ac y mae yn addas i bob* Criſtion ei wybod: ac yn angen-*rhaid ei gredu i'r neb a ſynno* fod yn gadwedig.



R na ddichon vn creadur hysbyſu pa beth yw Duw, o herwydd diamgyffred yw, yn trigo yn y *goleuni*, yr hwn ni ellir dyſod atto: etto fe ryngodd bodd iw fawrhydi ef ei ddadcuddio ei hûn i ni yn ei air cyn belled ag y gallo ein dealtwriaeth wan ei ddirnad yn orau, ſal hyn:

*Duw yw'r vn yſprydol, ac anherſynol berffaith ſylwedd, yr hwn ſydd ai han-*

*fod o honaw ei hûn yn dragwyddol.*

1. Yr amryw ddull ar hanfod ynddo.
2. Ei briodoliaethau.

Yr amryw ddull ar hanfod yn y duwdod à elwir personau. Person yw: sylwedd wahanol y duwdod.

Yn y duwdod y mae tri pherson: { Y Tâd. Y Mâb. Yr Yspryd glân.

Y tri phersonau hyn nid ydynt dri o sylweddau didòlaidd, eithr tri hanfod gwahanredol, neu dri amryw ddull ar hanfod o vn ac vnrhyw sylwedd y duwdod: Ac felly person yn y duwdod, yw deall anwahanedig a hanfod anghyfrannol, yn byw o honaw ei hûn, ac heb ei gynnal gan arall.

Yn vndeb y duwdod y mae lliosogedd yr hwn nid yw *ddamweiniol* (canys y mae Duw yn * *waith pur*, ac ni chynnwys atto ddim damweiniau) na sylweddol: (canys duw vn sylwedd yw yn vnig) eithr personol.

* weith-red pur.

Y personau yn yr vn sylwedd hon nid ydynt ond tri: yn y dirgelwch hwn y mae *alius & alius, arall ac arall*, eithr nid *aliud & aliud, peth arall a pheth arall.*

Sylwedd

Sylwedd y duwdod ynddo ei hûn, ni wahenir, ac ni wahanredir, eithr y tri phersonau yn sylwedd y duwdod a wahanredir yn eu plith eu hunain mewn tair ffordd.

1. Wrth eu henwau.
2. Wrth eu trefn.
3. Wrth eu gweithrediadau.

1. *Wrth eu henwau mal hyn.*

Y Person cyntaf a elwir y Tâd; yn gyntaf o herwyd ei fab naturiol *Crist:* yn ail o herwydd yr etholedigion ei blant o fabwysiad, sef y rhai nid ydynt ei blant ef o naturiaeth, eithr a wnaed yn blant iddo o râs.

Yr ail Person, a elwir y Mâb, o herwydd ei genhedlu ef o sylwedd a naturiaeth ei dâd, ac efe a elwir y *gair:* i. o herwydd mai cenedliad gair ym meddwl dŷn yw 'r peth nessaf a ddichon mewn *rhyw fodd* ddangos i ni gyffelybrwydd, or agwedd y cenhedlwyd ef er *tragwyddoldeb* o sylwedd ei dad: ac o herwydd hyn hefyd y gelwir ef *doethineb ei dâd, Dihar.* S. 12. 2. O herwydd mai trwyddo ef yr hyspysodd

 y Tâd

y Tâd or dechreuad ei ewyllys, am ein iechydwriaeth ni : o hyn y gelwir ef λογος *quasi* λογων. y personau yn llefaru wrth, neu trwy y Tâd. O herwydd mai efe yw prif-destyn holl air Duw, neu 'r *gair hwnnw* am yr hwn y llefarodd Duw pan addawodd *yr hâd bendigedig* tan yr hên Destament.

Y trydydd person a elwir yr yspryd glân : yn gyntaf am ei fod yn *ysprydol* heb gorph : yn ail o herwydd ei *chwthu* ac megis i anadlu oddiwrth y Tâd ar mâb, sef yn deilliaw oddiwrthynt ill dau. Ac efe a elwir yn * sanctaidd, yn gystal o herwydd ei fod yn sanctaidd yn ei naturiaeth ei hûn, ac hefyd yn ddigyfrwng sancteiddydd holl etholedig bobl dduw.

* *Neu yn lân.*

2. *Wrth eu trefn mal hyn.*

PErsonau y duwdod ydynt naill ai'r *Tâd* neu yr rhai ydynt o'r *Tâd*. Y Tâd yw 'r person cyntaf yn y gogoneddus drindod, heb dderbyn na'i sylwedd na'i ddechreuad gan neb arall, eithr ganddo ei hun, yn cynhedlu ei Fab, ac ynghyd gyd a'i Fab, yn anfon ei Yspryd glân er tragwyddoldeb.

Y

Y perſonau y rhai ydynt or Tâd yw, y rhai o herwydd eu perſonol hanfod ſy ganddynt holl ſylwedd y Duwdod er tragwyddoldeb, wedi ei gyfrannu iddynt oddiwrth y Tâd, A rhai hynny ydynt naill a'i oddiwrth y Tâd yn vnig, megis y Mab: neu oddiwrth y Tâd ar Mab, megis yr Yſpryd glân.

Y Mab yw'r ail Perſon or *drindod ogoneddus.* Ac vnig genedledig fab ei *Dâd* nid o ras, ond o naturiaeth; yn cael ei hanfod or *Tâd* yn vnig, a holl hanfod ei Dâd trwy genedliad tragwyddol ac ammeſſuredig, ac ynghyd ar *Tâd* yn anfon yr Yſpryd glân. O herwydd ei ſylwedd berffeithgwbl, o honaw ei hûn y mae: eithr o herwydd ei berſon, o'i dâd y mae, drwy genedliad tragwyddol Canys nid yw ſylwedd yn cenedlu ſylwedd, eithr perſon y Tâd ſydd yn cenedlu perſon y Mab, ac felly y mae ef yn Dduw o Dduw, yn cael oddiwrth ei Dâd ddechreuad ei Berſon ai Drefn, eithr nid (dechreuad) ei ſylwedd a'i amſer.

Yr Yſpryd glân ydyw y trydydd Perſon or drindod fendigedig, yn deilliaw a chwedi ei anfon yn gyſtal oddi-

wrth y Tâd, ar Mab, drwy dragwyddol ac anfesurol ysprydoliaeth. Canys y mae 'r Mab yn derbyn oll sylwedd y duwdod drwy Genedliad, felly y mae 'r Yspryd glân, yn ei dderbyn yn gysan trwy yspirydoliaeth,

Y drefn hon, rhwng y tri pherson â ymddengys yn hyn: sef, fod y Tâd yr hwn sydd yn cenedlu, o flaen y Mab yr hwn a genedlwyd; ar Tâd ar Mab o flaen yr Yspryd glân, yr hwn sydd yn deilliaw oddiwrth y ddau.

Y drefn hon a wasanaetha i ni i osod allan ddau beth: yn gyntaf, y dull, pa wedd y mae y Drindod yn gweithio yn eu gweithrediadau oddiallan: megis bod y Tâd yn gweithio ô honaw ei hûn drwy 'r Mab ar Yspryd glân; y Mab oddiwrth y Tâd, a thrwy 'r Yspryd glân, yr Yspryd glân oddiwrth y Tâd ar Mâb. Yn ail i neillduo y dechreuad digyfrwng cyntaf, oddiwrth yr hwn y mae y gweithrediadau cyffredin hynny oddiallan yn tarddu. Oddiymma deellwch, yn gymmaint ac y mae y Tâd yn ffynnon a gwreiddyn y drindod, a dechreuad pob gweithrediad oddiallan: enw Duw *mewn dull cyfattebol,*

*cyfattebol*, ar cyfenw creawdr yn y Credo a roddir mewn modd hynodol ir Tâd: ein prynedigaeth ir Mab: an ſancteiddiad i Berſon yr Yſpryd glân, megis gweithredyddion digyfrwng or gorchwyliau hynny. A hyn hefyd yw'r achos y mae 'r Mâb fel y mae 'n gyfryngwr yn rhoi pob peth ar law ei Dâd: ac nid ar yr Yſpryd glân; a bod yr ſcrythur yn dywedyd cyn fynyched ein bod ni wedi ein cymmodi ar Tâd.

Oni bae 'r drefn *oruchel* hon, neu 'r *Deuluaeth*, nid oes na chyntaf na diwaethaf, nac vwch nac îs ym mhlith y tri pherſonau, canys o ran *naturiaeth cydhanfod* ymaent, o ran *braint*, gogyfuwch ydynt, ac o ran amſer *gogyd-tragwyddol*.

Holl ſylwedd y Duwdod ſydd ym mhob vn or tri pherſon; eithr a gnawdiwyd yn vnig yn yr ail Perſon ſef y *Gair*, ac nid ym mherſon y Tâd na'r Yſpryd glân o herwydd tri rheſwm.

1. Fel y gallai Dduw Tâd yn hytrach egluro faint yw ei gariad tu ac at ddynol ryw; yn rhoddi ei vnig anedig fab i gymmeryd cnawd arno, ac i

ddioddef marwolaeth er mwyn iechydwriaeth dŷn.

2. Fel y gallai efyr hwn yn ei dduwdod oedd yn Fab i Dduw, fod hefyd yn ei ddyndod yn Fab dyn: rhag ir enw Mab fyned heibio i arall, yr hwn wrth ei dragwyddol enedigaeth nid ydoedd y Mab.

3. O herwydd mai gweddeiddiaf oedd ir Person hwnnw, yr hwn yw sylwedd, a gwir ddelwlûn ei dragwyddol Dâd, * edfrydu ynom ysprydol ddelw, dduw, yr hon a gollasem.

* *Adgynnario.*

Yn y cnawdoliaeth, ni throed mor duwdod yn ddyndod na'r dyndod yn dduwdod, eithr y duwdod mal y mae yn ail Person, neu 'r *Gair*, a gymmerodd arno y dyndod sef cwbl o naturiaeth dyn, corph ac enaid ai briodoliaethau naturiol ai wendid perthynasol, ond *pechod* yn vnig.

Yr ail Person ni chymmerodd arno Berson dyn, ond naturiaeth dyn. Felly nid oes gan y naturiaeth ddynol mor hanfod personol or eiddo ei hun, (canys felly y byddei dau Berson ynghrist) eithr hanfod y mae efe yn y *Gair*, yr ail Person. Canys megis na wna

enaid

enaid a chorph, ond vn person dyn: felly duwdod a dyndod, ni wna ond vn Person Crist.

Dau naturiaeth y duwdod ar dyndod ydynt mor ddiymmod wedi eu cysylltu ynghyd drwy bersonol vndeb, mal megis na ellir byth eu gwahanu or neulltu, felly ni chymysgir hwynt; eithr parhau y maent byth yn wahanredol eu amryw sylweddol briodoliaethau, y rhai oedd ganddynt cyn eu cydgyssylltu. Megis wrth ensampl; *Anhersynoldeb y dnwiol anian* ni chyfrennir ir *dynol anian*, na therfynoldeb y dynol ir duwiol.

Etto o herwydd yr vndeb personol hwn, y mae y fath gyfundeb priodoliaethau yn y ddau naturiaeth, fal y mae yr hyn sydd briodol ir naill weithiau hefyd iw briodoli ir llall. Megis *pwrcasu o ddnw yr eglwys ai briod waed:* ac y barna ef drwy y Gŵr yr hwn â ordeiniodd efe. O hyn y canlyn, er bod dynolryw Crist yn greuedig, ac am hynny yn derfynol, ac yn gynhwyscedig anian, ac na ddichon fod yn breiennol ym mhob man, drwy osodiad gweithredol, neu gynhwysiad cyfleus

yn

yn ol ei hanfod naturiol: etto o herwydd bod ganddo wedi ei gyfranu atto Bersonol hanfod Mâb Duw, yr hwn sydd anfeidrol ac anherfynedig; a chwedi ei vno a Duw yn y cyfryw fodd, ac na ellir yn vnlle byth ei wahanu oddiwrth dduw, am hynny y gellir dywedyd am *gorph Crist* ei fod o herwydd ei bresennol hanfod ym mhôb lle.

### 3. *Y gweithrediadau drwy 'r rhain y gwahanredir y tri Pherson.*

Y Gweithrediadau ydynt o ddau fâth, naill ai oddiallan: ar rheini ydynt mewn rhyw fodd gyffredinol i bob vn or tri phersonau: ai oddimewn ynghylch y personau yn eu plith eu hunain, ar rheini ydynt hollawl yn anghyfunol.

Gweithrediadau cyfunol y tri pherson oddiallan ydynt y rhai hyn.

Creadigaeth y byd yn perthyn yn neullduol i dduw Tâd: Prynedigaeth yr Eglwys i dduw 'r Mâb: a Sanctei-ddiad yr etholedigion i Dduw yr Yspryd Glân. Eithr o ran ir Tâd greu, ai fod rhaglaw yn llywodraethu 'r byd

byd drwy'r Mâb,yn yr Yſpryd Glân, am hynny y gweithrediadau hyn oddiallan yn gyffredin yn yr Scrythyrau, a gyfrifir weithiau i bob vn or tri pherſon,ac am hynny a elwir * cyfunol a gwahanol. *Diwahanol.

Y Gweithrediadau anghyfrannol, neu briodoliaethau y tri pherſon o ddimewn ydynt y rhai hyn ; ſef,

1. *Cenedlu* a hynny â berthyn yn vnig ir Tâd,yr hwn ni wnaethpwyd: ni chreuwyd, ac ni chenedlwyd gan arall.

2. Bod * *yn genedledig* : a hynny a berthyn yn vnig ir Mâb yr hwn ſydd or Tâd yn vnig, heb ei wneuthur nai greu,eithr wedi ei genedlu. * Wedi ei genedlu.

3. Deilliaw oddiwrth y ddau : a hynny a berthyn yn vnig ir Yſpryd glân, yr hwn ſydd oddiwrth y Tâd ar Mâb,heb ei wneuthur,nai greu, nai genedlu eithr yn deilliaw.

Felly pan ddywedom fod ſylwedd y duwdod yn y Tâd yn ddigenedledig, yn y Mâb yn genedledig, ac yn yr Yſpryd Glân yn deilliaw : Nid ydym yn gwneuthur tri ſylwedd,eithr yn vnig yn dangos amryw ddull ar hanfod, drwy 'r hwn y mae 'r vnrhyw

ſylwedd

ſylwedd *digymmyſg digenedledig drag-wyddol.* Yn bod ym mhob vn or tri pherſon: ſef, hyn nid yw yn y Tâd drwy *genedliad*, hynny ſydd yn y Mâb wedi ei gyfrannu oddiwrth y Tâd drwy *genedliad:* ac yn yr Yſpryd glân wedi ei gyfrannu oddiwrth y Tâd ar Mâb drwy *ddeilliaw.*

Y Rhai hyn ydynt weithrediadau angyfunol, ac a wnant neullтuaeth, nid *ſylweddol, damweiniol*, neu reſymmol, ond vnion * *fodol* wahanrediad rhwng y tri pherſon. Felly megis, yr hwn ſydd Dâd yn y drindod nid yw yn Fâb: yr hwn ſydd Fâb yn y Drindod nid yw yn Dâd: yr hwn yw'r Yſpryd glân yn y Drindod, nid yw na'r Tâd na'r Mâb, ond yr Yſpryd yn deilliaw oddiwrth y ddau; er nad oes ond vn ac vn-rhyw ſylwedd yn gyffredin iddynt ill trioedd.

* Neu *hanfodol essentialis*

Megis gan hynny yr ydym yn cre-du fod y Tâd yn Dduw, y Mâb yn Dduw, ar Yſpryd glân yn Dduw: felly credu yr ydym hefyd, mai Duw yw 'r Tâd, Duw yw 'r Mâb, a Duw yw 'r Yſpryd glân. Eithr o herwydd y * *gwahanrediad bodol* hwn perſon y naill

*Realis distinctio.

naill nid yw, ac ni ddichon byth fod yn berſon y llall. Gan hynny tri pherſon y duwdod nid oes mo honynt yn wahanol oddiwrth y ſylwedd, eithr mewn modd: ond yn *fodol* y mae rhagoriaeth rhyngddynt, ac fe, ai gwahanredir o herwydd eu priodoliaeth perſonol. Megis y Tâd Duw ydyw, yn cenedlu Duw 'r Mâb; y Mâb Duw ydyw, cenedledig gan Dduw 'r Tad; ar Yſpryd glân Duw ydyw yn deilliaw, oddiwrth y ddau, ſef Duw 'r Tâd ar Duw 'r Mâb. O hyn y digwydd fod yr Scrythyrau yn arfer o enw Duw, mewn dwy ffordd: vn ai ſylweddol, ac yno yn arwyddocau y tri pherſon gogyd ai gilydd, ai perſonol, ac yno drwy **gyfranddwyn* nid yw yn arwyddocau ond vn or tri pherſon yn y duwdod. Megis y Tâd, 1.Tim.2.5. neu 'r Mâb, Act.10.28. 1.Tim.3.16. neu 'r Yſpryd glân: Act.5 4. 2.Cor.6.16. **Syncdoche.*

Ac o herwydd nad yw ſylwedd y duwdod (cyffredin ir holl dri pherſonau) ond vn, hwnnw a alwn ni *vndod.* Eithr o herwydd bod tri pherſon gwahanredol, yn yr vn ſylwedd diwahanedig hwn, nyni a alwn hwnnw y Drindod.

dod. Yn gymmaint a bod yr vndod hwn, yn y drindod ar drindod yn yr vndod, yn *ddirgelwch sanctaidd*: yn hytrach iw addoli yn grefyddol *drwy ffydd*, nac iw chwilio allan yn rhy fanwl, *drwy resswm*, ymmhellach nag y dadcuddiodd Duw yn ei air.

*Hyd yn hyn y dangoswyd yr amryw ddull a'r hanfod yn sylwedd y duwdod, bellach am ei briodoliaethau.*

PRiodoliaethau ydynt, sâth ar ddarluniadau o sylwedd y duwdod, â adroddir yngair Duw, yn ôl gwendid ein dealltwriaeth ni, er mwyn ein cymmorth i ddeall yn haws naturiaeth sylwedd Duw, ac iw ddirnad oddiwrth bob sylweddau eraill.

Priodoliaethau Duw ydynt o ddau sâth: vn ai *galwedigol*, ai *hanfodol*.

Y priodoliaethau galwedigol ydynt o dri mâth: i. y rhai â arwyddocânt sylwedd Duw: 2. y Personau yn y sylwedd. 3. y rhai a arwyddocânt ei weithredoedd sylweddol ef.

Vn or mâth cyntaf ydyw yr enw *Iehouah*

*Iehouah* neu yn hytrach *Iehueh*, yr hwn ſydd yn arwyddocau hanfod tragwyddol o honaw ei hun, yn yr hwn ſydd heb ddechreu na diwedd, y mae pethau eraill oll yn dechreu ac yn diwedd, Eſa. 42.8. Pſal.83.18.

Duw a ddywed wrth *Moeſes*, Exod. 6.3. *Nad adnabuwyd ef gan Abraham, Iſaac, a Iacob wrth ei enw Iehouah* (nid o ran nad adwaenent mai enw Duw oedd hwn, canys hwn a arferent yn eu holl weddiau) ond o ran na chawſent hwy fyw i weled Duw yn cyflawni *mewn gweithred* yr hyn â addawaſai iddynt, ſef gwaredu yn raſuſol eu hâd hwynt allan o'r *Aipht* a rhoi iddynt wir feddiant yngwlad Canaan. Ac felly nid bod yn vnig *yn dduw ollalluog, gwneuthurwr pob dim*, eithr hefyd yn cyflawni mewn gweithred ir plant, yr hyn â addawaſei yn ei air iw tâdau, yr hyn beth y mae 'r enw hwn *Iehouah* yn enwedig yn ei arwyddocau. Ac o'r achos yma, y mae *Moſes* yn ei alw ef *Iehouah yn y cyntaf*, pryd yr oedd yr holl greadwriaeth wedi ei gwbl orphen, Gen.2 4. Ar enw rhyfeddol hwn, â argrephir ar dalcen y dêg gorchymmyn, yr hwn a adroddwyd

ddwyd *ar ymwared* yr Israeliaid *i fod yn rheol cyfiawnder*, yn ôl yr hyn y dylent wasanaethu ei gwaredydd yn nhir yr Addewid.

Yr enw hwn sydd mor llawn o ddirgelwch Ysprydol, hyd onid yw yr Iddewon yn dal fod ei adrodd yn *bechod*; eithr onid yw bechod ei scrifennu, pa ham y byddei yn anghyfreithlon ei adrodd?

Yr enw sanctaidd hwn ar Dduw a'n dysc ni.

1. Yn gyntaf, beth yw Duw, sef hanfod dragwyddol o honaw ei hun.

2. Yn ail, pa beth yw efe i eraill: o blegid oddiwrtho ef y mae yr holl greaduriaid eraill wedi derbyn ei hanfod.

3. Yn drydydd, fel y gallom ni yn hydda goelio ei addewidion: canys ef a gyfenwir *Iehouah*, nid yn vnig o herwyd ei hanfod, ac am beri i bob peth fod, Eithr yn enwedig o herwydd ei addawidion grasusol, y rhai yn ddiammau a gyflawna ef yn ei amser gosodedig, ac felly a bair i hynny fod, yr hyn nid ydoedd or blaen, felly yr enw hwn sydd yn wystl *euraid* i ni, ar gael o honom faddauant o'n pechodau mal yr adda-

addawodd, ar ein hedifeirwch: A derbyn ein eneidiau ar ddydd marwolaeth, ac yn yr *adgyfodiad* cyfodi ein cyrph mewn gogoniant i fywyd tragwyddol. Iob 6.4.

Yr ail enw yn hynodi sylwedd Duw yw: *Ehieh*; ni ddarllennir ond vnwaith, Exod.3 14. Or vn gwreiddyn ac yw *Iehouah*; yn arwyddocau *ydwyf* neu *mi fyddaf*: canys pan ofynnodd *Moeses* i Dduw, wrth ba enw y galwai efe ef. Yno Duw ai cyfenwodd ei hûn *Eheieh Ascher Ehieh*: *ydwyf yr hyn ydwyf*: neu *mi fyddaf yr hyn a fyddaf*: gan arwyddocau ei fod ef yn hanfod tragwyddol, ac anghyfnewidiol: o blegid gan weled fod pob creadur yn amserol, ac yn gyfnewidiol ni ddichon nebryw greadur ddywedyd *(ero qui ero:) byddaf yr hyn fyddaf*. Yr enw hwn yn y Testament newydd, a roddir i'n harglwydd Crist, lle gelwir ef *Alpha, ac Omega*: *y dechreu a'r diwedd* yr hwn sydd, yr hwn a fu, ar hwn sydd a'r ddyfod, yr hollalluog, Datc.1.18. Canys yr holl amser â aeth heibio, ac â ddaw, sydd beunydd yn bresennol o flaen Duw. Ac at yr enw hwn y mae Crist ei hun yn bwrw *amnaid*,

*naid*, Ioa.8.58. *Cyn bod Abraham yr wyf fi.* Yr enw hwn hefyd a ddylei ddyſcu i ni, ddal ein *creadwriaeth cyntaf* i'n côf bob amſer, a'n llygredigaeth preſennol a'n gogoneddiad ſy' ar ddyfod: Ac nid ymfodloni ein hunain: ac mi fûm dda: neu mi fyddaf dda, eithr bod yn dda yn yr amſer preſennol; fel pa bryd bynnac y danfono Duw am danom, i'n caffo wedi ymbaratôi iddo.

Y trydydd enw yw *Iah*, yr hwn megis y mae yn dyfod or vn gwreiddyn, felly nid yw ond * crynhoad o *Iehouah*, ac yn arwyddocau Arglwydd, o herwydd efe yw, dechreuad, a hanfod pob hanfod. Enw ydyw a roddir (fynychaf) i Dduw pan ddigwyddo rhyw ymwared nodedig neu leſhâd, yn ol ei addewid ef or blaen: Ac am hynny y gorchymynnir i'r holl greaduriaid yn y nefoedd, ac ar y ddaiar glodfori, ac anrhydeddu Duw yn yr enw hwn *Iah* y pedwerydd yw: * Κύριος Arglwydd, yr hwn yn fynych a arferir yn y Teſtament newydd. Canys κύριο neu κυρίο â arwyddocâ ydwyf: felly Κυριο â arwyddocâ yr hanfod gyntaf o ryw beth, neu awdurdod. Pryd y rhoddir yn

Pſal.68. 19.
* Crynodeb.

* Curie.

yn *bendant* i Dduw y mae'n cyfattebir enw Heber-aec *Iehouah*, ac felly gwedi ei gyfieithu gan y dêg a thrigain cyfieithwyr. Canys Duw sydd felly yn *Arglwydd, ac o honaw ei hûn yn Arglwydd ar y cwbl.* Yr enw hwn a ddylei ddwyn ar gof i ni beunydd, vfyddhau iw orchymynnion ef, ac ofni ei farnedigaethau, ac ymddarostwng iw ewyllys bendigedig, ai arfaeth: gan ddywedyd gyd a'g Eli: yr *Arglwydd yw efe; gwnaed a fyddo da yn ei olwg ef*, 1.Sam.3.18.

Y Pummed yw, *Θεὸς, Duw wedi ei arferu chwe-chant o weithiau yn y Testament newydd: a chan scrifennyddion halogedig, yn fathredig. Yr enw hwn a dyfodd ἀπὸ τοῦ θεῖν, o herwydd ei fod yn rhedeg trwodd, ac yn amgylchu pob peth, neu ἀπὸ τοῦ *αἴθειν, yr hyn sydd yn arwyddocau llosgi neu gynneu: Canys goleuni yw Duw, ac *awdur gwres, goleuni, a bwyd*, yn y creaduriaid oll, naill ai'n ddigyfrwng o honaw ei hûn, neu yn gyfryngol trwy ail achosion. Yr enw hwn â arferir, naill ai'n amhriodol ai'n briodol. Amhriodol: pan roddir ef, naill ai trwy y **ddelw i fynnadraethwr*, neu ar gam, i eulunnod. Eithr

pan

* Theos.
Apo tou thein.
* Apo tou aithein.
*Neu figur-

pan gymmerir yr enw hwn yn briodol ac yn ddidueddol, y mae yn arwddycau tragwyddol sylwedd Duw, *yr hwn sydd goruwch pob peth a thrwy bob peth:* yn rhoddi bywyd a goleuni i'r creaduriaid oll, ac yn eu cynnal, ai llywodraethu yn eu hagwedd ai trefn ryfeddol. Duw sydd yn canfod pawb, ym mhob lleoedd. Edrychwn gan hynny ym mhob man, pa beth a wnelom yn ei olwg ef.

*Hyd yn hyn, am yr enwau sy'n arwyddocau hanfod Duw*

YR enw yn arwyddocau y personau yn yr hanfod, yn bennaf yw vn, sef: *Elohim.*

*Elohim* sy'n arwyddocau y *Barnwyr cedyrn:* enw or rhif *lluosog* ydyw, i hyspysu Trindod y personau yn vndod sylwedd. Ac er mwyn hyn, y mae 'r Yspryd glân yn dechreu y Bibl cyssegrlân ar enw lluosog hwn ar Dduw, wedi eu gysylltu a * *Gair or rhif vnig:* sef *Elohim Bara,* * *dii creauit, y duwiau cedyrn, neu yr holl dri phersonau yn y duwdod a greawdd:* yr Iuddewon hefyd a ddalient

* Neu Bers.
* Duwiau a greawdd

ddalient ful.v ar y Gair bara. ei fod o dair * liythyren yn hynodi dirgelwch y drindod, wrth *Beth Ben y Mâb*; wrth *Resh Ruah* yr Yspryd ; wrth *A'eph, Ab* y Tàd. Eithr y dirgelwch fanctaidd hwn a ddyscir yn eglurach gen *Moeses*, Gen 3.22. Ac *Iehouah Elohim* a ddywedodd : *wele y dŷn â aeth megis vn o honom ni*, Ac Gen. 19. 24. *Iehouah* a lawiodd ar *Sodom a Gomorha frwmstan a thân oddiwrth Iehouah or nefoedd:* hynny yw : Duw y Mâb oddiwrth Dduw y Tâd, *yr hwn a roddes bob barn ir Mâb*, Ioa.5.22. edrych Psal. 33. 6. Esay 63. 9,10. Y rhif vnig o *Elohim* yn Eloah yn dyfod o Alah , *efe a dyngodd*, o herwydd ymmhôb *achos mawr* lle y byddo yn angenrhaid *olrhen* y gwirionedd, ni ddylem dyngu yn vnig i enw Duw, yr hwn yw y Barnwr *mawr* cyfiawn yn y nefoedd ac ar y ddaiar.

*Yn hebre &c.

Yr enw hwn *Eloah*, nid arferir ond yn anfynych megis yn, Abac. 3.3. Iob 4. 9. Iob 12.4. ac yn, 15.8.36.2. Psal. 18. 32. Psal. 114 7. Vnwaith y mae ganddo enw lluosog wedi ei gyssylltu atto Iob 35. 10. Ond ni ddywed [neb] pa le y mae *Eloah Gosai yr holl allnog yr hwn*

*am*

*am gwnaeth ?* I ddangos dirgelwch y tragwyddol drindod. Hefyd yn fynych fe â osodir *Elohim* y *rhif lluosog* ynghyd a gair lluosog er mwyn hyspysu y dirgelwch yn ddirfingach, Genes. 35. 7. 2. Sam. 7. 23. Iosu. 24. 19. Ier. 10. 10. *Elohim* hefyd, (mewn * *troell ymadrodd* a roi 'r yn enw i lywodraethwyr, o herwydd ail-lywyddion Duw ydynt, megis i *Moeses:* Exod. 7. i. *Iehouah* a ddywedodd wrth *Moses :* Gwêl mi a'th wneuthym yn * *Dduw i Pharaoh:* Sef, mi a'th osodias di yn gennad i arddangos dy fod yn lle yr vn duw-tri, ac i fynegi ei gennadwri a'i ewyllys ef i *Pharaoh.* Gyn fynyched gan hynny ac y darllenom neu y clywom yr enw hwn *Elohim*, ni a ddylem feddwl ystyried fod duwdod y tri pherson gwahanredol yn vn sylwedd, a bod Duw yn *Iehouah Elohim.*

*Tropicè.

* Sef Elohim.

*Bellach y canlyn yr enwau, â arwyddocânt sylweddol weithredoedd Duw, y rhai ydynt y pump hyn yn enwedig.*

i. EL, yr hyn sydd gymmaint ac *y Duw cadarn*, ac a'n dysc fod

fod Duw, nid yn vnig yn *gadarnaf*, yn wir *gadernid* ei hûn, oi fylwedd ei hûnan, eithr mai efe hefyd, yw 'r hwn fydd yn rhoddi pob nerth a gallu ir holl greaduriaid eraill. Am hynny y gelwir *Crist* Isay 9. 6. *El Gibbor*, *y Duw cadarn.* nag ofned plant Duw gryfder gelynion, canys El ein Duw ni fydd gryfach na hwynt.

2. *Shaddai* hynny yw, *oll-alluog*: wrth yr enw hwn yr arferai Dduw ei henwi ei hûn wrth *y Patriarch*, mysi wyr *El Shaddai*, scil: *y Duw cadarn ollalluog* O blegid ei fod yn gwbl alluog i ymddiffyn ei weision oddiwrth bob drwg: iw bendithio a phob doniau yspryd ol, ac amserol, ac i gyflawni ei addewidion oll, yrhai a wnaeth ef iddynt, am y bywyd yma, ac am yr hwn fydd i ddyfod. Yr enw hwn a berthyn i'r Duwdod, ac nid i nebryw greadur: nagê, nac i *ddyndod* Crist Hyn a ddichon ein dyscu ni gyd a'r Patrieirch, i osod ein holl ymddiried yn Nuw. Ac heb ammeu nas cyflawna ef ei addewidion.

3. *Adonai fy Arglwydd*; yr enw hwn, fal y mae *Massoretiaid* yn nodi, a

geir bedair ar ddeg a chant o weithiau, yn yr hên Destament. Ar gyffelybiaeth y rhoddir yr enw hwn i greaduriaid, eithr yn briodol y perthyn i Dduw yn vnig. Fe ai harferir Malach.1.6. Yn y rhif lluosog er mwyn arddangos dirgelwch y drindod sanctaidd. Os fy fi yw *Adonim*, Arglwydd, *ym mhâ le y mae fy ofn?* *Adonai* yr vnig, *Adonim* y rhif lluosog. Yr enw hwn a roddir i Grist, Dan.9.17. *Llewrycha dy wyneb ar dy gyssegr anrheithiedig er mwyn Adonai (yr Arglwydd Crist)* Clywed yr enw sanctaidd hwn a eill ddyscu i bob dŷn vfyddhau i orchymynnion Duw, ai ofni ef yn vnig, na chaffo neb ond efe lywodraethu yn ei gydwybod, ac ymaflyd yn dynn (a deheulaw ffydd) yn ei air ef ai addewid, a honni fod Duw ynghrist yn Dduw iddo yntau. Fel y gallo ddywedyd gyd â *Thomas*, *Ty di yw fy Arglwydd am Duw.*

4. *Yw Helion*, *sef Goruchaf*, Psal.9.2. 9. ac 92.9. Dan.4 17,24.25,34. Act. 7.48. Yr enw hwn a rydd *Gabriel* i Dduw wrth fynegi i'r *Fair* forwyn y gelwid y dŷn bychan a enid o honi hi, yn * Fâb ir *Goruchaf*, Luc.1.32. Hyn sydd

* *Felly darfu i'r Diafol enwi Crist.* Luc.8.28

ſydd yn addyſcu yn gyntaf, fod Duw yn ei hanfod,ai ogoniant,yn rhagori (tu hwnt i bob meſur) ar holl greaduriad y nefoedd a'r ddaiar. Yn ail, na ddylei neb falchio o ddim anrhydedd na mawredd daiarol.

Yn drydydd, os deiſyfiwn wir oruwchafiaeth, ymegnio ddylem i gyrhaedd cyfundeb gyd â Duw *mewn grâs a gogoniant.*

5. *Abba* enw or *Syrianaec*, yn arwyddocau Tâd, Rhuf.8.15. Hwn a gymmerir weithiau yn * ſylweddol, megis yngweddi yr Arglwydd, weithiau yn berſonol,megis y mac yn Mat. 11.25. Canys Duw ſydd Dâd i Griſt a naturiaeth, ac i griſtianogion *o fabwys a rhâd. Criſt a elwir y Tâd tragwyddol,* Eſa.9.6. O herwydd ei fod efe yn ein hadgenedlu ni tan y Teſtament newydd. Duw a elwir hefyd * Tâd *y goleuni,* Iag.1.17, Oblegid ei fod ef yn trigo yn y goleuni na ellir mor dyfod atto,1.Tim. 6.16. Ac efe ſydd Awdur nid yn vnig o oleuni 'r *haul,* eithr hefyd, o holl oleuni rheſwm naturiol, a grâs goruwchnaturiol, *yr hwn ſydd yn goleuo pob dŷn a'r ſydd yn dyfod ir byd.* Ioa.1.9.

* *Am y tri pherſon.*

* *Wrth yr hwn nid yw, goleuni 'r haul ond cyſgod.*

Yr enw hwn a'n dysc ni yn gyntaf; fod yr holl ddoniau a dderbynniom gan Dduw yn dyfod yn vnig oddiwrth ei dadol gariad ef. Yn ail, y dylem ni ei garu ynteu eilwaith megis eu blant anwyl. Yn drydydd, y gallwn ni yn ein oll anghenion a'n trallod alw arno yn hyf, megis ar Dâd, am ei gymmorth a'i ymwared. Mal hyn ni ddylem ni grybwyll am sanctaidd Enwau Duw, na byddei hynny yn dwyn ar gof i ni ei ddaioni ef tu ac atton, a'n dyledion ninnau tu ac atto yntau. Ac yno y cawn ni wybod mor gyssurus yw, gwneuthur pob peth *yn enw Duw*. Dull ar ymadrod arferedig ar dafod pob dŷn, eithr y gwir ddiddanwch oddiwrtho, (drwy aneallgarwch) sydd adnabyddus i galonnau ychydig ddynion.

Doethineb mawr a pheth anrhaethol, i gryfhau ffydd Cristion (a fyfyrio am Grist) yw gwybod, wrth ba enw y mae galw ar Dduw, megis yn yr hwn yr hysbysodd am dano ei hun, ei fod yn dra ewyllysgar ac yn barottaf i'w gymmorth a'i gynnorthwyo ef, yn ei *ing a'i adfyd*. Chwannogrwydd awyddus i adnabod Duw yw 'r dyssicleaeth ddiamheuaf

heuafo'n cariad *ar Dduw*, ac o ffafr Duw tu ac attom ninnau, Psal.91.14.15. *Am iddo roddi ei serch arnaf: am hynny y gwaredaf ef: am iddo adnabod fy enw mi a'i gwrandawaf, mewn ing y byddaf gyd a'g ef, y gwaredaf ac y gogoneddaf ef, &c.* A chadarnhâd mawr ar ffydd yw, dechreu yn ddeallgar bob peth yn enw Duw.

*Hyd yma am y Priodoliaethau *enwol.*

* *T[illegible] nol i enw Duw.*

Y Priodoliaethau sylweddol ydynt o ddau fâth, naill: ai anghyffredinol, ai ymgyfattebol.

Y Priodoliaethau anghyffredinol ydynt gyfryw, ac na allant mewn nebrhyw fodd gyttuno (neu weddu) i vn mâth ar greadur, ond i Dduw yn vnig. Y rhai hyn ydynt dd[illegible]*gedd ac anherfynoldeb.*

Digymmysgedd yw'r hyn drwy ba vn, y mae Duw yn ddilwgr oddiwrth bob *cymmysgiad, gwahaniad, lluosogiad, digwyddiadau* neu rannau cyfansoddol, iw dirnad nai deall: megis pa beth bynnag yw efe, hynny yw efe yn hanfodol.

Er bod o Dduw yn drî, nid yw hyn

*Neu symlrwydd.* yn rhwystro ei *ddigymmysgedd : canys Duw sydd dri, nid trwy gysylltiad rhannau, eithr drwy gydhanfod personau.

Anherfynoldeb yw : drwy 'r hyn y mae pob peth sydd yn Nuw heb na *mesur* na therfyn, na diben, vchod, isod, ymlaen ac yn ôl.

Or ddau hyn angenrheidiol yw tarddu allan dri eraill o briodoliaethau anghyffredin.

*Bod ymhob lle ac vnwaith.* 1. *Ammesuredigaeth*, neu, * *bobllеaeth*, drwy 'r hyn y mae ef o anherfynedig amgyrhaedd yn llenwi y nefoedd, ar ddaiar ac yn cynnwys pob lleoedd, heb yspaid, lle, neu derfyn yn dichon ei gynnwys ef, ac heb fod yn absennol yn vnlle, y mae yn bresennol ym mhob lle.

Y mae pedair gradd o *bresenoldeb Duw*, y gyntaf sydd *gyffredinol*, drwy 'r hon y mae Duw ym mhôb lle, yn

*Yn llenwi pob man.* * *ilanwedigaidd:* eithr nid yn vnlle yn *gynhwysedigaidd.*

Yr ail sydd *enwedigol*, drwy 'r hon y dywedir fod Duw yn y nefoedd, o herwydd bod yno ei allu, a'i ddoethineb, a'i ddaioni mewn modd mwy rhagorol

rol iw gweled ai mwynhau : Ac hefyd o blegid oddyno yn arferol y mae ef yn tywallt ei *fendithion* ai *farnedigaethau.*

Yn drydydd, mwy enwedigol, drwy 'r hon y mae Duw yn preswylio yn ei Scintiau.

Yn bedwerydd, mwyaf enwedigol, a digyffelyb drwy 'r hon y mae cyflawnder y Duwdod yn preswylio ynghrist yn gorphorol.

2. Anghyfnewidioldeb, drwy 'r hwn y mae Duw heb gyfnewid oll : yn gystal o herwydd ei sylwedd, ai ewyllys.

3. Tragwyddoldeb, drwy 'r hwn y mae Duw heb ddechreuad iw ddyddiau, na diweddiad iw amser : ac heb derfynau o ran * *rhagfynediad*, neu ol-ddilynniad.

* *O ran dim â aeth oi flaen neu ddêl, oi ol.*

*Hyd yn hyn am y Priodoliaethau anghyffredin, Perthynasol i Dduw yn unig ; Bellach am y rhai tueddol, neu 'r cyfryw â eill fod yn adroddol am y creaduriaid.*

Y Rheni ydynt bump.

1. *Bywyd.* 2. *Deall.* 3. *Ewyllys.* 4. *Gallu.* 5. *Mawrhydi.*

BYwyd Duw yw hwnnw, drwy 'r hwn, megis trwy 'r fwyaf parhaus a phuraf *weithred*, y mae efe nid yn vnig, yn byw o honaw ei hun, eithr yn fythol ffrŵd o ffynnon y bywyd, o'r hon y mae yr holl greaduriaid yn cael eu bywyd: yn gymmaint ac mai ynddo ef, y *maent yn byw, yn symud, yn anadlu, ac yn bod.* Ac o blegid nad oes gwahaniaeth rhwng ei fywyd ef ai hanfod, am hynny y dywedir, mai *i Dduw yn vnig y mae anfarwoldeb*. 1. Tim. 6. 16.

2. Deall neu wybodaeth Duw, yw 'r hyn trwy ba vn *(wrth vn bur weithred)* y mae ef yn gwybod yn berffaith ynddo ei hûn bob peth ar a fu erioed, *ydynt, neu a fyddant*: ie meddyliau a bwriadau calon pob dŷn oll.

Y Gwybodaeth hwn yn Nuw sydd naill ai *cyffredinol*, drwy 'r hwn y gŵyr Duw o honaw ei hûn bob peth yn dragwyddol. Y da wrtho ei hûn, y

drwg

drwg wrth y da gwrthgefn iddo ; gan osod ar bethau damweiniol, goelbren damweiniaeth, ac ar bethan rheidiol, ddeddf anghenrhaid. Ac mal hyn yn gwybod pob peth ynddo ac honaw ei hûn, efe yw'r achos or holl wybodaeth sydd yn-mhawb yngystal dynion ac Angelion. Yn ail, *neullduol*, yr hwn a elwir gwybodaeth *cymmeradwy*, trwy 'r hwn yr edwyn efe *wrth eu pennau* ac y cydnebydd yn rasusol ai etholedigion am yr eiddaw ei hûn.

*Deall* hefyd a gynnwys *ddoethineb Duw*, drwy 'r hwn ei creawdd ef yn hygall bob peth *o ddiddym ddeunydd*, mewn, *rhif*, *mesur*, *a phwys*, a rhagllaw ai rheola, ac a'i cymhwysa hwynt, i wasanaethu ei arfaeth sancteiddiaf, ai ogoniant ei hunan.

3. Ewyllys Duw yw 'r hwn drwy ba vn anghenrhaid *iddo ei ewyllysio ei hûn*, megis y *prif-ddaioni*: A thrwy ei ewyllysio ei hûn fe a ewyllysia, yn rhwydd ddigymmell oll bethau da eraill, y rhai *ydynt oddiallan iddaw*.

Ewyllys Duw er nad yw ynddo ei hûn ond *vn*, megis yn ei hanfod, etto o herwydd amryw amlygynnau, ac effei-

thiau, fe ai gelwir yn yr Scrythyrau wrth amryw enwau, sef.

1. *Cariad*, wrth yr hwn y deellir Tragwyddol ewyllysiad da ein Duw, drwy 'r hwn ir ordinhaodd iw etholedigion fod yn gadwedig yn rhâd drwy Grist: ac y rhydd iddynt bob doniau angenrheidiol ir bywyd yma, ac ac ir hwn sydd ar ddyfod, gan ymfodloni ynddynt hwy, ac yn eu gwasanaeth.

2. *Cyfiawnder*, yw di anwadal ewyllys Duw, drwy 'r hwn y gobrwya efe ddynion ac Angelion yn ol eu gweithredoedd; gan gospi y diedifarus yn ol eu haeddedigaethau, yr hyn a *elwir cyfiawnder ei ddigofaint* ef: a thalu i'r ffyddloniaid yn ol ei addawidion, yr hyn a elwir *cyfiawnder ei râs ef.*

3. *Trugaredd*, yr hwn yn vnig yw ewyllys da Duw, a pharodrwydd ei serch i faddeu i bechadur edifeiriol ei bechodau ai ddrwg foddion.

4. *Daioni*, drwy 'r hwn y mae

Duw

Duw yn *ewyllysgar yn cyfrannu* o'i ddaioni iw greaduriaid: ac o herwydd ei fod ef yn ei gyfrannu yn *rhâd*, fe ai gelwir ef * *grâs*.

* *Neu rhâd.*

5. *Gwirionedd*, drwy 'r hwn yr ewyllysia Duw yn *ddianwadal*, y pethau a ewyllysio: gan ddibennu a chyflawni pob peth ar a ddywedodd, yn ei *amser gosodedig*.

6. *Ammynedd* drwy 'r hwn y mae Duw yn ewyllysgar yn peidio a chospi y rhai drygionus, cyhyd ac y cennadhâo ei gyfiawnder, a hyd oni byddo eu pechodau hwythau yn addfed.

7. *Sancteiddrwydd*, drvvy 'r hvvn y neullcuir natur Duvv oddivvrth bôb halogedigrvvydd: ac y casha efe bob brynti; ac felly gan fod yn llvvyr bureidd-lân ynddo ei hûn, y mae yn ymhoffi ymhurdeb a divveirdeb ei vveision, oddifevvn ac oddiallan, yr hyn a dyvvalltodd efe ynddynt.

8. *Dîg*, drvvy 'r hvvn y deellir diym-

diymmod a chyfiavvn evvyllys Duvv, yn *ceryddu yr etholedigion*, ac yn rhoddi dial a chofpedigaeth ar y *Gwrthodedig*, am y cammau a gynnigiant iddo ef ac ivv ddevvifedig. A phan gofpo Duvv yn dôft, ac yn drvvm, yno y gelvvir *Digofaint*, *amferol* ir Etholedig *tragwyddol* ir Gvvrthodedig.

4. *Gallu* Duvv, yvv yr hvvn drvvy ba vn y dichon efe o honavv ei hûn, ac yn ddiattal vvneuthur pa beth bynnac a evvyllyfio, ar a fo yn cydhuno ai naturiaeth ef, a thrvvy yr hvvn (megis y gvvnaeth efe, felly) y mae efe rhagllavv yn rheoli y *nefoedd* ar ddaiar ar holl bethau ynddynt. Yr holl alluog nerth hvvn yn Nuvv, fydd naill ai 'n *hollawl* trvvy 'r hvvn y dichon efe evvyllyfio, a gvvneuthur mvvy nac a evvyllyfio, neu nac a vvnelo, Mat. 3. 9. ac 20. 53. Rhuf. 9. 18. Neu *Weithredol*, trvvy 'r hvvn, y gvvna Duvv beth bynnac a fynno, ac a luddia beth bynnac ni fynno ef ei vvneuthur, Pfal. 115. 3.

5. *Mawrhydi*, yvv 'r peth, drvvy 'r hvvn y mae Duvv oi vvir ollavvl *awdurdod*

*durdod* ei hun yn teyrnasu ac yn rheoli, megis Arglwydd a Brenin, ar yr holl greaduriaid, gweledig ac anweledig: a chanddo gyfiawnder a meddiant ar bob peth, megis *oddiwrth yr hwn ac er mwyn yr hwn* y mae pob peth. A hefyd gyflawnder gallu, fal y dichon ef faddau anwiredd pawb oll a ewyllysio ef eu harbed, a gorchfygu ei elynion; y rhai a fynno efe roi dialedd arnynt ai destruwio, heb fod yn rhwymedig i roddi i nebryw greadur reswm oi weithred: ond gwneuthur ei sancteiddiaf ai gyfiawnaf ewyllys ei hûn, iddo yn gyfraith tra pherffaith a thragwyddol. Oddiwrth yr holl *briodoliaethau* hyn, y cyfyd vn, yr hwn yw prif-fendigedigrwydd neu berffeithrwydd Duw.

*Bendigedigrwydd* yw 'r perffaith ar anfesurol fwyniant ar lawenydd a gogoniant, yr hwn sydd gan Dduw ynddo ei hûn yn dragywydd. Ac sydd achos o bob dedwyddwch a pherffeithrwydd, a feddianno pob creadur yn ol ei fesur.

Y mae *Priodoliaethau* eraill a * roddir i Dduw ar *gyffelybiaeth*, ac yn *amhiriodol*, yn y Scrythyrau sanctaidd, megis

* *Agrosisit.*

gis trwy ddull ar ymadrodd sef * *Anthropomorphosis : aelodau dyn, llygaid, clustiau, ffroenau, genau, llaw, troed, &c.* neu synhwyreu a gweithrediadau dŷn, megis *gweled, clywed, arogl u, gweithio, rhodio, taro, &c.* Neu trwy ddull ar ymadrodd a elwir : * *Anthropopatheia,* gwyniau, cynhyrfiadau dŷn, sef *llawenydd, tristwch, hyfrydwch, prudd-der, cariad, câs, &c.* Neu mal pan henwer ef trwy * *Anolongica, yn llew, yn graig yn dŵr yn astalch:* ac felly. Arwyddocâd y rheini pob llyfr o ddeongliad ai hyspysa.

* *O ddynawl gyffelybiad.*

*O anwydau dyn*

* *Trwy gyffelybrwydd.*

*Am yr holl briodoliaethau hyn, rhaid i ni ddal y rheol gyffredin yma.*

NId oes vnrhyw briodoliaeth a ddichon adroddi yn eglur hanfod Duw, o herwydd ei fod yn anherfynol ac anrhaethol.

Pa beth bynnac gan hynny a draethir am Dduw, nid Duw ydyw, eithr yn hytrach fe eill wasanaethu i gynnorthwyo ein *mennyddiau* gweinion ni, i ddirnad yn ein rhefwm ac i adrodd ar ein

ein geiriau, Fawrhydi ei dduwiol anian ef cyn belled ac y bu wiw ganddo ei ddatcuddio ei hûn yn ei *air.*

2. Holl *briodoliaethau Duw* a berthynant i bob vn or tri Pherson, yn gystal ac ir hanfod ei hûn, hyd y goddefo y *briodoliaeth bersonol.* Megis *Trugaredd* y Tâd yw, *Trugaredd* yn cenedlu: *Trugaredd y mab* yw *trugaredd* cenedledig, *trugaredd* yr Yspryd glân yw *trugaredd* yn deilliaw, ac felly am y lleill.

3. Priodoliaethau * *bodol* Duw, nid oes ragoriaeth rhyngddynt ai hanfod. O blegid eu bod hwy felly yn yr hanfod, fel y maent yn wir hanfod ei hûn. Gan hynny nid oes dim yn Nuw, ar nad ydyw vn ai hanfod ai person. **Sylweddol.*

4. Priodoliaethau sylweddol Duw nid amgenant y naill oddiwrth y llall, o ran *sylwedd*, nac o ran *gwir fodol hanfod*, (o blegid beth bynnag sydd yn Nuw sydd vn hanfod syml, ac vn ni chynnwys wahaniad) ond yn vnig yn ein rheswn a'n deall ni, y rhai gan na allwn wybod pethau daiarol wrth vn vnig * *weithred* heb gynnorthwy llawer o *weithredon* gwahanredol, sydd raid i

ni

ni yn angenrheidiol gynnorthwy gan lawer o weithredon gwahanredol, i adnabod yr *anfeidrol* Dduw. Am hynny (i ddywedyd yn briodol) nid oes yn Nuw *lawer o briodoliaethau*, ond vn yn vnig, yr hwn nid yw ddim amgen, ond dwywawl hanfod y Duwdod wrth ba briodoliaethau bynnag y galwoch ef. Eithr er mwyn ein * *rheswm* ni, y dywedir eu bod yn gynnifer o briodoliaethau gwahanol. O blegid ein dealltwriaeth ni a ddirnad wrth enw trugaredd: ryw beth dieithrol oddiwrth y peth a elwir *cyfiawnder*. *Priodoliaethau* hanfodol Duw gan hynny nid ydynt ynddynt eu hunain, anwahanol.

* *Neu ddealltwriaeth.*

5. *Priodoliaethau sylweddol* Duw nid ydynt rannau, neu gyneddfau sylwedd y Duwdod, na digwyddiadau yn yr hanfod, na * sail. Ond gwir *hanfod Duw yn gyfan ac yn gwbl:* yn gymmaint a bod pob cyfryw briodoliaeth *nid aliud & aliud*, peth arall a pheth arall, eithr yr vn a'r vnrhyw beth. Nid oes gan hynny yn Nuw ddim maintiolaeth, wrth yr hwn y dywedir, ei fod efe yn gymmaint a chymmaint: na chynneddfau o herwyd pa rai: y gellir dy-

* *Sylwedd*

dywedyd ei fod efe y fâth ar fâth: Eithr pa beth bynnag yw Duw, y *cyfryw* a'r vnrhyw *yw* wrth ei hanfod. Wrth ei hanfod y mae'n ddoeth, ac am hynny doethineb ei hûn, wrth ei hanfod y mae efe yn drugarog, ac am hynny trugaredd ei hûn, wrth ei hanfod y mae yn dda, ac am hynny yn ddaioni ei hün, wrth ei hanfod y mae yn gyfiawn ac am hynny yn gyfiawnder ei hûn,&c. I fod yn fyrr, Duw sydd *fawr* heb *faintioli, daionus, cywir, a chyfiawn* heb *gynneddf: Trugarog* heb *wŷn: gweithred* heb *gynnwrf*, ym hob lle *yn bresennol* heb *olwg*: heb *amser* er hynny yn *gyntaf* ac yn *ddiwaethaf*. Arglwydd yr holl greaduriaid, oddiwrth yr hwn y derbynniant oll eu hunain, ar holl *ddaioni* sydd ganddynt; er hynny nid rhaid iddo ef, ac nid yw yn *derbyn* dim ychwanegiad daioni neu ddedwyddwch oddiwrth neb arall.

Dymma wir * agweddiad Duw, cyn belled ac y datcuddiodd efe ei hûn i ni yn ei *Air*.

* *Neu bortreiad.*

Yr athrawaeth hon (yn anad vn) sydd raid i bob gwir *ymarferwr Duwioldeb* ei gwybod yn addas, ac angenrhaid

rhaid ei chredu o ran pedwar achos arbennig, sef.

*Yn gyntaf.* 1. Fel y gallom adnabod ein gwir a'n hunig Dduw, oddiwrth gau dduwiau ac eulunnod. Canys y *portreiad hwn ar Dduw sydd adnabyddus iawn yw Eglwys yn vnig, yn yr hon yr eglurodd efe ei hûn yn rasusol.

* *Agwedd.*

*Yn ail.* 2. I sefydlu yn ein calonnau ni fawr ofn ei Fawrhydi ef; tra bôm yn tybied yn rhyfeddol o honaw, am ei *symlrwydd* ai *anherfynoldeb:* ai addoli ef, am ei *ammesuroldeb, anghyfnewidioldeb*, ai *dragwyddoldeb:* ac yn *ceisio doethineb* oddiwrth ei *ddeall*, ai *wybodaeth* ef: yn ymddarostwng yw fendigedig *ewyllys* ai *arfaeth:* yn ei garu ef, am ei *gariad, trugaredd, daioni, ammynedd:* ffyddio yw air ef, o ran ei *wirionedd:* ei ofni, o ran ei allu ei *gyfiawnder ai ddigofaint:* i berchi ef, am ei *sanctеiddrwydd*, ai folianu ef, am ei *fendigedigrwydd:* A darlynu arno ef tra fôm byw, yr hwn yw vnig Awdur ein *bywyd*, ein *bod*, ar holl bethau daionus sydd genym.

*Yn drydydd.* 3. I'n cymmell ni i ddilyn *Yspryd Duw* yn ei sanctaidd briodoliaethau, ac i ddwyn (mewn rhyw fesur) ynom ragddelw

ddelw neu *gyffelybiaeth* o'i *ddoethineb, gariad, ddaioni, gyfiawnder, drugaredd, wirionedd, ammynedd.* * *Zêl*, ac oi *ddigofaint* ef yn erbyn pechod : fel y gallom ninnau fod yn *ddoethion, gariadus, gyfion, drugarogion*, eirwir, ddioddefgar, ac yn llawn Zêl fel y mae ein Duw ni.

* *Brwdaniaeth.*

4. Yn ddiwaethaf, fel y gallom ni yn ein holl weddiau a'n myfyrdod, iawn synnied oi ddwywawl Fawrhydi ef. Ac nid yn ôl y gwrthgâs ar cablaidd *drawsfeddyliau*, y rhai o naturiaeth a gyfodant ym * mhennau dynion: megis y dychymygant fod Duw yn debyg *i hên ŵr yn eistedd mewn cadair*. A bod y *Drindod fendigedig* yn debyg ir eulun tri-rhannog a bentiai y pabyddion yn ffenestri eu heglwysi.

* *Yn bedwerydd.*

* *Mennydiau dyn.*

Gan hynny pan fŷch i weddio at Dduw. Llefared dy *galon* wrtho ef megis wrth vn *Tragwyddol, anfeidrol, ollalluog, sanctaidd, doeth, cyfiawn trugarog, yspryd, a pherffaithgwbl anwahanol hanfod o dri gwahanredol bersonau, Tâd, Mâb, ac Yspryd glân : yr hwn gan ei fod yn bresennol ym mhob lle, sy'n llywodraethu y nefoedd, ar ddaiar : yn dirnad calonnau pawb, yn gwybod trueni*

*pob*

*pob dŷn; ac yn unig a ddichon roddi ini bob doniau a fyddo arnom ni eu heisiau, a gwaredu holl bechaduriaid edifeiriol y rhai a chalonnau ffyddlon a geisiant (er mwyn Crist) ei gymmorth ef, i fyned allan o'i holl flinderau au cystuddiau pa fâth bynnag.*

Eisiau y gwir wybodaeth hwn am Dduw, sy 'n peri i lawer wneuthur eulun or gwir Dduw: a hyn yw 'r unig achos, pa ham y mae cynnifer yn proffessu pob *rhan arall* o grefydd Dduw, mor amharchus ac mor rhagreithus. Lle pe adnabyddent yn union, ni feiddient amgen na ddeuent iw wasanaeth ef. A chwedi dyfod, ei wasanaethu mewn *ofn* ac *anrhydedd*: canys cyn belled ac y mae dŷn yn ofni Duw, y mae ef yn ei adnabod: ac yno y mae dŷn yn gwir adnabod Duw, pan gyssyllto ei *ymarfer* at *fyfyrdod*, a hynny fydd:

*Yn gyntaf.* 1. Pryd y bo dŷn felly yn cydnabod ac yn anrhydeddu mawredd Duw, megis * yr eglurodd efe ei hûn yn ei Air.

* *Y dadeuddiedd. Yn Ail.* 2. Pryd (oddiwrth wir a bywiol ystyriaeth priodoliaethau Duw) y maga ynghâlon dŷn, gariad, ofn, ac ymddiried

ddiried yn Nuw: canys *medd Duw ei hûn; Os ydwyf fi dâd pa le y mae fy anrhydodd? Os ydwyf fi feistr pa le y mae fy ofn?* O *Profwch a gwelwch mor ddaionus yw 'r Arglwyd,* medd *Dafydd* Psal. Mala. 1.6
34.9 Y neb, *oi gydnabyddiaeth* ni phrofodd ei ddaioni ef, nid edwyn mor ddaionus yw efe. Yr hwn (medd S. *Ioan)* a ddyved ei fod yn *adnabod Duw, ac heb gadw ei orchymynnion ef, celwyddog yw, a'r gwirionedd nid yw ynddo. Cyn belled* gan hynny, ac y bôm yn gwneuthur ar ôl Duw, mewn *daioni, cariad, cyfiawnder, trugaredd, ammynedd*, ac eraill oi *briodoliaethau ef, cyn belled* a hynny yr ydym yn adnabod Duw. 1. Ioa. 2.4

3. Pryd, trwy ochain dirgeledig ac â difrifol ewyllysfryd ein calonnau, y byddom yn hiraethu, am gael perffaith achyflawn wybodaeth, o'i *fawredd ef yn y bywyd sydd a'r ddyfod. *Yn drydydd.* **Fawrhydy.*

4. Yn ddiwaethaf hyn a ddatcuddia pa cyn lleied yw nifer y rhai a wir adwaenant Dduw. Canys nid edwyn neb Dduw, ond yr hwn ai caro ef; a pha fodd y geill dŷn ddewis na charo ef, gan ei fod yn *brif ddaioni*, pes

adwaenai

adwaenai ef? Gan weled *fod natur Duw yn hudo dynion i garu ei ddaioni:* a phwy bynnac a garo ddim yn fwy na Duw; nid *yw deilwng o Dduw.* Ar cyfryw yw, pob vn a esyd serch a hoffder ei galon ar ddim arall ond ar Dduw. Gan hynny os wyt yn credu fod Duw yn *Ollalluog*, pa ham yr ofni *gythrauliaid* a *gelynion*, ac nad wyt yn hyderus yn ymddiried yn Nuw; ac yn ymbil am ei gymmorth ef, ym mhôb trallodau a pheryglon. Os wyt ti yn credu fod Duw yn * *anfeidrol*, pa fodd y llysesi di ei annog ef i ddigofaint? Os wyt yn credu fod Duw yn *ddi-ffug*, pa fodd y clywi di ar dy galon allael rhagrithio a bod yn ffuant'wr? Os wyt yn credu mai Duw yw 'r prif ddawn, pa ham nad yw dy serch di wedi ei osod arno ef yn fwy nac ar holl dda bydol? Os wyt yn credu mewn gwirionedd, fod Duw yn farnwr cyfiawn, pa fodd y beiddi di fyw mor ddifraw mewn pechod, heb edifarhau? Os wyt yn gwir gredu fod Duw yn ddoethaf, pa ham nad wyt yn rhoi arno ef am wastadhau a threfnu gwrthwynebion, a dirmygon, *yr hwn a ŵyr dueddu pob peth*

*Anter-*synol.*

Rhuf. 8. 28.

*peth ir hyn gorau, ir ſawl ai carant ef?* Os wyt ti yn gwir goelio fod Duw yn eirwir, pa ham yr amheui di ei addewidion ef? Ac os wyt yn credu fod Duw yn *brydferthwch* ac yn wir *berffeithrwydd*, pa ham nad wyt yn ei wneuthur ef yn brifnod vnig i'th holl hoffderau a'th ddymuniadau. Canys o cheri di degwch efe yw 'r teccaf: o chwennychi gyfoeth efe yw 'r cyfoethoccaf: o cheiſi ddoethineb, efe yw 'r doethaf: pa odidawgrwydd bynnac, a welaiſt mewn nebryw greaduriaid, nid yw ddim ond megis gwreichionen or hyn (mewn perffeithrwydd anherfynol, ſydd yn Nuw. Ar pryd y caffom ddigyfrwng gyfundeb yn y nefoedd gyd â Duw: Ni gawn y pethau hyn oll yn berffaith wedi eu cyfrannu i ni. I fod yn fyrr, ym *mhob daioni*, efe *yw oll yn oll.* Câr yr vn Duw daionus hwnnw, ac ti a fyddi yn ei garu ef, yn yr hwn y mae holl *ddawn y donniau* yn * aros. Y neb gan hynny a chwennycho gael gwir wybodaeth am Dduw: rhaid iddo ddyſcu ei adnabod ef drwy gariad. Canys *Duw cariad yw, ar gwybodaeth o gariad Duw ſydd vwchlaw*, pob *gwybodaeth.* Canys pob *gwybodaeth,*

* Seſyll.

Eph. 3 19

*bodaeth*, oddieithr gwybod pa fodd y cerir Duw, ac y gwasanaethir ef yn vnig, nid yw ddim (ar air *Salomon ond gwagedd o wagedd, a blinder y byd.*

Ennyn gan hynny o fy Arglwyddes, nagê yn hytrach fy Arglwydd *Cariad perffaith*, dy gariad dy hûn yn fy enaid, yn enwedig gan ryngu bodd i't, yn ôl fy vno i â thi trwy waed Crist, gael o honof fynghafarwyddo trwy wybodaeth dy râs, i gymmun dy ogoniant, yn yr hwn y mae fy mhrif ddaioni am dedwyddyd tragwyddol yn sefyll.

Mal hyn wrth lewyrch ei *Air ei hûn* y gwelsom y tu cefn i *Iehouah Elohim*, y tragwyddol *drindod*, credu yn'*yr hwn* sydd gadwedigol ffydd ac vnion wirionedd, ar i'r hwn oddiwrth *oll greaduriaid* yn y nefoedd, a'r ddaiar, y byddo *Moliant, gollnogaeth, a gogoniant, yn dragwyddol.* Amen.

Hyd yna am wybodaeth o Dduw: Bellach am wybodaeth o ddŷn ei hûn: Ac yn gyntaf am gyflwr ei drueni ef, ai lygredigaeth heb adnewyddiad trwy Grist.

*Myfyrdod*

*Myfyrdod am drueni dŷn heb ei gymmodi a duw ynghrist.*

O Scerbwd gwael, ym mhâ gwrr y dechreuaf fi adrodd dy drueni didrangcedig? Yr hwn wyt wedi dy *euogfarnu*, yr awr gyntaf y cymmeraist *fylwedd* yn y grôth, a chwedi dy farnu i *farwolaeth dragwyddol*, cyn dy eni i fywyd amserol. Gwir yw, y medraf gael decreuad ar dy drueni, eithr ni wn ym mhâ fan y mae i mi geisio y diwedd. Canys pan oedd *Adda* ac *Efa* wedi eu creu ar lun delw Dduw ei hûn, ac yn preswylio ym mharadwys, mal y gallent hwy, ai hiliogaeth fyw y bywyd anfarwol mewn dedwyddwch, a holl greaduriaid y ddaiar dan eu llywodraeth, ond yn vnig, na chaent archwaethu o ffrwyth vn pren, er mwyn dangos vfydd-dod i'r creawdr holl alluog; er darfod i Dduw eu gwahardd hwy ai gorchymyn i ymgadw oddiwrth hyn o beth bychan: dan boen cospedigaeth angeu tragwyddol, er hyn hwy a gredasant i air y cythraul o flaen gair Duw, drwy geisio gwneuthur Duw (pes

gallaſent) yn gelwyddog. Ac felly drwy fod yn anniôlchgar am yr holl ddoniau a gawſent ar law Dduw hwynt hwy â aethant yn anfodlon iw cyflwr preſennol, fal pe buaſai Dduw, yn rhoddi y gorchymmyn hwnnw iddynt o gynfigen a chrintachrwydd, ac â goeliaſant y gwnai diafol hwynt yn gyfrannogion o bethau anrhydedduſach nac a roeſai Dduw iddynt erioed, ac yn eu balchder hwy a wnaethant fradwriaeth yn erbyn y goruchaf, a thrwy fod yn ddiyſtur ganddynt fod yn ddeiliaid i Dduw hwy a chwennychaſant fod yn dduwiau eu hunain, neu yn ogyfuwch â Duw, yno nes iddynt ediſarhau, (trwy golli llûn delw Dduw) hwy a aethant yn debyg ir cythraul: ac felly eu holl hiliogaeth hwynt, megis heppiliaeth *wrthryfelgar* (tra byddont fal dithau yn anedifeiriol) ydynt yn ddaroſtyngedig yn y byd yma, i ddioddef pob trueni helbulus, ac yn y byd a ddaw i'r tân tragwyddol a ddarparwyd i ddiafol ac ivv angelion.

Bwrw ymmaith gan hynny dy wagedd amwhyllig a chymmer olwg, ar dy drueni greſynol: yr hyn beth os iawn yſtyri, nid wyf yn ammeu, nas gweli di fod

fod yn well o lawer fod o honot heb eni, na bod heb râs i ymarfer a duwioldeb.

Ystyr gan hynny dy drueni
1. Yn dy *fywyd.*
2. Yn dy *farwolaeth.*
3. Ar ôl dy *farwolaeth.*

Yn dy fywyd y
1. Trueni sydd yn dilyn dy *gorph.*
2. Trueni sydd yn gwrthuno dy *enaid.*

Yn dy farwolaeth ystyria y pethau ydynt yn gorthrymmu dy gorph a'th enaid.

Ar ôl marwolaeth ystyr y trueni a dastlant dy gorph a'th enaid ynghyd i dân vffern.

Ac yn gyntaf, gadewch inni gymeryd golwg ar y trueni sydd yn canlyn y corph yn ôl trefn pedair oes dŷn.

1. *Mebyd.*
2. *Ieuengtyd.*
3. *Oedran gŵr.*
4. *Honaint.*

1. *Myfyrdod am drueni mebyd.*

BEth oeddit ti pan oeddit yn faban ond megis anifail ar lûn dŷn ym

mhoethineb trachwant ith ynnillwyd, dirgelwch cywilydd, gwarth a dyfodd o'r *pechod cyntafanedig?* Fal hyn i'th fwriwyd ar y ddaiar yn ymdrabaeddu mewn gwaed, a budreddi, (yn fudr iawn) pan ddarfu i fab Duw, yr hwn ni bu ddirmygus ganddo, gymmeryd arno ddynawl anian, ar gwendid pyrthynasawl i hynny: eithr ni ryngodd bodd iw fancteiddrwydd ef fyned ir grôth iw ymddwyn yn ôl y dull ar modd pechadurus, yr ynnillir dyn) fal yr oedd yn gywilydd gan dy fam di adrodd y modd i'th aned, pa ryw achos gan hynny fydd itti i ymffrostio o'th enedigaeth, yr hon oedd yn boen felldigedig i'th fam, ac i tithau dy hun yn borth trwy'r hwn y daethost ir bywyd helbulus. Ac o ran na fedrit y pryd hynny fynegi faint oedd dy drueni ar eiriau, mewn dagrau ac wylofain dydi ai dangosaist yn orau ac y medrit.

## 2. *Myfyrdod am drueni ieuengtyd.*

BEth ydyw bachgen neu langc ieuange, ond megis anifail heb ddofi, ai

holl weithredoedd yn lledffol, ac yn ffromwyllt, yn wrthnysig i gymmeryd cyngor da er ei glywed, ac mal Eppa heb ymlawenhau mewn dim ond oferedd a ffolineb. Am hynny cyn gynted ac y dechreuaist gael dim nerth, a dealltwriaeth fe ath gadwed allan o law dan y wialen, dan ofn tâd, a mam, ac athrawon fal pe buasit wedi dy eni i fyw yn ôl dysceidiaeth eraill, ac nid yn ôl dy ewyllys dy hûn. Ni bu farch lluddedig erioed chwannoccach i ymadel ai bwnn nac oeddit ti i fyned allan or cyflwr caeth yma. Cyflwr ni thâl sôn am dano.

### 3. *Myfyrdod am drueni oedran gŵr.*

PA beth yw cyflwr gŵr ond mâ[illegible] ga[illegible] yr hwn mal tonnau y ma[illegible] r naill orthrymder yn dilyn y llall, ar olaf yn waeth na'r cyntaf. Cyn gynted ac y dechreuaist drîn y byd, di â ymdroist mewn cwmmwl o drueni, dy gnawd sy' 'n dy arwain i drachwant, y byd yn dy hudo i ddigrifwch, ar cythraul, yn dy gymmell i bob math ar bechod; ofn gelyni-

on sy 'n dy ddychrynu, ac erlyn cyfraith yn dy flino, y mae cammau ar law cymmydogion drŵg yn dy orthrymmu, a gofalon am wraig a phlant yn dy liasu ac aflonyddwch rhwng casèion cyhoeddus, a gau gymdeithion (gan mwyaf) yn dy orthrechu; y mae pechod yn dy frathu di oddifewn, a Satan yn gosod ei rwyd o'th flaen; cydwybod am bechod sy' 'n dy gyhullwyn o'th ôl; yr awr-hon y mae adfyd a'r dy law asswy yn dy lidio, yn y man y mae helaethwydd a'r dy law ddehau yn gwenhieithio itti; gorvwch dy ben y mae dial Duw dyledus am dy bechod, yn barod i ddescyn arnat, a than dy draed y mae safn vffern, yn agored i'th draflyngcu: ac yn y cyflwr gresynol hwn, i ba le yr ai di am lonyddwch, ac ymwared? y mae 'r tŷ yn llawn gofalon, y mae 'r maes yn llawn o drafferthion, a'r wlâd o anwybodaeth, y ddinas o gynhennau, y llŷs o gynfigen, yr eglwys o bleidiau, y môr o speilwyr, y tir o ladron, neu ymhâ ryw gyflwr y mynnit fyw? Gan fod golud iw genfigennu a thylodi iw ddiystyru, synwyr iw anghoelio, a diniweidrwydd yn wawd, ofergoel iw gwatwor a chrefydd

iw

iwamheu? drygioni yn cael ei fawrhau a rhinwedd ei amherchi. Oh pa ryw fâth wisc o bechod sydd yn dy amgylchu di mewn bŷd o anwiredd? Beth yw dy lygaid, onid ffenestri i edrych ar wagedd? Beth yw dy glustiau, onid fflodiardau i ollwng llifeiriant trawsineb i mewn? Beth yw dy synhwyrau, ond gosgymmon i ennyn tân i'th drachwant? Beth yw dy galon, ond yr einion ar yr hon y darfu i Satan lunio llûn echrŷs dy holl amcanion diffaeth? Wyt ti o rieni urddol? y mae yn rhaid itti dy fwrw dy hûn mewn perigl i ryfel dieithrol, i geisio ynnill anrhydedd daiarol raid itti yn fynych roi dy fywyd yn ddibris mewn câd beryglus rhag dy fwrw di yn llyfrwas, wyt ti wedi dy eni o radd isel? O f'arglwydd pa fâth boen ac anhunedd sydd raid itti ddwyn gartref ac oddicartref i geisio ynnill dy gynhaliaeth a'r cwbl ond odid yn brin i borthi dy angen; a phan gaffo vn ynnill ychydig, yn ôl mawr lafur a hir boen, beth am leied o sicrwydd sydd iddo yn yr hyn a gafodd, o ran di a weli drwy athrawiaeth beunyddiol, fod yr hwn oedd gyfoethog ddoe, yn dlawd heddyw: yr hwn oedd

ddoe yn iach, heddyw yn glâf; yr hwn oedd ddoe yn vchel i grechwen, sydd heddyw ag achos iddo i vdo yn alarus, yr hwn oedd ddoe mewn parch, sydd heddyw mewn gwarth ac ammarch, yr hwn oedd ddoe yn fyw sydd heddyw yn farw, ac ni wyddost pa cyn gynted, neu ym mhâ ryw fodd, y byddi di farw dy hûn, a phwy a fedr gyfrif ei gollediion, ei wrthwynebion, ei guriau, ei warthruddiau, ei glefydau, a'i ofidiau? y rhai a ddigwyddant i ddyn pechadurus? Heb yngan chwaith am farwolaeth plant cymdeithion neu gymyseifiaid, yr hyn sydd yn synych yn chwerwach wrthym nac yw marwolaeth ei hunan.

### 4. *Myfyrdod am drueni henaint.*

PA beth yw henaint? Onid tommen lawn o yscubion gofidiau, canys os tynnu a wnei i gyrhaeddyd hiroes, y mae r henaint arfoel yn dy oddiwes, yn dyfod tan ymgrymmu, yn syfrdanllyd, ar wyneb yn grŷch, ar dannedd yn bydron, a'r anadl yn ddrewllyd, yn ffrom o anynadrwydd, yn diflannu o sychder y cnawd, ar *golwg yn* pallu, ar *clywed yn*

*ddiffaeth,*

*ddiffaeth*, a dolur *iw amgylchu*, y *ddaupen yn plygu ynghyd gan wendid*, heb ffrwyth o wybodaeth, yn yr vn or pum synwyr, ond yn vnig i *wybod* oddiwrth boen: yr hwn sydd yn gwynio ym mhob aelod oi gorph heb obaith o gael esmwythdra oddiwrtho nes, iddo ei daflu ef i waelod ei fedd.

Hyn ymma am y trueni sydd yn canlyn y corph: yr awr'hon am y trueni sydd yn canlyn yr enaid yn bennaf yn y bŷd hwn.

*5. Myfyrdodau am drueni yr enaid yn y bywyd hwn.*

YN gyntaf, y dedwyddwch a gallodd efe;

Yn ail, y trueni a dynnodd ef ar ei vchaf ei hun trwy bechod.

Y dedwyddwch a gollodd efe, oedd yn gyntaf bod yn gyfrannog o ddelw Dduw trwy 'r hyn yr oedd ef yn gyffelyb i Dduw mewn gwybodaeth, i allael yn berffaith ddeall dadcuddiedig ewyllys Duw; yn ail, gwir sancteiddrwydd, trwy 'r hwn yr oedd efe yn lân oddiwrth bob bai halogedig: yn drydydd, y cyfiawnder,

 trwy

trwy 'r hwn yr oedd efe yn gallu hyfforddi ei holl amcanion, a threfnu yn vnion ei holl weithredoedd; yn deilliaw oddiwrth hyn o roddion. Gyd â cholli y dewisedig lûn hwn, efe a gollodd gariad Duw, yn yr hwn yr oedd ei fywyd ai ddedwyddwch yn sefyll. Os colled am olud bydol a'th bruddhâ di yn fawr, pa faint mwy y dylai golled am y nefawl drysor yma dy drymhau.

Yn ail y trueni a dynnodd yr enaid ar ei wartha ei hun sydd yw ystyried mewn dau beth.

1. Pechod.

2. Melldith.

Pechod: ydyw llygredigaeth cyffredinol, yn gystal o'i naturiaeth ac oi weith-
Eph.2.3. Gen.6.5. redoedd, canys y mae ei natur ef yn hylithr i bechu yn oesdadol: ym mhob mâth ar bechod, y meddwl wedi ei lenwi yn llawn o wagedd, y dealltwriaeth
1. Cor.2. 14. Phil.2 3. wedi ei dywyllu gan anwybodaeth, yr ewyllys heb chwennych dim ond ofer-edd a phechau gwaelion, ei holl weithredoedd ef ydynt ddrwg, y mae gwrthuni mor nerthol gyd' ag ef, fal nad yw 'r desyfiad yn fynych yn vfuddhau i reoledigaeth rheswm yn yr enaid adgenedledig,

nedledig, a'r ewyllys yn gwibio i gynllwyn gwyniau pechadurus. Pa gymmaint gan hynny ydyw nerth y deisyfiad a'r ewyllys, yn yr enaid gwrthodedig, yr hwn sydd yn aros yn oesdadol yn ei lygredigaeth anianol. O hyn y mae yn digwyddo fod dy enaid truan wedi ei ymwrthuno gan bechod, ymddifwyno gan drachwant, ymanrheithio gan sudreddi, ymchwyddo gan ddrygnaws, ymroi i wyniau, ymddihoeni gan genfigen, yn ymlythu â gormodedd, yn ymdrabaeddu mewn meddwdod, yn berwi gan lîd, yn ymlosci gan greulondeb: a gogoneddus lûn Duw, wedi ei gyfnewid i lûn y diafol echryslon, hyd oni ddarfu ir *Arglwydd unwaith edifarhau ddarfod iddo ef erioed wneuthur dŷn.* Ioa.8.44 Gen.6.6

O ddiwrth y cyntaf sef pechod, y mae y rhan arall o drueni yr enaid yn dyfod sef melldith, o'r hon y mae dwy radd:

Sef { *Mewn rhan.* / *Yn gyflawn.* }

*Melldith* mewn rhan ydyw, yr hon yr ydis yn ei rhoddi a'r yr enaid yn ei fywyd a'i farwolaeth ac sydd yn gyffredin

din iddo ef gyd a'r coph. Y felldith ar yr enaid yn y bywyd yma yw digofaint Duw, yr hwn sydd goruwch ben y fâth greadur, fal y byddo pob peth: nid yn vnig gofidiau, eithr rhadau a bendithion hefyd, yn ymchwelyd yn dramgwydd iddo.

Dychryn cydwybod sydd yn ei droi ef oddiwrth Dduw a'i wasanaeth, fal nas beiddia ddyfod yngŵydd ei sancteiddrwydd ef; onid ymroi i gaethiwed Satan, ac yw ddeisyfiadau gwaelion ai drachwantau ei hunan.

Hyn yw melldigedigrwydd yr enaid yn y bywyd: weithian y canlyn melldigedigrwydd yr enaid ar corph ym marwolaeth.

### *Myfyrdod am drueni y corph ar enaid wrth farw.*

Gwedi i'r gŵr oedrannus ymdrecha a hîr glefyd, a dioddef dygn benyd, ac yn disgwyl cael peth esmwythdra; yno y daw Angau i mewn: (llofrudd naturiaeth) melldith Dduw, eigydd vffern, ac â edrych yn dduoer arwddig yn wyneb yr henddyn: heb

na

na thrugathau wrth ei oedran nac ystyried ei hirnych, na chymeryd gwobr o arian neu aur er cyd-ddwyn: na wna; ni chymmer er arbed ei enioes ef groen am groen, na dim ar sydd ar ei helw, ond curo i lawr a wna brifrannau ei gorphilyn, ai restio ef i atteb ger bron yr vsdus ofnadwy; a chan dybed na phrysura yr henddyn i ddyfod gyd ag ef yn dra buan: O f' Arglwydd pa rifedi o biccellau gofidus y mae efe yn ei ergydio trwyddo: sef gwaiw, doluriau, clymmau gwithi, y cryd, peswch, llafur, poerion oerllyd, cnofeydd, gwewyr, tostedd, ar cyfryw.

Oh *pa fâth oer echryslon olwg ydyw* ei weled ef ar ei wely, gwedi i angau roddi iddo ef, ei friw marwolaeth? pa fâth lychwys oer sydd dros ei holl gorph? pa ryw grynfa sydd ar ei holl aelodau? y mae 'r pen yn llammu, ar wyneb yn glasu, y trwyn yn duo, ar ên yn llaesu, llinynnau y lygaid yn torri, y tafod yn bloesci ar anadl yn byrhau, yn aroglu yn drwm, y sefnig yn grillian, ac ar bôb ebwch or genau, y mae llinynnau y galon yn barod i dorri. Yr awr hon y mae 'r enaid

truan

truan yn deall yn hyſbus fod ei gorph daiarol yn dechreu marw; ac megis o flaen ymddattodiad hollawl, neu ddiwedd adeiladacth y byd mawr: y try yr haul yn dywyllwch, a'r lloer yn waed, ar ſêr a ſyrthiant or wybrennau, a'r awyr a fydd yn llawn tymeſtloedd, a dreigiau tranllyd, y ddaiar a grŷn, a'r môr a rua, a chalonnau dynion a lewyga gan ofn, yn diſgwyl diwedd a'r y cyfryw ddechreuad ofnadwy: felly tu ac at ymddattodiad dŷn (yr hwn yw y byd bychan) ei olygon y rhai ŷnt yw cyffelybu ir haul a'r lloer: a gollant eu goleuni, ac ni chanffyddant ddim ond geuogrwydd pechod: y ſynhwyrau eraill megis y ſêr y rai ydynt lai, a dywyllant ac â ſyrthiant y naill yn ôl y llall: ei feddwl, ei reſwm, ai gof, megis nefol ſwyddgyneddfau yr enaid, a gânt eu hyſgwyd gan echrydus dymeſtloedd anobaith, a fflammau creulon o dân vffern; ei gorph daiarol ſy 'n dechreu ſiglo a chrynu, a holl brif ddeunyddiau y corph megis môr a fai yn llenwi, a ruant ac a chwrnant yn ei dagell, gan ddiſgwyl beunydd am derfyniad galarus ar y cyfryw ddechreuad

ad dychrynadwy.

Tra fyddo efe fal hyn tan ddyfyn i atteb yn y *sessiwn fawr* gar bron Duw, wele y mae *cwarter sessiwn* i fwrw carcharorion, iw chadw ynddo ei hûn oddifewn. lle y mae *rheswm* yn eistedd mal barnwr, ar cythraul yn rhoi bil o ditmant cyn helaethed a llyfr *Zachariah*, yn yr hwn y gosodir ar lawr yr holl gamweddau a wnaethost erioed, a'r holl weithredoedd da a esceulusaist eu gwneuthur erioed, a'r holl felldithion, ar barnedigaethau dyledus i bob rhyw bechod. Dy gydwybod dy hûn a'th cyhudda; a'th côf a dystiolaetha yn dôst i'th erbyn, a'r angau a saif wrth y barr yn barod, megis dihenyddiwr creulon i wneuthur diben o honot: Os ty di fal hyn a fyddi yn dy euog-farnu dy hunan; pa fodd y gelli di ochelyd union farn Duw, yr hwn sydd yn gwybod oddiwrth dy holl drosæddau, yn well na thi dy hûn? Ti a chwennychit fwrw allan o'th feddwl goffadwriaeth dy anwiredddau y rhai sy'n dy orthrymmu: eithr y maent hwy yn dyfod i'th côf yn gynt o lawer *o hynny*, ac ni fynnant moi bwrw allan ond llefain wrthit, *Nyni yw dy* Zech. 5. 3

*weith-*

*weithredoedd ac ni a'th ganllynwn.* A thra fô dy enaid ti fal hyn oddifewn allā o bob trefn a thanghneddyf: dy blant, dy wraig ath gyfeillion, âth fyfrdanant dan ymbil a thi am osod trefn ar dy dda, rhai yn llefain, rhai yn disgwyl, rhai yn ceisio, rhai yn twyllo, rhai yn tosturio, rhai 'n cyssuro, oll megis cyhyrod i'th frathu, oran peri i'th ofid fod yn fwy gofidus.

Yr awrhon y cythrauliaid, y rhai a ddaethant o vffern *i ddwyn ymaith dy enaid*, sydd yn dechreu ymddangos iddo, ac yn disgwyl am dano i'w gymmeryd ai ddwyn ymmaith, cyn gynted ac y delo ef allan o'r corph. Aros i mewn a fynnei, ond deall y mae fod y corph yn dechreu marw bob ychydig, ac yn barod fal hên dŷ amharus i syrthio am ei ben: y mae efe yn ofni dyfod allan, o blegid bod yr *vfferngŵn* hynny yn gwilio ei ddyfodiad.

Oh efe, yr hwn a dreuliodd lawer o *ddyddiau a* nosau mewn gvvâg ofer ddigrifwch: a roddai yr avvr hon yr holl fyd (ped fai ar ei lavv) am gael vn avvr o amser i edifarhau, ac i ymgymmodi à Duvv. Ond ni cill hynny fod, o her-

herwydd y mae ei gorph, (yr hwn oedd yn cydſynnio ag ef i wneuthur pechod,) yn anghymmwys ollawl yr awr hon i uno ag ef yngwaith edifeirwch, a rhaid yw bod edifeirwch yn yr holl ddŷn.

Yr awr'hon y mae efe yn gweled fod ei holl lawenydd wedi darfod, fal pe na buaſai erioed, ac nad oes dim iw gael ond poenydiau, y rhai a bery heb drange na gorphen. Pwy a eill ddatcan yn gyflawn ei ofid am y pechodau a aethant heibio, ei ddialedd am ei drueni preſennol, ai ddychryn am y poenau ſydd i ddyfod.

Yn hyn o gyfyngdra caeth, y mae ef yn edrych ymmhòb man am ymwared, ac yn ei weled ei hûn ymmhôb ffordd yn ddigynnorthwy. Fal hyn ynghanol ei ddygn galedi a'i drueni,(yn chwannog i glywed y dim, lleiaf o gyſſur) y mae efe yn treuthu yr ymadrodd hwn neu 'r cyffelyb wrth y llygaid:

O lygaid, y rhai oeddych gynt mor graff eich golwg a fedrwch chwi ganfod dim ynwared, na gweled ffordd yn y byd i mi ochel y perigl echryſlon yma? ond

ond y mae llinynnau y llygaid wedi torri, ni allant hwy weled y gannwyll sydd yn losci o'i flaen ef, na gweled gwahaniaeth rhwng dydd a nôs.

*yr enaid wrth y Clustiau.*

Y mae yr enaid (wrth weled nad oes dim cyssur iw gael gan y llygaid) yn dywedyd wrth y clustiau: O glustiau, y rhai oeddych arfer o gymmeryd difyrrwch vvrth vvrando ymadroddion mwynbêr a phrydferthlais cerddwriaeth; a fedrwch chwi glywed dim newydd, na sôn am ronyn o gymmorth i mi? Y Clustiau naill a'i y maent mor fyddarion, ac na chlywant ddim yn y byd: a'i y mae 'r clyw cyn wanned, ac nas geill ddioddef clywed ei gyfeillon anwylaf, yn siarad ag ef, a pha ham y cai y clustiau hynny glywed dim hanes am lawenydd ym marwolaeth, yr rhai ni allent aros clywed newyddion da yr Efengyl yn eu bywyd? ni eill y glust na chymmorth nac ymwared.

*yr en wrth y tafod.*

Yno y dengys ef ei gŵyn wrth y tafod. O dafod yr hwn â arferit ymffrostio gyd a'r gwychaf, yn awr pa le y mae dy fawrair, a'th ryfyg cynhennus? yr awr' hon yn fyng haledi mwyaf, a elli di ddywedyd dim yn fy mhlaid? o ni

elli

elli di na dwndrio y gelynion yma a'th eiriau bygythiol, nai hyweddu a'th ymadrodd têg? och och y mae 'r tafod; er ys deuddydd gwedi colli'r parabl, ni eill yn c'i angenoctid mwyaf, na galw am ychydig ddiod na dymuno ar gyfaill dynnu a'i fys y carnboer ſydd ym mron ei dagu.

Gan na fedrodd gael etto ddim gobaith o ymwared, fe ddywed wrth y traed: pa le yr ŷch chwi o draed; yr rhai gynt oeddeyh gyflym i redeg? a ellwch chwi fy nŵyn i vnlle allan or lle peryglus yma? y mae 'r traed euſys yn farw ſythion: oni ſymmudir hwy in ſymmudant. *yr enaid wrth y traed.*

Yno y try ef ei achwyn at y dwylaw: O ddwylaw, y rhai yn fynych a gawſoch ganmoliaeth am wrolaeth, mewn heddwch a rhyfel, y rhai yn fynych a fuoch yn ymddiffyn i mi fy hûn ac yn ddeſtruw i'm caſcion, ni bu arnaf fi erioed fwy caledi nac yr awrhon; y mae angau yn edrych yn gethin arnaf ac yn fy lladd, y mae 'r ellyllon vffernol, yn diſgwyl o amgylch fyngwely i'm difetha: cynnorthwywch yr awr'hon, neu fe ddarfu am danaf yn *yr en wrth y dwylaw.* *Diſa*

dra-

dragwyddol ; Och och y mae 'r dwylaw, mor weinion, ac yn crynu fal na allant estyn vn llwyaid o wlybanniaeth at y genau i gynnorthwyo natur ffeintiedig.

*Yr enaid* truan yn ei weled ei hun, wedi ei adael yn vnig ac yn llwyr ymddifad o gyfeillion, ymwared, a diddanwch : ac yn gwybod fod yn rhaid iddo, cyn pen awr fyned i'r tragwyddol boenau, â ddychwel at y galon (yr hon or holl aelodau yw 'r * cyntaf yn byw a'r olaf yn marw) oddyno y mae ef yn adrodd y galarnad toflurus hwn rhyngddo ac ef ei hun. O pa fâth ddiffeithbeth aflawen wyf? pa fodd y mae gofidiau angau im hamgylchu ? pa fodd y mae llifeiriant Belial yn fy nychrynu? pa fodd y darfu i faglau y farwolaeth gyntaf ar ail, fy nal ar vnwaith. Oh mor ddisymmwth y lladrattâodd angau attaf a'i gerddediad dirgeledig : mal yr haul, yr hwn nid yw y llygaid yn ei ganfod yn symmud, er bod ei symmudiad or cyflymmaf, o fel y mae angau yn dangos ei lid arnaf yn ddidrugaredd, fe ddarfu i Dduw 'r drugaredd fynghwbl wrthod, ar cythraul yr hwn nid

edvvŷn

edwŷn drugaredd ſy 'n diſgwyl am danaf, i'm cymmeryd, pa ſawl gwaith i'm rhybuddiwyd am y dydd galarus hwn, gan ffyddlon bregethwyr gair Duw, a minnau heb wneuthur ond gwawd o hynny? pa fudd ſydd i mi yn awr o'm balchder, a'm tŷ prydferthlân am gwiſcoedd gwychion? pa beth a ddaeth o feluſdra fy holl ddanteithion? yr holl olud bydol y bum ofalus iw caſglu, a roddwn yr awr hon 'am gydwybod dda, yr hwn yn ddiofal a ddarfu i mi ei eſceuluſo? pa lawenydd ſydd i mi yr awr hon am fy holl gnawdol ddigrifwch a aeth heibio, yn yr hwn y goſodais fy mhrif ddifyrrwch. nid oedd y chwantau cnawdol hynny, ond breuddwydion twyllodrus, ac yr awr'hon a aethant ymmaith megis cyſgod diflanedig, eithr meddwl am y poenau tragwyddol y rhai ſydd raid i mi eu goddef ynghyfair y byrr ddigrifwch hwnnw, ſydd i'm poeni cynddrwg ag vffern, cyn fy mynedi vffern. Etto yr ydwyf yn gwir gyfaddef: mai fal yr haeddais yr wyf yn cael, a myfi wedi fyngwneuthur ar lûn Duw, yn enaid rheſymmol, ac yn gallu dirnad fynghflywr fy hûn, a chael

cynnyg

cynnyg i mi drugaredd cyn fynyched, ac ymbil a myfi am ei dderbyn; yn gwrthod rhâd Duw ac yn dewis dilyn trachwantau pechod, o flaen crefydd dduwiol i ryngu bodd Duw: fy amser byrr a dreuliais yn ddiriaid, heb ystyried pa gyfrifon a fyddai raid i mi roi yn y dydd diwedd, ac yn awr holl fe-luswedd fy mywyd pe cesclid ynghyd, ni chystadlei y rhan leiaf om poenau presennol. y llawenydd a gefais nid oedd ond amserol, ac a ddarfu cyn i mi yn brin ond ei ddechreu fy nhrueni sydd dragwyddol a di-drangc. O na ddarfuasai i mi dreulio, yr amser a fwriais yn ofer yn chwarau cardiau, disiau, a charyddiaeth or cyffelyb helynt ddiffaith: yn darllain yr *Scrythyrau*, yn gwrando *pregethau*, *yn derbyn y cymmun*, yn *wylo am fy mhecodau*, *yn ymprydio*, *gwilio*, *a gweddio*, fal y gallaswn i yr awr hon ymadel mewn gobaith diogel o iechydwriaeth tragwyddol. O na bawn yn awr i ddechreu fy mywyd drachefn, oh fel y diystyrwn y byd hwn ai oferedd, mor bur ac mor sucheddol y byddwn fyw, mor fynych yr awn i'r Eglwys i sancteidio dydd yr

Arglvvydd.

Arglwydd. Ped fai Satan yn cynnyg i mi holl dryſor diddanwch a goruwchafiaeth y byd hwn, ni chai efe fyth fy hudo i anghofio y *goſidiau* hyn yn *yr awr ddiweddaf*. O gorphilyn llygredig a burgyn drewllyd, pa fodd y chwarâdd diafol hudoliaeth a nyni ein dau. pa fodd y darfu i ni waſanaethu a thwyllo bob vn y llall? a thynnu damnedigaeth greulon arnom ein deuvvedd? yr awrhon y mae fynghyflwr yn fwy greſynus, na 'r *anfail ſy 'n trigo yn y ffos*, o herwydd y mae yn rhaid i mi fyned i atteb ger bron brawdle cyfion farnwr nef a daiar: lle ni chaf fi neb i ddadleu droſof, ar diawliaid melldigedig yma, y rhai ſy gydnabyddus am holl ddrwg weithredoedd a fyddant i'm cyhuddo, ac ni allaf fy eſcuſodi fy hûn, y mae fyngalon fy hûn euſys yn fynghyhuddo, yr wyf yn ſicr o gael damnedigaeth o flaen yr orſeddfaingc, ag oddiyno fy lluſgo gan gythrauliaid vffernol, i'r caethiwed anrhaethadwy ar poenau didrangc *o'r tywyllwch eithaf*: lle ni chaf fi weled mor goleuni mwyach: y peth godidawg cyntaf a'r a wnaeth Duw. my fi yr hwn ym mhlaen llaw oeddwn yn

ymo-

ymogoneddu fy mod yn rhyddwas, ydwyf yr awr'hon gwedi fyngwarchâu tan grafangau Satan: fel y betris ddychrynllyd fewn sbagau y gwalch rheibus. Ym hâ le y caf lettŷ heno? a phwy a fydd yn gyfeillion i mi, o ddychryn i feddwl amdano, o ofid iw ystyried, *o melldithier y dydd* yn yr hwn im ganwyd, na fydded y dydd y *beichiogodd fy mam arnaf yn fendigedig, melldigedig fyddo'r dyn a ddywedodd wrth fy nhâd fe aned i ti fab,* ac a'i *cyssurodd, melldigedig a fyddo y gwr hwnnw am nas lladdafeifi: O na buasei grôth fy mam yn fêdd i mi, neu na buasai ei chrôth byth heb escor. O pa ham i daethym o'r grôth i ddioddef* yr ufferno! arteithiau hyn? ac fal hyn i ddibennu fy nyddiau trwy gywilydd tragwyddol. Melldigedig fo 'r dydd im cyssylltiwyd ar fâth gorph drygionus. O na allwn gael cymmaint ffafr, ac na chawn weled mo honot ti fyth mwyach, y mae ein ymadawiad ni yn dra chwerw ac yn alarus, eithr ein hail gyfarfod, ar y dydd ofnadwy hwnnw i dderbyn cyflawndra ein haeddedigol ddialedd, a fydd o lawer mwy echrys ac anoddefusach. Ond beth yr wyf iw feddwl fal

hyn,

hyn, wrth alarnad rhyhwyr, yn ceiſio oedi yr amſer? fe ddaeth yr awr ddiwaethaf: yr wyf yn clywed llinynnau y galon yn torri, y mae 'r tŷ *pridd hwn yn cwympo ar fy mhen*; nid oes yma na gobaith, nac ymwared, na lle i drigo yn hwy, y mae yn anghenrhaid i mi gychwyn. Tydi gerbyd budr: oh gerbyd budr, yn lle bydd wych, bydd waeth, my fi a'th adawaf: ac felly dan grynu, y mae fe yn dyfod allan, ac yn ddiſymmwth y mae 'r dreigiau vffernol yn ymaflyd ynddo, ac yn ei ddwyn yn nerthol * *torrenti ſimili* i'r pwll heb waelod, yr hwn ſy 'n lloſci o dân o brymſtân: lle yr ydis yn ei gadw mewn carchar poenedig, nes y byddo y dydd mawr ar farn gyffredynol. Yn ôl hyn y rhoir yr ſcerbwd drygſawr yn y bêdd, yn yr hon weithred gan mwyaf, y mae 'r meirw yn claddu y meirw: hynny yw, y rhai y dynt farwol mewn pechod â gladdant y rhai â fuont feirw am bechod. Ac fal hyn yr anuwiol ar bydol di ailgenedledig, yr hwn a wnaeth y ddaiar yn beradŵys iddo ei hûn, ei fol yn Dduw, a'i drachwant yn gyfraith: mal y darfu iddo ef yn ei fywyd

* *Mal llifcornant.*

hau gwagedd, felly yr a wrhon wedi ei farw, efe â feda drueni. Yn ei wynfyd efe a esceulusodd wasanaethu Duw, yn ei adfyd y mae Duw yn ei necau yntau o'i gymmorth, ar cythraul yr hwn y bu efe yn hir yn ei wasanaethu, sydd yr yn awr or diwedd yn talu iddo ei gyflog. Ffiaidd oedd ei fuchedd, melldigedig ei farwolaeth. Y cythraul a gafodd ei enaid, ar bêdd ei gorphilyn: yn yr hwn fybwll o lygredigaeth: ogof marwolaeth, daiardy galar: y gydawn y diffeithwas anheilwng, yn pydru a'i safn yn llawn pridd, ei fol yn llawn pryfed, a'i barwyden yn llawn dryglawr, yn disgwyl adcyfodiad ofnadwy, pryd yr adgyfyltir a'r enaid; fel megis y cyttunasant au gilydd i wneuthur pechod, felly y cânt gyd boenydio gyd a'i gilydd yn dragwyddol.

A hyn am drueni yr enaid a'r corph wrth farw, yr hyn nid yw ond melldith mewn *han*: Bellach y canlyn cyflawnder melldith: yr hyn yw trueni yr enaid ar corph yn ôl marwolaeth.

*My-*

*Myfyrdod am drueni dŷn yn ôl marwolaeth, yr hyn yw cyflawnder melldigedigrwydd.*

CYflawnder *melldigedigrwydd* (pan fyrthio ar greadur, ni allo oddef ei bwys) sydd yn ei wthio ef i lawr i ddyfnder *di-waelod digofaint anibennus yr oll alluog Dduw,* yr hwn a elwir damnedigaeth yffern, y cyflawn felldigedigrwydd hwn sydd, naill a'i neullduol, a'i cyffredinol. Luce 8. 28. ac 16. 23. Thes. 1. 10. Mat. 23. 33.

Neullduol ydyw, (yr hyn mewn mesur llai o gyflawndra) sydd yn discyn a'r yr enaid yn ddi atteg, hwy'n gyntaf ac yr ymwahano ef oddiwrth y corph. O blegid yn y munyd yr ymadawo, y mae'n bresennol yngwydd ac yngolwg Duw. Canys pan ballo ganddo ef weled a'i lygaid corphorol, gweled a wna mewn modd ysprydol: fel *Stephan,* yr hwn a *welodd ogoniant Duw, ac Iesu yn sefyll, ar ei ddeheulaw:* neu fal gwr a aned yn ddall, ac ni welsai ddim erioed, wedi cael ei olwg drwy [illegible] wrthiau, yn gweled yr haul, yr hwn ni welsai erioed or blaen. A [illegible]

dystiolaeth ei gydwybod ei hûn, y mae Crist y barnwr cyfion : yr hwn sy 'n gwybod pob peth, yn peri iddo (drwy ei anfeidrol allu) ddeall y gosp ar farn sydd ddyledus iddo am ei bechodau, a pha gyfryw fydd ei helynt dragwyddol. Ac yn y modd hyn yn sefyll yngolwg y nef, ac yn anghymmwys o herwydd ei aflendid i fyned i'r nef: yr ydis yn dywedyd ei fod yn sefyll ger bron gor-
Mat.5.34 seddfaingc Duw. Ac yno yn ddisym-
ar.23.21. mwth y mae 'rangylion drwg, y rhai
Lu.12.20 a ddaethant iw gyrchu, yn ei ddwyn
Luc.16. 22 23. bendramwnwgl i uffern ; lle y cedwir ef yngharchar mewn *tragwyddol boenau* beunyddiol, nes dyfod y *farn fawr* yn y dydd ofnadwy: eithr nid yn y dygn boenau eithaf, y rhai a dderbyn ef yn gwbl yn y dydd diwaethaf. *Cyffredinol*
Dadeu. *gyflawnder malldith* sydd mewn mesur
\ .18. helaethach o gyflawndra, yr hwn a ddi-
Dan.12. scyn ar y ddau sef, enaid â chorph,
2. Ioa.5.28 pryd y dygir (drwy alluog nerth Crist penbarnwr nef a daiar) un o uffern, a'r llall allan or bedd, megis carcharorion, i dderbyn barn ofnadwy yn ôl eu drwg weithredoedd. Pa fodd y bydd y *gorthodedig*, pan fyddo 'r môr yn rhuo;

a'r

a'r ddaiar yn crynu, a nerth y nefoedd yn ſiglo, gan ddychryndod (oddiwrth yr arŵyddion nefol tû ac at ddiwedd y byd) yn amhwyllo : Oh pa fâth gyfarch alarus fydd rhwng yr enaid colledig a'r corph, wrth eu hail gyſylltiad yn y dydd dychrynadwy. O ſugnedd pechod, a mygn o fudreddi (medd yr enaid wrth ei gorph, pa fodd yr ydis yn fyngortrechu i fyned drachefn ith fewn di?nid megis i gyfannedd i drigo ond megis i garchar i benydio ynghyd, O fel yr wyt yn ymddangos yn fyngolwg fel merch *Iephte* i'm hanguriol gyſtudd. O Dduw na buaſit ti byth bythol yn pydru yn y bedd, fal nath welſwn byth mwyach. O pa wradwydd a ddygwn ni ynghyd, wrth glywed adrodd ar oſteg o flaen Duw, dynion ac Angelion, yr holl ddirgel bechodau y rhai a wnaethom ynghyd: a gollias i y nef, o wir gariad ar y fâth furgyn drewllyd ? a'i ty di yw 'r cnawd yn ol trachwantau yr hwn, yr ymroais i wneuthur cymmaint o odineb ? O fol gwrthun pa fodd y bum mor ffôl ath wneuthur di yn Dduw i mi ? O mor wallgofus oeddwn redeg

Mat. 24. 29.

*gruddfan yr enaid gwrthodedig wrth y corph a'r yr ail gyfarfod.*

yn wysg fy mhen ir cystuddiau yma o *boenau annibennus*, er mwyn meddiannu llawenydd munudiol. *Chwychwi greigiau a mynyddoedd pa ham yr ych ynnedio fal hyrddod. Psal.* 114. 4. *ac na chwympwch arnaf i'm cuddio rhag wyneb yr hwn sydd yn dyfod i eisteddd a'r yr orseiddfaingc accw? O blegid y mae dydd mawr ei ddigofaint ef wedi dyfod a phwy a ddichon sefyll. Datc.* 6. 16. 17. O ddaiar pa ham y cryni, fal hyn wrth weled yr Arglwydd, ac nad agori dy safn i'm llyngcu i wared fel y gwnaethost â *Chorah*, ac mal na'm gwelid mwy.

O Ellyllon damnedig, mi a fynnwn pe gallech yn ddioed fy rhwygo i yn ddrylliau, dan ammod y drylliech fi on i'm gwnelid yn ddiddim. Eithr tra fych di, fal hyn yn ymofidio yn ofer, dros dy drueni, yr Angelion a'th lusgant di ymmaith yn ffyrnig, o ymmyl dy fedd i ryw le cyfagos at frowdle Crist, yn yr hwn le tra fych di fal gafr felldigedig, wedi dy ddidôli i sefyll i wared ar y ddaiar, megis ar law asswy y barnwr, fe gyfrif Crist ar gyhoedd yr holl ddoniau a dywalltodd arnat, ar holl arteithiau a ddioddefodd trosot, ar holl

Mat. 24. 29.
Luc 21. 24, 25.

holl weithredoedd da,a *adewaist ditbau heb wneuthur*, a'r holl ffieiddra gwahar-ddedig a wnaethoft yn ei erbyn ef a'i gyfreithiau.

Dy gydwybod oddifewn, (yn wa-eth na mil o dystion) a'th cyhudda: y cythrauliaid,y rhai a'th ddenodd di ith holl ddireidi drygionus, a fyddant o'r naill tu efo ath cydwybod, yn dwyn tystiolaeth i'th erbyn: ar y tu arall y faif y Seintiau bendigedig a'r Angelion i gydbrofi cyfiawnder Crist gan ffie-iddio creadur mor aflan. Oth ol: fsvn echryslawn aneirif gyfeillion colledig, â damnedigion gresynol, yn aros am dy gyfeillach Oth flaen di yr holl fyd yn llofci yn fflam o dân, goruwch dy ben di, y bydd y Barnwr llawnddig a chofp haeddedigol yn barod i adrodd y farn ith erbyn. Oddi tanat genau gwreichionllyd y gauffwrn ddiwaelod yn agored i'th ddebyn. Yn y cyflryw gresynol hwn, fe fydd amhoffibl itti ymgadw, o blegit dan yr ammod hon-no, ti a fynnit pe cwympei y graig *vc-haf* ar dy *vchaf*, ymddangos a fydd anefcorol itti, ac etto y mae 'n rhaid i't fefyll allan gyd a'r colledigion eraill i Dad.6. 16,17.

 dderbyn

dderbyn y farn hon arnad ſef. *Ewch oddiwrthif felldigedig i'r tân tragwyddol, yr hwn a ddarparwyd i ddiafol ag iw angelion.*

*Ewh oddiwrthif*] dyna neullduaeth, oddiwrh bob gorfoledd a dedwyddwch:

*Chwi felldigedig* ] Dy yna yr yſcymundod creulondd wys.

*Ir tan*] dyna grelonrhwydd y boen.

*Tragwyddol*] dyna barhâd y poenedigaeth.

*A ddarparwyd i ddiawl ac iw angelion*] dyna 'r penyd vffernol, a'r penydwyr. O farn ofnadwy rhag yr hon ni eill y rhai damnedig mor diangc : yr hon pan adrodder ; ni ellir byth ei throi yn ei hôl : yn erbyn yr hon ni ellir bwrw eſcuſodion:oddiwrth yr hon ni ellir myned i fan arall i * appelio. Felli nid oes i'r rhai colledig, ddim i ddigwyddo : ond poenau vffernol, y rhai a fydd heb eſmwythau 'r penyd, na dibennu 'r amſer. Oddiwrth yr orſeddfaingc hon, rhaid ir angelion dy daflu di ( ynghyd ar holl gythreuliaid damnedig ar gwrthodedigion i'r pwll heb waelod, *ar tywyllwch eithaf*, yr hwn *ſy 'n llosci o dân a brwmſtan yn dragwyddol. I'r* fan hon,

* iachwyn

Dat 21.8

cyn

cyn gynted ac ith teflir ti gei glywed y fâth alar, wylofain,ac ochencidiau, nad oedd gwaedd Corah, Dathan, ac Abiram.pryd eu llyngcodd y ddaiar hwynt, ddim tebyg ir vdfa yma: na-gê wrth glywed yr oernad yma, ti a debygit dy fod yn vffern cyn dy fod yno.

Yn yr hwn bwll heb waelod, gwedi vnwaith dy fwrw, ti a fyddi yn syrthio bob amser ac er hynny byth heb gael gwaelod: ac ynddo y byddi byth yn cwynfan heb neb a dosturio wrthit: ti a wyli yn ddibaid gan angerdd poenau y tân, ac eito dy ddannedd a * grŷn * rhag maint yr ocrfel: ti a wyli wrth feddwl fod dy drueni yn ddi-ymwared: ac a wyli wrth feddwl na wna edifairwch ddim lleshâd: Ti a wyli wrth feddwl, pa wedd am gysgodau o ddifyrrwch byrr, y darfu i'r syrthio i ofidiau poenau tragwyddol: ti a wyli wrth weled na eill wylofain y chwaith itti ronyn lleshâd: iê ac yn wylo ti a wyli ychwaneg o ddagrau, nac sydd o ddwfr yn y môr, oblegid y mae dwfr y môr yn beth tersynol, eithr wylofain y gwrthodedig a fydd an-hersynol.

Yno y caiff dy lygaid ſerchogaidd eu cyſtuddio wrth edrych a'r yſprydion erchyll: dy gluſtiau moethuſglyw eu dychrynu gan oernad y cythrauliaid yn vdo: a rhingcian dannedd y gwrthodedigion poenedig: dy drwyn meindlws a gaiff ei lenwi a drygſawyr drewedig frwmſtan: dy archwaeth dewiſol a boenir â newyn anguriol, dy gêg feddw a ſŷch gan ſyched anniffoddadwy: dy feddwl a gyſtuddir wrth gofio mai o ſerch i ddifyrrwch amſerol, yr hwn ſy 'n diflannu cyn blodeuo, y buoſt mor ynfyd, a cholli y llawenydd nefol, a rhedeg ynwyſc dy ben ir poenau vffernol, y rhai a barhânt tu hwnt i dragwyddoldeb. Dy gydwybod yn oeſtadol a'th frâth di pan fyddyliych, mor fynych y darfu i Griſt trwy ei bregethwyr gynnig itti faddeuant am dy bechodau, a chynnig teyrnas nefoedd i ti yn rhwydd ac yn rhâd, os ty di a wnait' gymaint a chredu ac edifarhau: ac mor hawdd y gallyſit ti dderbyn trugaredd yn y dyddiau hynny; mor agos a fuoſt lawer gwaith i edifarhau, ac etto fe darfu iti gynnwys i'r cythraul, a'r byd dy gadw yn anedifeirwch

diſe-

diferiol, ac yn awr fal y mae dydd *y drugaredd* wedi myned heibio ac ni lewyrcha byth drachefn.

O fal y bydd dy ddealltwrieth ar bigau dûr, wrth ystyried, ddarfod i ti o chwant i gyfoeth darfodedig, golli y trysor tragwyddol, a chyfnewid dedwyddwch nef am drueni vfsern. Lle bydd pob rhan o'th gorph (heb na thorr na thrai a'r boenau) yn cael yn vn ffunyd eu penydio yn dragywydd.

Yn y penydiau vffernol yma, fe a'th ddifuddir yn dragwyddol ô olwg bendigedig yr Arglwydd, yn yr hyn y mae gwir ddawn a bywyd yr enaid yn sefyll. Ni chei di fyth weled goleuni, nac vn golwg ar lawenydd, ond gorwedd *mewn tragywyddol boenau y tywyllwch eithaf.* lle na bydd trefn ond dychrynadod; na llais ond llais cablwyr a rhai yn vdo, na sŵn ond sŵn y poenau, ar penydwyr, na chymdeithas, ond gyd â diafol ai angelyon, y rhai gan eu bod mewn penyd eu hunain, ni allant gael dim llonyddwch ond porthi eu cynddaredd yn dy bennydio di. Lle bydd poenedigaeth heb dosturi, trueni heb

dru-

drugaredd, alaeth heb gymmorth, gweiddi heb ddiſdewi, aflonydd heb feſur, cyſtudd heb eſmwythdra, lle *mae y pryf heb farw ar tân heb ddiffoddi*: lle bydd digofaiut Duw yn ymaflyd a'r dy enaid a'th gorph, fal y fflam dân a'r y pŷg a'r brwmſtan: yn yr hon ti a gei loſci yn oeſtadol, a byth heb ddarfod, marw beunydd, a byth heb farw, beunydd yn ymrwyſo mewn gofidiau angau, a byth heb gael gwared o honynt, nac adnabod diben a'r dy boenau, felly pan ddarfyddo i ti eu dioddef hwynt riſedi mil o flynyddoedd, am bob mil o welltglas ſydd a'r y ddaiar neu dywod ynglan y môr, nid wyt ti o ronyn nês i gael diben a'r dy boenau, na 'r awr gyntaf i'th taflwyd iddynt, iê y maent cyn belled oddiwrth ddiweddu nad ŷnt hwy ond dechreu beunydd. Ond pe bai yn ôl mîl filiwn o flynyddoedd obaith y cai dy enaid colledig ddibendod a'r y penydiau hyn, ê fyddai hynny beth cyſſur, feddylied fod ryw amſer y diwedd i ddyfod, eithr cyn ſynyched ac y byddo 'r meddwl yn cofio y gair yma *byth*,) dyna vffern arall ynghanol vffern.

Y meddylfryd hwn a bair i'r colledig weiddi οὐαὶ οὐαὶ cymaint a phe dywedent οὐκ ἀεὶ οὐκ ἀεὶ. O Arglwydd nid byth, nid byth eu cydwybod a'i hettyb fal y gareg lefain ἀεὶ ἀεὶ byth byth, oddyma y cyfyd eu toſtur οὐαὶ, ſef, gwae ac ôch yn dragywydd.

Dyma yr ail farwolaeth, ſef yr vnion gyffredinol gyflawnder o'r holl felldithrwydd a threueni: yr hyn ſydd raid i'r holl gwrthodedigion colledig i ddioddef, tra fyddo Duw a'i ſeintiau yn gyfrannog o ogoniant a dedwyddwch nefol yn dragywydd.

Hyn yma am drueni dŷn ynghyflwr llygredigaeth, oddieithr ei adnewyddu drwy râs Ynghriſt.

Yn ôl hyn i canlyn gwybodaeth am fywyd dŷn, o herwydd grâdd ei adgenedliad trwy Griſt.

## *Myfyrdod am gyflwr Criſtion gwedi ei gymmodi a Duw ynghriſt.*

YR awrhon gadewch y ni weled, mor ddedwydd yw y gŵr duwiol ynghriſt. Y gŵr daiarol yr hwn ſydd a'i natur lygredig gwedi ei adne-

newyddu trwy râs ynghrist, ac a wnaethpwyd yn greadur newydd: sydd fendigedig o herwydd tri pheth. Yn gyntaf, yn ei fywyd. Yn ail, yn ei farwolaeth. Yn drydydd yn ôl ei farwolaeth.

1. Ei ddedwyddwch yn ei fywyd, nid yw ond mewn rhan, hynny a gynhwysir mewn saith o bethau:

Yn gyntaf: O ran ei fod wedi ei ymddwyn trwy 'r ysbryd, ynghrôth ei fam sef yr eglwys, ac fe â aned, nid o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac yn
Ioa.3.8. ôl ewyllys dŷn eithr o Dduw yr hwn
Gal.4 6,7 Ynghrist ydyw ei dâd ef: fel y mae llun Duw ei dâd, yn adnewyddu ynddo ef ar gynnydd fwyfwy beunyddiol.

2. Yn ail: efe a gafas yn rhâd ac yn gyflawn (er mwyn haddedigaethau dioddefaint Crist) faddau iddo ei holl bechodau, gwreiddiol a gweithredol, ar euogrwydd ar cospedigaeth a ddigwydd iddynt; a holl gyfiawnder Crist, â gyfrifir yn rhwydd ac yn gyflawn iddo: ac felly y mae Duw wedi vno atto: ac yn ei weled yn ddifai ac vnion yn ei olwg i fod yn vno'i gyfyif.

3. Yn

3. Yn drydydd, y mae efe gwedi ei ryddhau oddiwrth gaethiwed Satan, a'i wneuthur yn frawd i Grist ac yn gyd-etifedd i feddiannu teyrnas nefoedd: yn ysprydol frenin ac offeiriad, i offrymmu aberthau ysprydol i Dduw trwy Iesu Crist.

4. Yn bedwerydd, y mae Duw yn ei arbed ef, fel yr arbed dŷn ei fâb ei hûn a fai yn ei wasanaethu, ar arbed yma sy 'n sefyll fal hyn.

1. Nid yw Duw yn dal sulw ar bob bai, eithr yn cyd-ddwyn ai wendid: Exod. 34.6 7. Ni theifl Tâd carcdig ei fab allan ir drws yn ei glefyd.

2. Nid yw yn ei gosbi pan ei ceryddo, yn ol ei haeddedigaeth, Psalm. 103. 10.

3. Y mae ef yn ei *geryddu* ef yn *gymmedrol*, pan weio nad oes dim arall a eill beri iddo ef wellhau ei fuchedd, 2. Sam. 7 14, 15. 1. Cor. 11. 32.

4. Y mae ef yn *rasusol yn derbyn* ei ewyllysgarwch, er bod ei vfudd-dod yn amherffaith: ac felly yn derbyn amcan ei feddwl, o flaen teilyngdod ei weithred, 2. Cor. 8. 12.

5. Y mae efe yn troi y melldithiau

a hae-

a haeddodd ef yn geryddon tadol: ie pob peth: gofidiau y bywyd, marwolaeth, ie hyd yn oed ei bechodau, yn ddaioni iddo.

Y mae Duw yn rhoddi iddo ef ei ysbryd glân, yr hwn sydd.

1. Yn ei *sancteiddio* â rhadau oddiallan, hyd oni byddo fwyfwy yn marw i bechod, ac yn byw i gyfiawnder.

2. Yn sicrhau iddo ei fabwysiad: sef, ei fod ef trwy râs yn blentyn i Dduw.

3. Yn ei *gyssuro* ef, i ddyfod mewn hyfdra ac ymddiriaid ger bron Duw.

4. * A wneiff iddo yn ddiofn ddywedyd *Abba Dâd.*

5. A dywallt iw galon ef ddawn *gweddi sanctieiddedig.*

6. Yn ei roi i goelio ei fod efe ai weddiau yn gymeradwy, ac yn cael ei wrando gan Dduw er mwyn Crist ei gyfryngwr.

7. Yn ei lenwi ef:
- 1. A *heddwch* cydwybod:
- 2. A *llawenydd* yn yr Yspryd glân: iw cyffelybu ir hwn, nid yw pob llawenydd daiarol ond gwael ac afer yn ei olwg ef.

6. Y

6. Y mae ef yn cael ei lywodraeth o newydd ar y creaduriaid: yr hyn â gollasai wrth gwymp *Adda:* ac o hynny y mae iddo lawn rydd-did i fwynhau yr holl bethau nis gwaharddodd Duw, mal y gallo' eu trîn â chydwybod dda. O blegit y mae iddo sicrwydd diogel yn y bywyd hwn, o wir gyfiawnder yn yr holl bethau yn y nef, ac ar y ddaiar. Ac efe a geiff gyflawn a heddychlawn feddiant o honynt yn y bywyd sydd i ddyfod.

O hyn y digwydd nad yw 'r holl rai gwrthodedig ond trawsgeidwadau ar y cwbl oll maent yn eu feddu, o ran nid oes iddynt gyfannedd *ei heiddaw eu hunain ond uffern.*

7. Y mae iddo ef sicrwydd o dadol ofal Duw, iw ymddiffyn ddydd a nos: yr hwn ofal sydd yn sefyll yn y tri pheth hyn, sef.

Yn gyntaf, yn darparu iddo holl angenrheidiau ei enaid ai gorph, yn y byd hwn ac yn y byd a ddaw: fel y bô efe yn sicer, naill a'i i gael ei gyfraid, neu i gael dioddefgarwch i fod yn fodlon ir hyn sydd ganddo.

Yn ail, am fod Duw yn rhoi iw

*Angelion*

Psal. 34. 9. 10. *Angelion* sanctaidd orchymmyn megis iw *wemdogion*, i wilio arno et yn ddyfal, er mwyn ei ddaioni, ie mewn perigl i *werssyllu* o'i *amgylch*, oran diogelwch iddo ym mha le bynnac y bytho. Ie cymmorth Duw a'i hymddiffyn ef, mal *cummwl liw dydd, ac fal colofn o dân liw nos*, a'i ragluniaeth a'i ceidw oddi amgylch rhag gallu y cythraul.

Yn drydydd, am fod golwg yr Arglwydd arno, a'i glustiau yn oiddiadol yn barod i weled ei gyflwr, ac yn ei amser nodedig, iw waredu ef allan o'i holl orthrymderau.

Hyd yn hyn am fendigedig gyflwr y duwiol, ar dŷn adgenedledig yn y bywyd yma: bellach am ei fendigedig stát yn ei farwolaeth.

*Ystyriaeth am wynfydedig gyflwr y y dŷn adgenedledig yn ei farwolaeth.*

Phil. 3. 20. PAn ddanfono Duw angeu, megis ei gennad i gyrchu y dŷn adgenedledig, y mae ef yn dyfod iw gyfarfod hanner y ffordd ir *nefoedd*; canys y mae ei serch a'i ymarweddiad yno o'i flaen ef,

ef, nid yw Angeu na dieithrol nac ofnadwy iddo. Nid yw ddieithrol, o blegid yr oedd efe yn marw beunydd, nac ofnadwy, o ran tra fu fyw, marw ydoedd, a'i fywyd a guddiwyd gyd â Christ y Nuw. Marw gan hynny iddo ef, nid yw ddim amgen onid gorphywyso oddiwrth ei boen yn y bŷd, a mynecl adref i dŷ ei dad, i ddinas *y Duw byw, i Ierusalem nefol, i bluth myrddiwn o Angelion, i'r gynulleidfa gyffredinol, i Eglwys y cyntafenedig, at Dduw barnwr pawb oll, at yspr ydion y rhai vnion a berffeithiwyd, at Iesu Cyfryngwr y Testament newydd.* Tra fo ei gorph yn glaf, y mae ei feddwl yn iach, o herwydd bod Duw yn gwneuthur ei wely oll yn ei glefyd, ac yn ei gryfhau ef â ffydd ac a dioddefgarwch ar wely ei drilltwch, a phan fyddo yn cychwyn mynd i ffordd yr holl fyd; y mae ef (mal *Iacob* *Moses*, a *Iosuah*) yn rhoi cyngor ac athrawiaeth dduwiol iw blant a'i gyfneseifiaid, i wasanaethu y gwir Dduw, a'i anrhydeddu yn vnion holl ddyddiau eu heinioes. Ei enaid bendigedig, ni anadla allan ddim ond bendithion, ar cyfryw ymadroddion a

fo

fo 'n tyfu, oddiwrth yſpryd ſanctei-
ddedig. Megis y mae ei ddŷn ef o ddi-
allan yn gwanhau, felly y mae ei ddŷn
ef oddimewn yn cynnyddu, ac yn cryf-
hau. Pan fo ymadrodd ei dafod ef yn
pallu, y bydd ocheneidiau ei galon yn
llefaru yn vwch at Dduw. Pan fo golwg
y llygaid yn tywyllu, y mae 'r Yſpryd
glân yn ei olcuo ef oddimewn a helae-
thrwydd ô oleuni yſprydol Nid yw
ei enaid yn ofnus, eithr yn hyderus i fy-
ned allan o'r corph, ac i drigo gyd a'r
Arglwydd. Y mae ef yn ochneidio mal
*Paul: Cupio diſſolui. ſef: yr wyf yn deiſyf fy nattod a bod gyd â Chriſt. ac megis Dafydd: fel y ſycheda yr hydd am ddyfrneint, felly y ſycheda fy enaid am danat ti o Dduw: y mae fy enaid yn ſychedu am Dduw, am y Duw byw, Pa amſer y caf ddyfod i ymddangos ger bron Duw?* y mae ef yn gweddio gyd
a'r Seintiau, *pa hyd o Arglwydd yr hwn wyt ſainctaidd ac vnion? Tyred arglwydd Ieſu tyred chwyppyn* a phan
ddêl amſer tyrfynedig ei ymddattodi-
ad, pryd ei bo yn gwybod ei fod yn
myned at ei Dad a'i Waredydd: mewn
heddwch cydwybod a gobaith ſicr o
gael

gael maddeuant o'i holl bechodau trwy waed yr oen, y mae ef yn canu mal yr hên *Simeon* ſendigedig, ei *Nunc dimittis, Yr awrhon Arglwydd y gollyngi dy was mewn tanghneddyf yn ol dy air, &c.* ac a ddyru ei enaid megis a'i ddwylaw ei, yn nwylaw ei Dad nefol, gan ddwedyd gyd â *Dafydd: i'th ddwylaw di o Dâd yr wyf yn gorchymmyn fy enaid, o blegit ty di am gwaredaiſt o Arglwydd Dduw 'r gwirionedd, a chan ddywedyd gyda'g* Stephen: *Arglwydd Iesu derbyn fy yſpryd*; ac yn gyntted ac y rhoddodd ef ei yſpryd bendigedig i fynu: yn ebrwydd y mae 'r Angelion ſanctaidd (y rhai oeddynt yn gwilio arno ef o'i enedigaeth hyd ei farwolaeth) yn dwyn ei enaid i'r nef, fel y dygaſant enaid *Lazarus* i fonwes *Abraham*, yr hon yw Teyrnas Nefoedd, i fyned i'r hon y mae Angelion da a gweithredoedd da yn vnig yn cydymdeithio a'r enaid: y naill i roi i fynu y peth orchymmynwyd iddynt ar i llall gael ei gwobr.

Y corph mewn amſer cyfaddas megis Teml ſanctaidd yr Yſpryd glân, âelod i Griſt, pridwerth gwaed Mâb Duw,

Duw, a esyd ei gydfrodyr yn barchedig i huno yn ei fêdd, megis ym mêdd Crist, mewn gobaith sicr o gael deffroi yn nydd adcyfodiad y cyfion, i fod efo a'r enaid yn gyfrannog or bywyd a'r gogoniant tragwyddol. Ac o blegid hyn, fe elwir yn fendigedig nid yn vnig eneidiau y ffyddlonniaid eithr ei *cyrph* hefyd.

Hyn yma am y fendith sydd yn descyn ar enaid a chorph y dŷn adgenedledig, yn ei farwolaeth. Gadewch i ni weled ym mhellach pa ryw fendith sydd i ddilyn e'i enaid a'i gorph yn ôl ei farwolaeth.

*Myfyrdod am gyflwr bendigedig y dŷn adgenedledig yn ol ei farwolaeth.*

Y Cyflwr yma sydd a thair grâdd arno:

Yn gyntaf o ddydd marwolaeth, hyd yr *adcyfodiad*,

Yn ail, o'r adcyfodiad, hyd on i adrodder *y farn.*

Yn drydydd, yn ol y farn: i barhau yn *dragywydd.*

Cyn gynted ac y darfyddo i'r dŷn ad-

adgenedledig roddi ei enaid i fynu i grist, y mae 'r Angelion sanctaidd yn ei dderbyn iw cadwraeth, ac yn ddi atteg, yn ei ddwyn i'r nef; ac yno yn ei roi yn anrheg gar bron Crist: lle yr ydis yn ei goroni, *a choron cyfiawnder a gogoniant*; nid yr hon a haeddodd o herwydd ei weithredoedd da, ond yr hon a addawodd Duw o'i ddaioni haelionus i'r rhai oll, o wir gariad arno, yn y byd hwn a'i gwasanaetho ef, ac a geisio ei ogoniant. On pa ryw lawenydd a fydd hynny ith enaid ti? (yr hwn ni bu arferedig o weled dim ond trueni pechaduriaid) gael gweled wyneb brenin y gogoniant: lè gweled Crist i'th groesawu, cyn gynted ac i'th ddygir di o'i flaen gan ei Angelion sanctaidd: a'i groesaw yw hyn: *euge bone serue*: sef yw hynny. da gwnaethost, croesaw was da a ffyddlon, &c. dos i mewn i lawenydd, dy Feistr: i phâ ryw orfoledd a fydd itti weled mil miliwn o *Cerubiaid*, *Seraphiaid*, *Angelion*, *Gorsedd-feingciau*, *Arglwyddiaethau*, *Tywysogaethau*, *Galluogrwydd*? Yr holl Patriarcirch sancteiddiol, Prophwydi, Offeiriaid, Apostolion, Merthyron, Cyfaddefwyr: a holl erydiau

2 Tim. 4. 8.
Dad. 2. 10.

diau dy gymdeithion, cyfnesceifiaid, gwyr, gwragedd, a phlant, ar cwbl oll o Seintiau Dnw, y rhai a ymadawsant o'th flaen di mewn gwir ffydd Grist, yn sefyll ger bron gorseddfaingc Duw mewn anrhydedd a gogoniant? Os oedd brenhines *Sheba*, wrth weled rhwysc ac vrdduniant Salomon: o wir syndod yn dwedyd: *dedwydd yw dy wŷr, dedwŷdd yw dy weision, y rhai sydd yn sefyll oth flaen, i glywed dy ddoethineb:* pa lawenychu a wna dy enaid ti, wrth ei weled ei hûn wedi cael ei gynnwysi fod ym mhlith y gynulleidfa ogoneddus yma, i edrych ar fendigedig wyneb Crist, i ddirnad nerth ei ddoethineb. Pa ryw anrhydedd a fydd i't wrth weled cynifer mil o filoedd sydd yno, yn dy groe sawu di iw nefol gymdeithas. Canys fel yr oeddynt oll yn llawenychu pan droist i edifarhau, felly yr awrhon y maent hwy yn llawenach wrth weled dy goroni, ac wrth dy ganfodd yn derbyn *y goron* yr hon oedd ynghadw itti oni ddelit. Oblegid yno y mae Coron Merthyrdod iw gosod am ben y Merthyr a ddioddefodd arteithiau er mwyn Efengyl Crist, Coron Morwyndod ar

ben

ben y Forwyn a orchfygodd Drachwant, Coron Duwioldeb a Diweirdeb, ar ben y rhai oedd yn gogoneddu Crist yn vnion, ac yn cadw eu priodas yn ddi-halog: Coron gweithredoedd da, ar ben rhoddwyr, elusenau, y rhai a fuant syber wrth dlôdion, coron y gogoniant dilygredig, ar ben y bigeiliad, y rhai trwy bregethu ac athrawiaethu 'n dda, a droesant lawer enaid o lygredigaeth pechod i ogoneddu Duw mewn sancteiddrwydd buchedd. Pwy a ddichon adrodd yn helaeth faint gorfoledd y llu nefol yma, wrth dy goroni di â gogoniant, a'th drwsiadu mewn disclaer wisc cyfiawnder, ac wrth weled Palmwydden buddugoliaeth yn dy law? o wyched fydd ganddynt ddarfodd i ti ddiangc rhag holl drueni'r bŷd, rhwydau y cythraul, a phoenau vffern, a chael o honot yn lle hynny orphywysfa a dedwyddwch yn dragywydd? O blegid y mae pawb yno, yn ym hyfrydu cymmaint mewn happusrwydd vn arall, ac yn ei happusrwydd ei hûn, a gweled vn arall yn cael ei garu gen Dduw cystal a'i weled e'i hûn. I'e y mae ganddynt gynnifer o amryw fath ar la-

wenydd, ac sydd iddynt o gyfeillion i gydlawenhau. Ac yn y gwynfydedig ar bendigedig gyfiwr yma, y mae yr enaid yn gorphywys gyd â Christ yn y nef, hyd ddydd yr adcyfodiad: pan gyflawner nifer cydwasanaethwyr, a chydfrodyr vffern, yr hyn y mae 'r Arglwydd yn ei gyfrif yn amser byrr.

Yr ail rádd o ddedwyddwch dŷn yn ôl marwolaeth sydd o amser yr adcyfodiad; hyd oni adrodder y farn ddiweddaf: o herwydd ar y dydd olaf,

1. Yr wybrennau defnyddiol, y ddaiar ac oll sydd o'i mewn, a ymddettyd ac a burir â thân.

2 Petr 3.
1 Cor. 15
1. Thes. 4.
Ioa. 5. 28.
Ezec. 37.

2. A'r sain yr vdcorn diweddaf, neu ar lais Crist yr Archangel: yr vnrhyw gyrph ac â oedd gan yr etholedigion or blaen, (er eu bod wedi eu troi yn bridd ac yn ddaiaren) a gyfyd drachefn. Ac yn yr vn munud, yr ail dychwel enaid pob rhyw ddŷn iw gorph ei hûn, trwy rinwedd adcyfodiad Crist eu pen: ac a adfywheir, ac a gyfodir ou beddau, megis ped faent yn deffroi yn eu gwelau, a phâ wedd bynnac y darfu i erlidwyr creulon ddryllio eu cyrph hwynt yn ddarnau, neu eu difa yn vlw: etto fe

gaiff

gaiff yr Etholedig weled fod yn wir yn y dydd hwnnw: *na syrthiodd blewyn o'u pen hwynt.*

3. Hwynt hwy a ddeuant allan o'i beddau pob vn o honynt, megis *Ioseph* allan o garchar, neu *Daniel* allan o ffau y llewod, neu *Ionah* allan o fol y morfil.

4. Gwedi bywhau mal hyn holl gyrph yr etholedigion hwy a godant yn y cyfryw berffeithrwydd naturiaeth ac y buasent yn ôl eu hardymêrwch anianol, o buasent di anafus: ac yn y cyfryw oedran, ac y bydd dŷn grymusaf ynghylch ei dair a'r ddêg a'r higain oed * pob vn yn ei ryw priodol ei hun, yr hyn beth y mae 'r dyscawdwyr yn tybied fod yr Apostol yn pennodi atto yn y geiriau hyn: *Oni ddelom ni ei gyd oll yn ddŷn perffaith yn mesur oedran cyflawnder Crist.* Pa anaf bynnag oedd or blaen ar y corph, megis dallineb, neu gloffni, neu wargrymni, y pryd hynny fe dynnir ymaith. Ni bydd *Iacob* yn gloff, nac *Isaac* yn ddall, na *Leah* yn llygadwyr, na *Mephiboseth* yn gloff ef-rydd: Canys, gan na fynnai *Dafydd* na dall na chloffi ddyfod iw dŷ, llai o lawer a fyn Crist o ddallineb a chloffni i aros

* *Tertul. de resur.*

Eph 4.13

yn ei *gyfannedd nefol.* Fe wnaeth Criſt yr holl ddeillion i weled, y mudiaid i lefaru, y byddariaid i glywed, a'r cloffion i rodio, &c, ar â ddaeth atto ef i ofyn ei râs ar y ddaiar, mwy o lawer yr iachâ efe holl amherffeithrwydd y rhai a gymmero ef yn gyfrannogion o'i *ogoniant yn y nefoedd. Ym mhlith y llwythau hynny, nid oes vn egwan, y dŷn cloff a neidia fel yr hydd, a thafod y dŷn mûd a gân.* Ac y mae 'n ddigon hysbyſol wrth weled ddarfod i Dduw greu ein rhieni cyntaf ni, nid yn fechgyn nac yn henaf gwyr, ond ynghanol perffeithrwydd eu hoedran: y bydd yr ἀνάπλασις ſef, y creadwriaeth newydd gwedi marwolaeth, ym mhob modd yn brffeithiach na'r πλάσις ſef y deunydddiad cyntaf ar ddŷn, or hwn y cwympodd ef i gyflwr *marwol.* Ac nid yw debygol, y gall mebyd, yr hwn nid yw ond amherffeithrwydd, a henaint yr hwn ſydd lygrydigaeth, gydhuno yn dda â grâdd corph perffaith gogoneddus.

5. Cyrph yr etholedigion wedi eu cyfodi mal hyn a gânt bedair tra rhagorol goruwch naturiol rinweddau, o blegid:

1. Fe a'i cyfodir hwy mewn nerth trwy 'r hwn y gallant fod byth yn gadwedig, rhag pob diffyg, a gwendid, ac yn gallu parhau heb arfer o fwyd, diod, neu gwsc, a'r fâth gynhaliaeth.

2. Mewn anllygredigaeth trwy 'r hyn ni byddant byth digwyddedig i vnrhyw fâth a'r amheiffeithrwydd, anaf, clefyd, neu farwolaeth.

3. Mewn gogoniant trwy 'r hwn y discleiria eu cyrph mor eglur ar haul yn y ffurfafen, a chewdi eu gwneuthyd mor amlygol: eu eneidiau a oleua trwyddynt yn fwy gogoneddus o lawer nai cyrph. Or hwn ogoniant yr ymddanghosodd tri arwyddlewyrch: y cyntaf *yn wyneb Moeses:* yr ail yn y *cyfnewidiad* ar ddull Crist yn y mynydd, ar trydydd *yn wyneprÿd Stephen.* Tri arwyddocâd diogel o ogoniaynt ein cyrph a'r y dydd gogoneddus hwnnw. Yno y rhydd *Dafydd* heibio ei wisc bigeilaidd, ac a wisc am dano drwsiad mab y brenin *Iosias*, nid *Ionathan.* Yno pob mordecai cywir, yr hwn a alarodd dan sachliain cnawd llygredig, a gaiff ei drwsiadu a harddwych *wisc frenhinol:* ac a gaiff Goron Ardderchawg ar ei ben fel y

Exod.34 27.

Mat.17.

gallo yr holl fyd weled: fal *y gwneir i'r hwn y mae brenhin y brenhinoedd* yn ei anrhydeddu. Os gwna yr awrhon cyfodiad vn haul ir borau, ymddangos mor ogoneddus: O mor ogoneddus a fydd y Dydd hwnnw, pan fyddo aneirif fyrdd fyrddiwn o gyrph y Seintiau a'r Angelion yn ymddangos yn oleuach nac eglurdeb yr haul; a Chorph Crist mewn gogoniant yn rhagori arnynt oll.

4 Mewn escudrwydd neu gyflymdra trwy 'r hyn y geill eu cyrph hwy ymgyfodi i gyfarfod yr Arglwydd ar ei ddyfodiad gogoneddus yn yr awyr fel yr eryrod *yn ehedeg* at *ysglyfaeth*. At yr hwn esgudrwydd ar gyrph y Seintiau y mae 'r prophwyd yn pennodi lle y dywedodd: *hwy a wellhant eu nerth, ac ehedant fel eryrod, rhedant ac ni flinant, rhodiant ac ni ddiffygiant*, ac at y geiriau hynny y gellir cynhwyso y geiriau hyn o ddoethineb: sef yn amser eu gweledigaeth y discleiriant, ac y rhedant yma a thraw, megis gwreichion mewn sofl.

Esai. 40. 31.

Ac o herwydd y pedair cynneddfau hyn, y mae *Paul* yn galw cyrph y rhai etholedig a gyfodwyd, yn ysprydol: o blegid mewn *cynnedfau* y byddant ysprydol,

prydol, eithr yn vnrhyw byth mewn sylwedd.

A pha wedd bynnag y mae pechod a llygredigaeth yn y cyflwr marwol hwn, yn gwneuthur dŷn yn is nac Angelion, etto diau pan gorono Duw efe â gogoniant ac anrhydedd ni fedraf fi ddirnad pa fodd y bydd dŷn mewn dim oll yn îs na'r Angelion; o blegid Yspryd ion ydynt hwy: ac felly y mae dŷn hefyd o herwydd ei enaid, iê au mwy na hynny, hwy a gânt gyrph ysprydol wedi eu ffurfio yn gyffelyb i gorph gogoneddus yr Arglwydd *Iesu Grist*, yn yr hwn y mae natur dŷn gwedi ymdderchafu trwy vndeb personol i ogoniant y Duwdod, ac i anwahanol gymdeithas *y Drindod fendigedig*: yr hwn anrhydedd ni chennadhâod efe erioed iw Angelion. Ac o herwydd hyn y mae i ddŷn ragorfraint vwch eu llaw hwynt oll. Na gê, nid ydynt hwy ond ysprydion gwedi eu trefnu i fod yn wenidogion i'r etholedig: a chynnifer o honynt a'r y cyntaf a wrthwynebodd wneuthur hyn o swydd, ac ni chadwodd y drefn gyntaf odsodedig, am eu balchder a daflwyd i lawr i vffern. Nid

 yw

yw hyn yn lleihau teilyngdod yr Angelion, ond hyspysu faint yw cariad Duw tu ag at *ddynawl ryw.*

Eithr am yr etholedigion, y rhai a fyddant yma yn fyw, ar yr ail dyfodiad disymmwth ei Grist. Y tân yr hwn a lysc lygredigaeth y byd a'r gweithredoedd o'i fewn, mewn munud ar drawiad amrant llygad, a'i goddiwes hwynt lle y bônt, naill a'i yn malu, mewn melin *rhaglumiaeth*, a'i yn rhodio rhyd meusydd *difyrrwch* a'i yn gorwedd mewn gwely *llonyddwch*, ac felly (gen losci eu amhuredd a'i llygredigaeth) o gyrph marwol a'i gwna hwynt yn gyrph anfarwol, a hyn o gyfnewid a fydd iddynt hwy yn lle marwolaeth.

Yno y caiff yr enaid drwy lawenydd gyfarch ei gorph gan ddywedyd: Oh da im gyfarfuom ni eilwaith fy *chwaer anwyl*, mor hyfryd yw dy lais, mor howddgar yw dy wynepryd gwedi gorwedd cyhyd mewn agennau creigiau, ac mewn dirgel lochesau 'r bedd, yr wyt ti yn wir yn breswylfa cyfaddas, nid yn vnig i mi i drigo ynot, ond y cyfryw vn y mae 'r Yspryd

Can.2.14

glân

glân yn gweled yngymmwys genddo aros ynddo, megis yn deml iddo yn dragywydd. Bellach y darfu *gauaf* ein holl *orthrymderau*, *llifeiriant* ein trueni a *sychodd* yn hysb. Y mae cyrph ein etholedigion frodyr yn ymddangos yn ddisgleiriach na blodau 'r Lili ar y ddaiar: fe ddaeth yr amser i ganu *Halleluiah*, a llais yr vdcorn a glywir yn ein tîr. Ty di a fuost fynghytarwr yngwaith yr Arglwydd, ac yn gyfaill i mi mewn erlidiau, a chammau, er mwyn Crist a'i Efengyl; yr awrhon y cawn ni fyned gyd a i gilydd i lawenydd ein Harglwydd. Megis y dygaist y groes gyd a'm fi gynt, felly yr awrhon gyd â myfi y cei wisco y goron. Megis yr hauaist gyd â myfi yn helaeth mewn dagrau, felly yr awrhon, y medi yn helaeth gyd â myfi mewn gorfoledd. O bendigedig, iê tra bendigedig a fo 'r Duw daionus, yr hwn (tra fu y rhai gwrthodedig accw yn treulio eu ho amser mewn balchder, chwantau cnawdol, bwyta, yfed, a gwagedd gwrddedig) a roes i ni râs i gydtynnu a'i gilydd: yn gwilio, ymprydio, a gweddio, yn darllain yr scrythyrau yn cadw

y Sabbothau, yn gwrando pregethau, yn derbyn y Cymmun ſanctaidd, yn cynnorthwyo 'r tlawd gan arfer o weithredoedd Duwioldeb ym mhob goſtyngeiddrwydd tu ac at Dduw, a rhodio yn gydwybodus i wneuthur yn ôl ein galwadigaeth tû ac at ddynion.

Yn y man in chei di glywed ſôn am dy bechodau o herwydd, ſe *a'i ma-*
Pſal.23.1 *daeuir, ac a'i cuddir*; eithr pob gweithred dda a wnaethoſt, er mwyn yr Arglwydd, a gyhoeddir ac a obrwir. Llonna dy galon o herwydd y mae dy
Dan.9.21 *Farnwr yn gnawd o'th cnawd ac aſcwrn o'th aſcwrn dithau.* Cyfod dy ben i fynu, a gwêl yr Angelion gogoneddus yma, megis llu o Gabrieliaid yn chedeg attom, i ddywedyd i ni *fod dydd*
Luc.21.28. *ein ymwared wedi dyfod*, ac i'n troſglwyddo ni yn y cymylau i gyfarfod ein iachawdwr yn yr awyr: wele y maent hwy garllaw: Cyfod gan hynny
Can.2.1, 3. *fyngh°lomen, fyngharıad, fy rhain lân a thyred ymaith.* Ac felly fel yr iyrchod neu geirw iauainc, y maent hwy yn rhedeg gyd a'r Angelion tu ag at Griſt tros ddychrynadwy fy-

nydd-

hyddoedd *Bether.*

6. Y byw ar meirw ynghyd, yn y modd hyn gwedi eu bywhau au gogoneddu, a gynnullir allan o law trwy weinidogaeth sanctaidd Angelion Duw, o bob cwrr a pharthau 'r bŷd, ac â gippir ynghyd yn y cymylau, i gyfarfod yr Arglwydd yn yr awyr, ac felly a ddeuant gyd ag ef, yn rhan o'i rwysg ogoneddus, i farnu y colledigion a'r angelion drŵg. Y deuddeg Apostol a fyddant yn cistedd ar *ddeuddeg gorseddfaingc* (yn nesaf at Grist) i farnu y deuddeg-llwyth (y rhai a wrthodasant wrando yr Efengyl a bregethwyd trwy eu gweinidogaeth hwynt. Ar holl Seintiau mewn anrhydedd ac vrddas, yn nesaf attynt hwythau, megis barnwyr hefyd i farnu yr angelion drwg a dynion bydawl. Ac megis y derbynniodd pob vn o honynt, yn y bywyd yma râs i fod yn chwannoccach nac eraill, i osodd allan ei ogoniant, ac yn ffyddlonach iw wasanaethu ef, felly y bydd eu gogoniant a'i gwobr hwythau yn fwy nac eraill yn y dydd hwnnw.

Y

Y lle ar ſan yr ymgaſglant ynghyd at Griſt, ar lle yr eiſtedd Criſt i farnu: a fydd yn yr awyr goruwch dyffryn *Iehoſaphat*, wrth fynydd yr olewydd, yn gyfagos i Ierusalem, ar y tu dwyrain oddiwrth y Deml, fel y gellyr profi drwy bedwar o reſymmau.

Ioel 3.1.2 1. Yn gyntaf: O blegid bod yr ſcrythur ſanctaidd yn cynnwys cym-
Ier.11.22 maint a hynny mewn geiriau hygoel: mi a gynnulla yr holl *genedloedd i ddyffryn Iehoſaphat, ac a ymreſymma ac hwynt yno, Pâr ith alluogion ddeſcyn i lawr o Arglwydd, deffroed y cenhedloedd a deuant i fynu i ddyffryn Iehoſaphat. O blegid yno yr eiſteddaf i farnu y cenedloedd o amgylch. Iehoſaphat* o'i gyfieithu yw yr *Arglwydd a farn*, ar dyffryn hwn a gafodd yr enw yma, oddiwrth y fuddugoliaeth fawr a roes yr Arglwydd i *Iehoſaphat*, ac iw werin ar yn *Amoniaid, Moabiaid* a *thrigolion mynydd Seir*. Yr hon fuddugoliaeth oedd arwydd o'r fuddugoliaeth ddiwaethaf a rydd Criſt y barnwr pennaf iw etholedigion, ar eu holl elynion yn y fan honno, y dydd olaf, fel y mae 'r holl Iddewon yn ei ddeongli:

ongli: Edrychwch Zacha. 14. 4, 5. Psal. 51. 1,2. Oll yn cyttuno y bydd y lle ynghŷlch yno.

2. Yn ail: O blegid megis y darfu ynghylch yno, groeshoelio Crist a'i draddodi i gywilydd cyhoeddus, felly uwch ben y lle hwnnw yr adcyfodir ei ogoneddus orseddfaingc yn yr awyr, pan ddêl efe i ymddangos mewn *Barn*, i eglurhau ei fowredd a'i ogoniant. Canys y mae yn addas i Grist farnu y byd a barn gyfion yn y fan honno: lle y bu efe ei hunan yn cael i euogfarnu a'i gondemnio yn anghyfion.

3. Yn drydydd: O blegid gan weled y danfonir yr Angelion i gasclu ynghyd yr etholedigion oddiwrth y pedwar gwynt, o'r naill gwrr i'r nefoedd i'r llall, y mae yn hawdd profi y bydd y lle y cynhullir hwynt oll ynghyd, yn agos i Ierusalem, a dyffryn *Iehosaphat*, yr hon fan y mae y rhai sydd gyfarwydd ym messuryddiaeth y byd, yn adrodd ei fod yn gannolbarth wyneb y ddaiar, canys os y terfynau eithaf, a fydd oddiwrth cyrrau y byd, rhaid yw i'r ymgyfarfod

fod

fod ynghylch y *perfydd-bwynt*, fef,y canol.

4. Yn bedwerydd:O blegid i'r Angelion ddywedyd wrth y difcyblion: mai megis y gwelfant hwy Grift yn ymdderchafu o ddiar *fynydd yr olewŷdd*, yr hwn fydd vwchlaw dyffryn *Iehofaphat*: felly yr vn agwedd y daw ef i wared o'r nefoedd. Dyma feddwl *Aquinas* ar holl *Yfgolwyr*, oddieithr *Lombard* ac *Alexander Hales*.

5 Yn ddiwaethaf: pan fyddo Crift yn eiftedd yn ei orfeddfaingc ogoneddus, gyd â llawer miloedd o Seintiau ac Angelion yn llewyrchu yn oleuach na chynifer o *Haulau* mewn gogoniant yn eiftedd o'i amgylch: a chorph Crift mewn gogoniant a phrydferthwch yn rhagori arnynt oll: y colledigion gwedi eu didôli, ac yn aros ar y ddaiar i wared; canys y llaw ddehau fydd yn arwyddoccâu *bendigedig*, ar llaw afwy *melldigedig* gyflwr: Crift yn gyntaf a adrodd barn gollyngdod a rhyddhâd, a thragwyddol fendith i'r etholedigion. Yn gyntaf, o herwydd wrth glywed hynny, y myn ef chwannegu gofid y gwrthodedig. Yn ail, i ddangos fod ef

yn

yn barottach i *roi Trugaredd* na *Barn.* Ac fal hyn o orſeddfaingc ei Fawrhydi yn yr awyr (yngolwg ac yn ynglyw yr holl fyd) y datcan ef wrth ei etholedigion: *Deuwch chwi fendigedig blant fy nhâd meddiennwch y deyrnas a barotowyd i chwi cyn dechreuad y byd &c.* Mat.25. 24.

*Deuwch chwi* ] dyma ein bendigedig vndeb ni â Chriſt, â thrwyddo ef a'r holl Drindod.

*Fendidig* ] dymo ein rhyddhâd ni oddiwrth ein holl anwireddau a'n cyflawn gynyſcaeddu, a grâs a dedwyddwch.

*Blant fy nhâd*]dyma 'r Awdur oddiwrth yr hwn trwy Griſt y mae ein hapuſrwydd ni yn deilliaw.

*Meddiennwch* ] dyma ein mabwyſiad ni.

*Y Deyrnas* ] gwelwn ein etifeddiaeth a'n meddiant.

*A baratowyd* ] gwelwch ofal Duw dros ei ddewiſedig.

*Er pan ſeiliwyd y byd* ] o râd tragwyddol anghyfnewidiol etholedigaeth Duw.

Oh mor rhwymedig yw 'r enediau hynny i garu Duw, yr hwn o'i wir ewyllys

llys da a'i arfaeth, a'i dewiſodd ac a'i carodd *hwynt, cyn iddynt wneuthur na da na drwg.*

*Canys yr oeddwn yn newynog &c.*

O Ddaioni Criſt yr hwn ſydd yn dal ſulw ar holl weithredoedd ei blant, iw gwobrwyo hwynt am danynt. Pa faint yw 'r cariad ſydd ganddo ef i gristianogion truain, yr hwn ſydd yn cymmeryd pob gweithred trugaredd a wneler iddynt hwy er ei fwyn ef, fel pe

1.Pet.1.8 gwneuthid iddo ei hûn: *Deuwch attaf fi, yn yr hwn y* credaſoch *cyn i chwi fyngweled*, yr hwn a garaſoch, ac a geiſiaſoch mor ewyllyſcar a thrwy lawer o orthrymderau.

Deuwch yr awrhon o flinder i orphywys, o gywilydd i ogoniant, o ſafn angau, i lawenydd bywyd tragwyddol.

Er fy mwyn i y difenwaſant chwi, ich erlidiwyd, ac ich melldithiwyd.

Ond yr awrhon i'r ymddengys i'r holl rai melldigedig o fâth *Eſau*: mai chwi ydyw y gwir *Iacobiaid*, a gewch *dderbyn bendith eich Tâd nefol*, a bendigedig y cewch fod. Eich tadau eich mammau ac'h cynyſcifiaid a'ch gwrthodaſant, ac

a'ch

a'ch rhoesant ymmaith, er mwyn fyng-wirionedd i, yr hwn yr oeddych chwi yn ei faentumio : Ond yn awr fy Nhâd i a fydd yn Dàd i chwi, a chwi a gewch fod yn feibion ac yn ferched iddo yn dragywydd.

Fe a'ch bwriwyd chwi allan och tir-oedd a'ch bywyd, ac ymadawsoch a'r cwbl er fy mwyn i a'm Efengyl, eithr fal y bo yn eglur na chollasoch môch ynnill, eithr ynnill wrth golli: yn lle e-tifeddiaeth a meddiannau bydol, chwi a gewch feddiannu gyd â myfi *etifeddia-eth fyn nheyrnas nefol*, lle y cewch fod o herwydd cariad yn feibion : O herwydd braint genedigol yn etifeddion: O her-wydd anrhydedd, yn frenhinoedd, O herwydd sancteiddrwydd yn offeiria-dau. Ac chwi ellwch yn hyf fyned yr awrhon i'r meddiant, o blegid fyn Nhâd a'i darparodd, ac a'i cadwodd i *chwi er yr amser cyntaf y gysodwyd sail y byd.*

Yn ebrwydd yn ol y *farn* hon o rydd-hâd a bendith, y mae pob vn yn derbyn ei goron yr hon y mae Crist y barnwr cyfion yn ei roi am ei pennau, megis gwobr, yr hon â addawodd efe o'i râs

a'i

a'i drugaredd, i ffydd a gweithredoedd da, y rhai oll a garent ei ymddanghosiad ef mewn gogoniant.

Yno pob vn gan gymmeryd *ei goron oddiam ei ben, a'i gesyd a'r lawr* (fal pettcu) *wrth draed Crist*; a chan ymostwng eu hunain ac vn galon, ac vn lleferydd, mewn vndeb â chyfundeb nefol a ddywedant fal hyn: *Moliant anrhydedd, a gogoniant, a nerth, a diolch a fyddo i ti yr oen bendigedig, yr hwn wyt yn eistedd a'r yr orseddfaingc, a laddwyd, ac a'n prynaist ni i Dduw a'th waed, o bôb cenedl ieithoedd a phobloedd, ac an gwnaethost ni yn frenhinoedd ac yn offeiriaid i Dduw i deyrnasu gyd a'thi yn dy deyrnas yn oes oesoedd. Amen.*

Dadc.4. 10.

Yno y cânt hwy eistedd yn eu gorseddfeingciau, au tresu, megis barnwyr a'r y gwrthodedigion, a'r Angelion drwg, i glodfori a dwyn tystiolaeth o vnion farn Crist y Ba'rnwr goruchaf.

Gwedi adrodd barnedigaeth y colledigion, y cyflawna Crist ddwy weithred arbennig.

1. Yn gyntaf rhoi yr etholedigion iw Dâd: *Gwêlo Dâd cyfion dyma y rhai a roddaist i mi, mi a'i cedwais hwynt, mal*

Ioan.17. 13,14,15

*na*

*na chollodd vn o honynt, mi a roddais iddynt dy a'ir di: ac hwy* a'i credaſant ef, *a'r byd a'i caſhaodd hwynt am nad oeddynt o'r byd, megis nad oeddwn innau o'r byd.*

Ac yr awr'hon O Dâd *myſi a ſynnwn i'r rhai a roddaiſt i mi, fod gyd â mi lle yr ydwyſ, fel y gwelant y gogoniant a roddaiſt i mi, fel y byddwyf fi ynddynt hwy, a thithau ynof finnau, fel y gwneler hwynt yn berffaith yn vn, fal y gwyppo'r byd mae ty di am hanfonoddi, a'th fod yn ei caru hwynt fel y ceraiſt fi.* Ioa.15. 16.

2. Yn ail, Criſt a ddyru i fynu y deyrnas i Dduw y Tâd, hynny yw, a baid a gwaſanaethu ſwydd ei *gyfryngdod*, wrth yr hon, megis y mae yn Frenin, Offeiriad, Prophwyd, ac vnben yr Eglwys, fe fathrodd ei elynion, ac a reolodd ei bobl ffyddlon, a'i Yſpryd, ei air, a'i Sacramentau. Felly pan fo efe yn gado ei Deyrnas o râs, tros ei Eglwys yn y byd hwn, yn ddi atteg fe a lywodraetha fel y mae yn Dduw gogyfuwch a'r Tâd, a'r Yſpryd glân, yn ei Deyrnas o ogoniant yn dragywydd. Nid i leihau dim a'r deilyngdod ei Ddyndod eithr i hyſpyſu yn eglurach ogonaint

ogoniant ei Dduwdod. Felly megis y mae ef yn Dduw, efe a gaiff o hynny allan, ym mhob cyflawnder heb gyfryngau oddiallan, reoli oll yn oll.

O'r orsedd a'r brawdle yma, y cyfyd Crist a'i holl ogoneddus gynnulleidfa o etholedig Angelion, a Seintiau ac a eiff i fynu yn orfoleddus mewn trefn a llywodraeth i nef y nefoedd, a'r cyfryw hyfrydlais cerddwriaeth nefol iw canlyn. Fal y caffo y gân honno, a ddywedodd '*Dafydd* ei gwirio yn hollawl: *fe aeth Duw i fynu mewn gorfoledd* yr Arglwydd gyd a sŵn yr udcorn, *cenwch foliant i Dduw, cenwch foliant i'n Brenni, cenwch foliant o blegid Duw ydyw brenin yr holl ddaier, efe biau ymddercha-fu mewn mawredd: a'r* briodasgerdd honno yn *Ioan: ymlawenhawn ac ymhyfrydwn a rhown anrhydedd iddo ef, o blegid y mae priodas yr oen yn dyfod a'i wraig ef a ymbaratôdd.* Alleluiah: Oblegid *yr Arglwydd Dduw ollalluog sy'n teyrnasu.*

Y trydydd a'r rădd olaf o fendigedig gyflwr y dŷn adgenedledig yn ôl marwolaeth, sydd yn dechrau a'r ôl a-

drodd

drodd y farn a bery yn dragwyddol heb drangc na gorphen.

*Myfyrdod am gyflwr bendigedig* y Dŷn Adgenedledig, *yn ynef, gwedi ei derbynnio ef ei farn o ollyngdod, ger bron brawdle Crist, a'r Ddydd y Farn ddiwaethaf.*

YMma y mae fy myfyrdod yn llewygu, am pin scrifennu yn cwympo om llaw: y naill heb allael deall, a'r llall heb allael rhoi a'r lawr, y diddanwch tra godidog, a'r *tragwyddol bwys gogoniant (o'r hwn nid yw holl ddioddefiadau y bydhwn yn deilwng)* yr hwn a gânt hwy (sef yr etholedigion) gyd a'r Drindod fendigedeg, ei feddiannu, o'r pryd y derbinnir hwy att gyd â Christ yn gyd etifeddion o'i deyrnas a'i lawenydd tragwyddol. 2.Cor. 4. 17.

Etto ni all'wn ladd cais arno (megis y dywedwn) fal hyn: y mae 'r Scrythur sanctaidd yn dangos allan (i'n dealltwriaeth ni) ogoniant y tragwyddol a'r nefol lawenydd o herwydd pedwar peth:

O herwydd
1. Y *Lle.*
2. Y *Golygyn.*
3. *Ragorfreintiau yr etholedigion yno.*
4. * *Ffrwythau y rhagorfreintiau hynny.*

*Effeithiau.

## *Y Lle.*

1.Bren.8 2.Cor.12 24. Y *Lle ydyw nef y nefoedd*, neu y drydydd nef yr hon a elwir paradwys: y lle yr afcynnodd Crift (yn ei ddynol anian) *ymhell uwchlaw yr holl nefoedd gweledig, v Stafell y priodasfab*, yr hon y mae y ffurfafen a llen freithlas o fêr gwreichionllyd â phlanedau gogoneddus, yn ei chuddio, mal na eill llygaid llygredigol y cnawd moi chanfod. Yr Yfpryd glân (gan ei ofod ei hûn at ein gwendid ni) fydd yn datcan gogoniant y lle hwnnw, yr hwn nid yw iw gyfflybu a'r pethau gwyrthfawroccaf yngolwg dŷn. Ac am hynny y mae ef yn *Ei gyfflybu i'r ddinas fawr fanctaidd a elwir Ierufalem nefol. Lle yn unig y mae*
Datc.21. 2,3. *Duw a'i bobl, ( y rhai fydd gadwedig a chwedi eu fcrifennu yn llyfr yr oen ) yn* cyfanneddu, wedi ei hadeiladu *oll o aur coeth,*

*coeth, yn debyg i wydr gloiw neu risial, ei mur o faen Iasbis, a sail y mur o ddeuddeg rhywogaeth o feini gwerthfawr a deuddeg o byrth, a phob vn wedi ei adeiladu o vn perl, tri phorth yn tueddu tu ac at bob vn o bedwar congl y byd, ac Angel wrth bob porth (fel cynifer o borthorion) fel na chaffo dim aflan ddyfod i mewn iddi: y mae yn bedwar ochrog, ac am hynny yn berffaith: yr hyd, y llêd, a'r vchder sydd o vn faint, deuddeng mil o stadiau i bob fford, am hynny ehang a gogoneddus, a'r hyd canol ei heolydd, y mae afon bur o ddwfr y bywyd yn rhedeg yn oestadol, cyn loiwed a'r grisial, am hynny yn iachus, ac o'r naill du i'r afon y mae pren y bywyd yn tyfu yn dragywydd: yr hwn sydd yn dwyn deuddeg mâth a'r ffrwythau, am hynny yn ffrythlon, a dail y pren sydd iechyd i'r cenedloedd am hynny yn iachus.*

Nid oes gan hynny fangre mor ogoneddus o ran *credigaeth*, mor hyfryd o ran *diddanwch*, mor gyfoethog, oran *meddiant*, mor gyssurus o ran *cyfannedd*. O blegid y brenin yno ydyw Crist, y gyfraith, cariad: yr anrhydedd, gwirionedd: y dynghneddyf, dedwyddwch:

y

y bywyd, tragywyddoldeb. Y mae yno eleuni heb dywyllwch: llawenydd heb prudd-der iechyd heb glefyd, cyfoeth heb eisiau: geirda heb anair: glendid heb anaf: esmwythdra heb poen: golud heb rydu: bendith heb drueni: ac hyfrydwch byth heb ddibennu. Mor vnion y gallwn ni lefain a-
Psa.87.3. llan gyd â *Dafydd* am y ddinas hon: Pethau *gogoneddus a draethir am danat ti o ddinas Duw*. Ac etto yr holl bethau hyn a ddywedir yn ol gwendid ein dealltwriaeth ni. Oblegid y mae'r nefoedd yn rhagori a'r yr rhain oll mewn gogoniant, cyn belled: na ddichon tafod dŷn ei adrodd, na chalon dŷn ddirnad ei *gogoniant*, megis y tystiolaetha *Paul* yr hwn a fu ynddo ac a'i gwelodd.

O nedwch i ninnau ymhoffi yn y bythod yma o brenniau, neu feini, neu dai wedi eu tylino o bridd, y rhai nid ŷnt ond pebyll annwioldeb ac annheddau pechaduriaid, eithr disgwyliwn yn hytrach ac hiraethwn, am *y ddinas nefol* yma, *saer ac adeiladydd yr hon* [*yw*] *Duw*. Yr hon y darfu iddo ef, (*yr hwn nid yw gywilydd ganddo i alw*

yn

*yn Dduw i ni) ei pharattoi i ni.*

2. Y *Golygyn.*]

Y Cyfiawn fendigaid ar gogoneddus olygyn i'r holl ddeallus a'r rhesymmol greaduriaid yn y nef ydyw, Duwdod, mewn Trindod o bersonau, heb yr hwn nid oes na llawenydd na dedwyddwch, eithr gwir gyflawndra gorfoledd sydd yn sefyll yn ei fwynhau ef.

Y Golygyn hwn a gawn ni ei fwynhau mewn dwy ffordd.

Yn *gyntaf*, trwy fendigedig olwg ar Dduw.

Yn *ail*, trwy gyfrannogi Cymmun digyfrwng a'i Dduwiol anian ef.

Y *wynfydedig olwg* ar Dduw ydyw honno yn vnig sydd yn rhyngu bodd i anherfynol feddwl dyn. Canys y mae pob peth yn tueddu at y perfeddbwynt neu 'r canol. Duw ydyw perfeddbwynt yr enaid: am hynny (mal clommen *Noah*) ni fedr ef gael gorphywys, nac ymlawenhau, nes y dychwelo iw fwynhau ef.

Nid oedd y cwbl a roes Duw i

*Moeses* yn bodloni ei feddwl ef, o ni chai ef weled wyneb Duw: am hynny y mae yr holl Eglwys yn gweddio yn ddifrifol: *Duw a drugarhâo* Psal.67.1 *wrthym ac a'n bendithio a thywynned llewyrch ei wyneb arnom.* Pan welodd *Paul* vnwaith y fendigedig olwg honno: byth o hynny allan ni wnaeth gyfrif, o olud neu ogoniant y byd hwn yn ei herwydd, mwy nag o ddom neu 'r cyffelyb: ac yn ei holl fywyd o hynny allan ni bu ef ond ocheneidio (*cupio dissolui*) *yr wyf yn dymuno fy nattod a bod gyd â Christ*, Crist hefyd a weddiodd yn ei weddi ddiwaethaf tros ei holl etholedigion, ar gael o honynt feddiannu y weledigaeth fendigedig yma: Y *Tâd y rhai a* Ioan.17.24. *roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio lle rwyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyd â myfi:* i ba beth, *fel y gwelônt* fyngogoniant, &c. A ddisgleiriodd wyneb *Moeses* pryd na buasai ond deuddeg niwrnod gyd â Duw, ac heb weled dim ond ei dû cefn: pa fodd y byddwn ni yn disgleirio, pan fo 'm yn cael ei weled ef wyneb yn wyneb yn dragywydd, a'i adnabod ef, fel yr

ad-

adweinir ninnau ac fel y mae efe? Yno ni elwir yr enaid mwyach: *Marah*, sef *chwerwder:* ond *Naomi*, sef *tegwch.* O blegid fe dry Duw ei chwerwder byrr ef, yn brydferthwch a glendid trawyddol. Ruth 1. 20.

Yr ail fodd i feddiannu y golygyn hwn, yw cael rhydd-deb a *chydundeb tragwyddol* gyd â Duw yn y nefoedd. Hyn yr ydym ni yn ei gael, yn gyntaf, trwy fod megis yn aelodau i Grist, gwedi ein vno a'i *Ddyndod* ef, a thrwy ei *Ddyndod*, yn bersonol gwedi ein vno a'r Gair, yr y'm gwedi ein vno ac ef, megis y mae efe yn Dduw: a thrwy ei Dduwdod ar holl Drindod.

Y colledigion yn y dydd olaf a gânt weled Duw (fel barnvvr cyfion) iw colpi, eithr o ran bod y cymmun yma yn niffyg, ni chânt hwy na grâs na gogoniant o ddiwrtho. Canys diffyg y Cymmun hwn a wnaeth i'r cythrauliaid (pan welsant Grist lefain allan: *Quid nobis tecum?* sef: *beth sydd i ni a wnelom a thi, O Fab y Duw goruchaf?* eithr (trwy rym y Cymmun yma) fe eill yr enaid edifeiriol fyned yn

hyf a dywedyd wrth Grist (fel *Ruth*
Ruth. 3.9 wrth *Boaz*) *lledâ gan hynny dy aden*
*dros dy laforwyn, canys sy nghafath-*
*rachwr ydwyt ti.* Y Cymmundeb
hwn a addawodd Duw i *Abraham*,
Gen. 15. 1. pan roddodd efe ei hun yn *wobr fawr*
iddo. Ac y mae Crist yn gweddio a'r
iw holl eglwys ef gael ei swynhau.
Y Cymundeb hwn y mae S^t^. *Paul*
Ioan. 17. 10. 21. yn ei roi ar lawr ar vn gair lle dywe-
1. Cor. 15 18. dodd: Y *bydd Duw i ni oll yn oll*,
gwir yw fod Duw yr awr'hon i ni
oll yn oll, eithr trwy gyfrwng, a me-
sur bychan. Eithr yn y nef Duw ei
hûn yn ebrwydd mewn cyflawnder
mesur heb gyfranniad, a fydd i ni yn
bob daioni, ar a allo ein eneidiau ni, a'n
cyrph ei ddeisyf a'i ddymuno. Efe ei
hûn a fydd yn iachadwriaeth ac yn
llawenydd i'n heneidiau, yn fywyd ac
iechyd i'n cyrph, yn lendyd i'n llygaid,
yn gerdd i'n clustiau, mêl i'n geneuau,
pêrarogl i'n ffroenau, ymborth i'n bo-
liau, goleuni i'n dealltwriaeth: bod-
lonrhwydd i'n meddyliau: a difyr-
rwch i'n calonnau: a pha beth a eill fod
yn eisiau lle bydd Duw ei hûn yn
enaid i'n eneidiau ni? Yr holl nerth,
syn-

ſynwyr, diddanwch, rhinwedd, lliwiau, perffaithdra, meluſdra a'r holl ddaioni ſydd mewn dynion, anifeiliaid, pyſgodau, adar, prennau, llyſiau, ar holl greaduriaid, nid ydynt ond megis gwreichion or pethau ſydd yn Nuw ei hûn mewn perffeithrwydd anfeidrol. Ac ynddo ef ei cawn eu meddiannu mewn modd perffeiddiach a bendigediccah o lawer.

Efe ei hûn a waſanaetha 'r twrn yn eu lle hwynt oll: Na y creaduriaid gorau (yr rhai ſydd i'n gwaſanaethu ni yr awr'hon, ni chânt gymmaint o anrhydedd a'n gwaſanaethu ni y pryd hynny. *Ni bydd eiſiau na 'r haul na 'r lleuad, i lewyrchu yn y ddinas honno.* O blegid y mae gogoniant Duw yn ei goleuo hi. Ni bydd chwaith yn rhaid wrth vn math ar greadur pryd y byddom yn cael meddiannu y creawdr ei hunan. Pan fôm ni gan hynny, yn gweled rhyw beth godidog, mewn rhyw greadur, dywedwn wrthym ein hunain, pa faint godidoccah yw 'r hwn, a roes y godidawgrwydd yma? Pan welom ni ddoethineb dynion, y rhai ſydd yn meiſtroli creaduriaid cry-

fach nac hwynt eu hunain; a'i deongliad yn rhagflaenori yr haul ar lloer: gan osod ar lawr yr amser yr ecclipsiant neu y tywyllant hwy: dywedwn wrthym ein hunain: Oh mor rhyfeddol yw doethineb Duw, yr hwn a'i gwnaeth hwynt mor ddoeth. Pan ystyrion ni nerth y Meirch, Oliphantiaid, Temestl, gwynt, a thwrf y daran ddychrynedig; dywedwn wrthym ein hunain: mor nerthol, mor alluog, mor ofnadwy yw 'r Duw hwnnw, sydd yn gwneuthur y cryfion ar erchill greaduriaid yma. Pan fôm ni yn archwaethu dewis bethau melusber, dywedwn wrthym ein hunain: Oh mor felus ydyw 'r Duw hwnnw, oddiwrth ba vn y cafodd yr holl greaduriaid hyn eu melusdra. Pan fôm ni yn gweled cyfliwiau perffaith, y rhai sydd a'r flodau, ac adar, neu 'r glendid cariadus sydd a'r *ferched:* dywedwn, oh mor howddgar yw 'r Duw a wnaeth yr rhain yn howddgar.

Ac os darfu i'n Duw anwyl raglunio i ni, gynifer o ddifyrrwch godidog tra fôm yn myned trwy *Bochym* sef, y dyffryn hwn o wylofain. Pa fâth ddiddan-

ddanwch yw hwnnw, a ddarparodd ef in i pan gaffom ni fyned i mewn *i lawenydd ein meistr*. Pa fodd y bydd ein encidiau ni yno yn ymhyfrydu o gariad ar y fâth Dduw cariadus? mor ogoneddus yw 'r golwg o Scintiau nefol, ac mor garuaidd yvv *golwg* ein *Iachawdwr* grasusavvl.

*Y Rhagorfreintiau sydd i'r etholedigion yn y nefoedd.*

O Herwydd y Cymmun hwn â Duw, fo fydd i'r Etholedigion bedwar o ragorfreintiau tra godidog, yn y nefoedd.

1. Yn gyntaf, *hwynt hwy a gânt deyrnas Dduw yn etifeddiaeth*: ac â gant fod yn wyr rhydd *O Ierusalem* nefol. 1.Pet.1 4
*St. Paul* (o herwydd ei fod yn ddinasfydd rhydd o *Rufain*) a ddiangodd heb ei ffiangellu, eithr y rhai a fo vnwaith yn *ddinasyddion rhyddion O Ierusalem* nefol, a fyddant byth diangol oddiwrth ffiangellau poenau tragywyddol. O blegid y rhyddhâd yma a brynwyd i ni, 1.Pet.1. 19.
nid a rhif o arian, ond â gwerthfawr waed Crist.

2. Yn ail: hwy a gânt oll fod yn *frenhinoedd* ac yn *offeiriaid*; (yspyrdol frenhinoedd) i deyrnasu gyd â Christ, i orfoleddu goruwch Satan, y byd, a'r gwrthodedigion: ac offeiriaid Yspryd-dol: i offrwm i Dduw aberth ysprydol o *foliant a diolch* yn dragywydd. Am hynny y dywedir eu bod yn gwisco eu *Coronau ai gwisgoedd ardderchawg*. O pa gyssur a diddanwch yw hyn i dadau tlodion, a llawer o blant a'r eu helw? os hwynt hwy au maethant ac a'i methrinant yn ofn Duw, i fod yn wir gristianogion: yno y byddant yn dadau i gynifer o *Frenhinoedd* ac *Offeiriaid*.

3. Yn drydydd eu cyrph hwynt a
Mat. 13. 43. oleua fel disclairdeb yr haul yn y ffurfafen: fel gogoneddus gorph Crist, yr
Phil. 3. 21. hwn a ddisclairiodd yn eglurach na'r
Act. 12. 6. haul hanner dydd, pan ymddanghosodd ef i *Paul*. Llewyrch neu gysgod
Luc. 9. Mar. 9. 3. o'r hwn oleuni gogoneddus oedd, ymrithiad *Moeses* ac *Elias* gyd a'r Arglwydd a'r y mynydd sanctaidd. Am
1. Cor. 15. 44. 45. hynny (medd yr Apostol) fe a *gyfyd yn gorph gogoneddus*, ie yn *gorph ysprydol*, nid o herwydd ei sylwedd, ond o herwydd ei gynneddfau, yr ymgynnal

trwy

trwy foddion yſprydol, a chanddo gyfiawndra (fel Angel) i aſcyn ac i ddiſcyn. Oh pa anrhydedd ydyw fod ein cyrph ni (y rhai ſy 'n braenu yn waelach na burgyn yn y byd) yn cael eu hadgyfodi mewn gogoniant yn debyg i gorph mab Duw ei hûn?

4. Yn ddiwaethaf: y maent hwy gyd a'r Angelion ſanctaidd, heb na blinder na lludded yw cythryblu, yn cynnal Sabboth oeſdadol i ogoniant, anrhydedd, a moliant y drindod tra-bendigedig, am *greu, gwaredu, a ſanctei-ddio* yr Eglwys, ac am ei allu, ei ddoethineb, ei gyfiawnder, ei drugaredd a'i ddaioni, yn llywodraethu nef â daiar. Pan fyddych di, yn gwrando cydſeiniad melyſgerdd miwſic: myfyria mor ddedwŷdd fyddi di pan fŷch gyd â chôr o Angelion a ſeintiau nefol yn cydganu dy ran o'r *Alleluiah* yſprydol honno, a'r y tragwyddol fendigedig *Sabbôth*. Lle bydd y fâth amryw ddifyrrwch, â'r fâth ddigonolrhwydd o lawenydd: megis nad oes na phoen na blinder yn ei wneuthur, na diwedd yn ei ddifyrrwch.

### 4. *Ffrwythau digwyddedig oddiwrth y rhagorfreintiau hynny.*

Oddiwrth y rhagorfreintiau hyn, y cyfyd i'r etholedigion dri mâth a'r effeithiau hynod.

HWynt hwy a gânt adnabod Duw trwy wybodaeth perffeithlawn: cyn belled ac y byddo possibl i'r creaduriaid ymgyffred y Creawdr. O blegid yno y cawn weled y *Gair*, y *Creadwr* yn y gair, yr holl greduriaid a'r a greawdd y *Gair*, fel nad rhaid i ni ddyscu wrth y pethau a wnaethpwyd, wybodaeth am dano ef, trwy 'r hwn y gwnaethpwyd peb peth. Y creaduriaid godidoccaf yn y bywyd hwn, nid ŷnt ond megis llenn dywyll gwedi ei thynnu rhwng Duw â ni, a phan dynnir y llenn honno o'r neilldu, yno y cawn weled Duw wyneb yn wyneb, a'i adnabod,
2 Cor. 3.6 fel i'n *adwaener*. Nyni a gawn gydnabyddiaeth a'r allu y tad, a'r ddoethineb y mâb, aca'r râd yr Yspryd glân; aca'r anwahanol anian y *Drindod* fendigedig. Ac ynddo ef ni gawn adnabod nid yn

vnig

vnig ein holl gyfeillion y rhai a fu farw mewn ffydd Grist,ond yr holl ffyddloniaid hefyd a'r a fu erioed ac a fydd byth. Canys:

1. Y mae Crist yn dywedyd i'r Iuddewon y caent hwy weled *Abraham*, *Isaac*, ac *Iacob*; a'r holl brophwydi *yn nteyrnas Dduw:* am hynny hwy a gânt eu hadnabod hwynt.

2. Yr oedd *Adda* yn ei ddiniweidrwydd yn gwybod fod *Efa* yn ascwrn o'i ascwrn ef,ac yn gnawd o'i gnawd ef,cyn gynted ac y deffrôdd efe: gwell o lawer y cawn ni adnabod ein tylwyth, pan ddeffrôm ni gwedi ein perffeiddio a'n gogoneddu yn yr adcyfodiad.

3. Fe adnabu yr Apostolion Grist yn ôl ei adcyfodiad, a'r *Seintiau y rhai a gyfodasant gyd ag ef,ac a ymddangosasant yn y ddinas sanctaidd.* Mat.27. 53.

4. *Petr*, *Iago*, ac *Ioan* a adnabuant *Moeses*, ac *Elias*, yn yr ymrithiad: pa faint mwy o gydnabod a gawn ni y naill a'r y llall, pan fôm ni oll gwedi ein gogoneddu.

5. Yr oedd *Dives* yn adnabod *Lazarus* yn mynwes *Abraham*,pa faint hytrach y caiff yr etholedigion adnabod Luc.16. 23.

eu

eu gilydd yn y nefoedd.

6. Y mae Crist yn dywedyd, y caiff y deuddeg Apostol eistedd a'r ddauddeg gorseddfaingc, i farnu (a'r y dydd hwnnw) y daudddeg llwyth: am hynny fe fyddir iw hadnabod ac felly digwyddedig yr adwaenir yr holl Seintiau eraill.

7. Y mae *Paul* yn dywedyd y cawn *ni* y dydd hwnnw *adnabod megis i'n adwaenir ninnau gan Dduw:* ac y mae *Awstin* (o'r lle yma) yn cyssuro gwraig weddw, gan ei sicrhau hi mai fel y gwelodd hi ei gŵr yn y byd hwn a'i llygaid corphorol, felly yn y byd i ddyfod y caiff hi adnabod ei galon ef, a pha beth oedd ei *feddyliau* a'i *amcanion.* Gan hynny wŷr a gwragedd edrychwch a'r eich gweithredoedd, a'ch meddyliau. O blegid fo fydd y cwbl iw gweled rhyw ddydd yn gyhoeddus: edrychwch: 1. Cor. 4. 5.

8. Yn yr hen Destament yr ydis yn dywedyd fod y ffyddlonniaid gwedi, eu cynnull at eu tadau: ac wrth hyn y mae ein gwybodaeth ni, am ein cydnabod a'n cyfeillion yn parhau, heb pallu.

9. *Cariad byth ni chwymp ymmaith,* am hynny gwybodaeth y *sail* o honaw fydd yn aros yn y bywyd arall.

10. O blegid y dydd diweddaf y dadcuddir barn gyfion yr Arglwydd: Lle *gwobrwyir pob dŷn yn ol ei weithredoedd*. Ac os eglurir gweithred pob rhyw ddŷn, hytrach o lawer y dygir y gweithredydd i'r goleuni. Os caiff dynion drygionus roi cyfrif am bob *gair ofer*: mwy o lawer y cair adnabyddiaeth ar yr ofer *siaradwŷr* eu hunain. Ac oni adwaenir hwynt eu hunain, ofer iawn yw cyhoeddi eu gweithredoedd. Am hynny (medd yr Apostol) *pob dŷn a ddaw ger bron i roi cyfrif am y weithred a wnaeth ef yn ei gorph &c.* gwelwch *Ddoethineb* pen. 5. 1. Er bod amryw raddau a galwedigaethu: sef swyddogaeth, gweinidogaeth. Teuluyddiaeth yn pallu: ie fe baid Crist a rheoli fel y mae yn gyfryngwr, ac a *reola oll yn oll*, fel y mae yn Dduw gogyfuwch a'r Tâd ac a'r Yspryd glân.

Y mae cymmaint o ragor rhwng y gwybodaeth a eill dynion ei gael yn y byd hwn, a'r gwybodaeth a gawn ni yn y nefoedd: ac sydd rhwng gwybodaeth plentyn ni fedro mor dywedyd yn groiw, a'r dyscawdwr neu 'r Philosophydd gorau 'n y byd.

Y rhai sydd yn sychedu am wybodaeth, byddant hiraethus am fod yn sysyrwyr o'r *ffynnon* ddysnddysc yma.

O blegid yr holl olueni, trwy 'r hwn yr ŷm yn adnabod dim yn y byd yma, nid yw ddim ond gwir gyscod Duw. Eithr pan fôm ni yn adnabod Duw yn y nefoedd, ni gawn ynddo ef adnabod trefn gwaith y *creadigaeth*, a dirgeledigaethau gwaith ein prynedigaeth: ie ni a gawn gymmaint o wybodaeth am y creawdr a'i weithredoedd, ac yw bossibl i greadur i ddeall, a'i amgyffred. Eithr tra fôm yn y bywyd hwn, nyni a allwn ddywedyd gyd â *Iob*: *Mor sychan yw 'r peth yr ydym ni yn ei glywed*
Iob 26.14 *am dano*: A'n sicrhau ein hunain gyd â mâb *Syrac*: fod etto bethau mwy na 'r rhain yn guddiedig, ac na welsom ond ychydig o weithredoedd Duw.

2. Hwynt hwy a garant Dduw a chariad tra pherffeithlawn, gymmaint ac a fyddo bossibl i gredur allu. Y modd i garu Duw ydyw, ei garu efer i fwyn ei hûn: y *mesur*, yw i garu ef yn *anfesurol*.
Psal. 36.8 Canys yn y bywyd hwn (wrth adnabod Duw yn vnig (o ran) nid ydym yn ei garu ef, ond mewn rhan: eithr pan

fo

fo yr etholedigion yn y nefoedd, yn cyflawn adnabod Duw, yno y byddant yn cyflawn garu Duw. Ac o herwydd yr aneirif achosion o gariad, yr hyn a gânt hwy ei adnabod fod ynddo ef, hwy a fyddant yn rhwym mewn serch anfeidrol iw hoffi ef.

3. Hwy a gânt eu llenwi â phob rhyw lawenydd nefol. *Ar y dy law ddehau* (medd *Dafydd*: y *mae llawenydd yn dragywyddol. Ie* (medd ef) *hwynt hwy a gânt eu diodi ag afon hyfrydwch.* O blegid cyn gynted ac y caffo yr enaid ei gynnwys i fewn gweithredol feddiant a'r *vndod bendigedig* y Duw byw: y mae ef yn mwynhau, oll ddaioni, howddgarwch, gogoniant, a pherffeithrwydd, ar yr holl greaduriaid (o'r holl fyd) ynghysswllt a'r vnwaith gwedi eu goflwyno iddo ger bron Duw. O bydd neb mewn *cariad*, yno y caiff fwynhau y peth sydd fwyaf *cariadus*, o bydd neb yn ymhoffi mewn glendid, nid yw 'r glendid teccaf ond *priddlyd* wrth yr hwn sydd yno: yr hwn sy 'n ymhyfrydu mewn llawenydd, yno y caiff aneirif rywogaethau o honaw, heb na gofid iw luddies na phenyd iw Psal. 36. 8

dorri:

dorri: yr hwn sydd yn caru *anrhydedd*: yno y caiff, heb anair cynfigen iw wradwyddo. Yr hwn sydd yn caru *trysor*: yno y caiff feddiannu yr hwn ni ddygir byth oddiarno. Yno y cânt hwy ddeallt wriaeth heb anwybodaeth: iechyd heb glefyd, a bywyd na eill marwolaeth ei ddiswyddo.

Ar vn gair, edrychwch pa faint y mae y byd, o herwydd goleuni, difyrrwch a chyssur: yn rhagori a'r y grôth gyfyng dywyll, yn yr hon ith cenedlwyd yn blentyn: y cymmaint arall y mae y byd sydd i ddyfod, yn rhagori a'r y byd hwn, mewn llawenydd, ac hyfrydwch dedwyddol. Mor ddedwŷdd fyddwn ni y pryd hynny, pan fo y bywyd hwn gwedi ei gyfnewid, a ninnau gwedi ein trosclwyddo i'r fan honno.

4. Hwynt a lenwir â llawenyd anrhaethadwy: yn dy ŵydd di (Medd *Dafydd*) y mae *cyflawnder llawenydd*; a'r llawenydd hwnnw, a gyfyd yn bennaf oddiwrth weled Duw: ac o weled, yr holl Angelion sanctaidd, ac eneidiau bendigedig y gwŷr cyfiawn perffaith, y rhai sydd mewn llawenydd a gogoniant gyd ag ef. Ond yn enwedig o'r

golwg

golwg hyfryd a'r *Iesu* Cyfryngwr y Testament newydd, ein *Emmanuel* ni, Duw wedi ei wneuthur yn ddŷn, ei weled ef a fydd yn brif achos o'n dedwydyd ni a'n gorfoledd. Os darfu i'r *Israeliaid yn Ierusalem floeddio o lawenydd hyd oni ddadseiniodd y ddaiar, wrth weled coroni Salomon*; Pa faint a fydd llawenydd yr etholedigion yn y nef wrth weled Crist (y gwir *Salomon*) gwedi ei ymwisco â gogoniant? O darfu ei *Ioan fedyddiwr* yn ei wydd ef o wir lawenydd neidio yng-hrôth ei fam, Pa faint y cawn ni ymorfoleddu mewn hyfrydwch, pan fo ef nid yn vnig gyd â nyni, ond ynom ni yn y nefoedd? Os darfu i'r rhai doethion *lawenychu cymmaint*, pan welsant ef yn *fiban yn gorwedd yn y preseb*: pa orfoledd a fydd i'r etholedigion o'i weled ef yn eistedd yn Frenin yn ei orseddfaingc nefol? O bu *Simeon hên mor llawen wrth ei weled ef yn blentyn yn y deml* yn nwylaw offeiriad iw *gyflwyno i'r Arglwydd*, pa faint mwy a fydd ein llawenydd ni, gael ei weled ef yn Frenin, yn llywodraethu pob peth a'r ddeheulaw ei Dad? O bu *Ioseph* a *Mair* mor llawen pan gawsant

ſant ef *ym mhlith yr athrawon yn y deml*, pa aint llawenach a fydd ein eneidiau ni pan welom ef yn eiſtedd yn Arglwydd ym mhlith Angelion nefol. Dymma y llawenydd hwnnw ſydd yn eiddo ein *Harglwydd* ni, yr hwn (fel y dywaid
Mat.25. 21. yr *Apoſtol*) ni *welodd llygad, ni chlywodd clust, ac ni eill calon dŷn moi ddirnad*; yr hwn o ran na eill mor myned ynom ni, nyni a gawn fyned iddo ef.

5. Yn olaf, hwynt hwy a feddiannant y bendigedig a'r gogoneddus gyflwr yma yn dragywydd. Am hynny y gelwir ef y bywyd tragywyddol: ac y mae Criſt yn dywedyd: *y llawenydd hwnnw ni ddwg neb o ddiarnom*. Pob llawenydd arall a dderfydd er maint a fyddo. Gwlêdd Ahaſſerus a barhâodd gant a phedwar vgain o ddyddiau: eithr efe a'i wledd a'i holl lawenydd aethant heibio. Pe cai ddyn bydol ei gymmeryd i'r gogonniant nefol, i gydgymdeithas ag Angelion, iw ddigoni â phob mâth a'r lawenydd, ac hyfrydwch, (a hynny dros amſer) fe fyddai hyn beth mawr genddaw; eithr cael eu meddiannu hwynt yn dragywyddol heb drangc na gorphen, pwy a eill

wrando

wrando hynny, heb ryfeddu, a phwy a eill ei synnied, heb synnu o'i blegid? Holl Seintiau Crist (cyn gynted ac y darfu iddynt, wir archwaethu y llawenydd tragwyddol hwnnw) oeddynt yn cyfrif holl gyfoeth a digrifwch y byd hwn megis yn golled ac yn dom wrth ei gyffelybu i'r llall. Ac am hynny (trwy ddyfal weddi, ymprydio, elusenі, wylofain, ffydd a buchedd dda) i'r oeddynt hwy yn dyfal barhau er mwyn eu sicrhau eu hunain o'r bywyd tragwyddol hwnnw:

(Ac o serch i'r hwn) fe ddarfu iddynt yn ewyllyscar naill a'i gwerthu, a'i rhannu eu holl gyfoeth bydol au meddiannau.

Y mae *Crist* yn galw yr holl Gristianogion, yn farchnadwŷr: a *bywyd tragwyddol* yn *faen* gwerthfawr, yr hwn y mae y marchnattwr doeth yn ei bwrcasu: iê, pe rhôn a gorfod iddô dalu am dano gwbl oll ac a feddai *Math.* 13.

Pan glybu *Alexander* fod cyfoeth mawr yngwledydd y dwyrain, yn ebrwydd efe a rannod ei deyrnas ei hûn sef *Macedonia*, rhwng ei gaptenni-

teinniad a'i filwŷr, *Hephestion* a ofynnodd iddo beth oedd ei feddwl wrth wneuthur hynny ; *Alexander* a attebodd : mai mwy oedd genthaw am gyfoeth yr *India* (a'r yr hon yr oedd ef yn gobeithio y cai ar fyrr fod yn berchennog ) nac am yr holl deyrnas a adawsai *Philip* ei dad iddo ef yn *Macedonia*. Ac oni ddylai Gristianogion fod yn fwy genthynt am dragwyddol gyfoeth y nef, sydd mor enwog, (yr hwn a gânt ei berchnogi cyn pen hir o ddyddiau ) nac am sothach llygredig y ddaiaren lychlyd, yr hwn ni phery ond tros dymmor ? *Abraham* a *Sara* a adawsant eu gwlad eu hunain a'i meddiannau i *geisio Dinas, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw*: Ac am hynny ni phrynasant ddim tîr, ond yn vnig lle i gladdu. Y mae *Dafydd* yn well ganthaw vn dydd yn y lle yma, *na mîl mewn lle arall : ie bod yn borthor yn nhŷ Dduw, oedd well ganthaw nac aros mewn gwychion babellau anwiredd*. *Elias* a ymbiliodd yn daer a'r Ayglwydd, *am dderbyn ei enaid i'w deyrnas nefol* : Ac a aeth yn ewyllyscar, er ei fod yn myned yno mewn *cerbyd tanllyd*.

*Paul* ( Pan gafodd vnwaith weled y nef ) oedd beunydd yn dymuno ei *ddattodiad i fod gyd â Christ.* *Peter* ( pan gafas ef weled llewyrch *y gogoniant tragywyddol* a'r y mynydd ) a ddeisyfodd gael trigo yno holl ddyddiau ei fywyd: gan ddywedyd, O *Arglwydd da i ni fod yma.* Pa faint well y tybia *Petr* yr awrhon o'i fod yn y nefoedd? Crist ( ychydig cyn ei farwoeth ) a weddiodd a'r *ei Dâd am ei dderbyn ef i'r rhagorol ogonniant.* Ac y mae 'r Apostol yn tystiolaethu, mai ( o herwydd y llawenydd hwn a osodwyd o'i flaen ) y *dioddefodd ef y groes, ac y dirmygodd gywilydd.* Pe cai ddŷn vnwaith weled yr hyfrydwch hwnnw fe a ddioddefai ( o bai bossibl ) gan marwolaeth er cael meddiannu y dedwyddfyd hwnnw vn diwrnod.

S^t^ *Awstin* a ddywaid y byddai efe fodlon i oddef *poenau vffern, er mwyn ynnill y llawenydd yma yn gynt nac y collai ef hwn.*

*Ignatius* (disgybl *Paul*) pan oeddyd yn ei fygwth ef (ac yntau *yn myned i ddioddef* ) *a chreulondeb y poenau a attebodd trwy fawr ffydd hyderus: tân,*

*crog-*

*crogbrennau, bwystfiloedd, torri fy escyrn, fy nhynnu yn aelodau, llethu fyngborph, holl boenau y cythraulaiaid ynghyd: delont arnaf fi, O caf fi feddiannu fy Arglwydd Iesu a'i dyrnas.* Y cyfryw gelnogrwydd meddwl a ddangosodd *Polycarp*, yr hwn ni ellidperi iddo *wadu Crist* yn y dim lleiaf, rhag ofn vn mâth ar farwolaeth.

A'r vnrhyw feddylfryd yr attebodd *Basil* iw erlidwyr, pan geisiasant ei ddychrynu ef a marwolaeth: nid *ofnai eb efe farwolaeth byth, yr hon ni eill ddim niwaid, ond fy nhrwysclwyddo at yr hwn am gwnaeth.* O darfu i *Ruth* adael ei gwlad a chalyn *Naomi* ei gwaudd, i fyned ac aros gyd â hi yngwlad Canaan (yr hon nid yw ond portreiad or nef) yn vnig am yr hyn a glywsai hi am Dduw Israel (er nad oedd iddi hi addewid o gael dim rhan yno) pa fodd y dylit ti ganlyn dy *fam sanctaid yr Eglwys* i fyned at Grist i'r nefol ar tragwyddol Canaan; yn yr hon y rhoes Duw i ti *etifeddiaeth tragywyddol*, gwedi ei *sicrhau* trwy gyfammod sanctaidd gwnenthuredig yn ei air ef, *scrifennedig* a gwaed ei

fab,

fab, *seliedig* ai yspryd ac a'i sacramentau? hyn yw dy ddedwyddwch tragywyddol yn neyrnas nefoedd, lle bydd dy fywyd yn gyfundeb ar bendigedig *Drindod*, a'th lawenydd yngwydd yr oen, dy swydd canu, dy gerdd *Alleluiah*, dy gyd gerddorion Seintiau ac Angelion: lle y mae ieuengtyd yn cynyddu heb heneiddio byth, glendid yn parhau, heb ddiflannu, cariad yn amlhau byth heb oeri, iechyd heb wanhychu, a bywyd yn aros byth heb ddiweddu.

*Myfyrdod yn hyfforddi Cristion i gymhwyso atto ei hûn y rhagddywededig wybodaeth am Dduw ac am dano ei hûn.*

TI a weli gan hynny o ddŷn, mor resynol a melldigedig yw dy gyflwr di, trwy lygredigaeth dy natur, heb Grist, yn gymmaint ac y mae y scrythyrau yn cyffelybu dynion drygionus i *lewod*, *eirth*, *teirw*, *cyffylau*, cŵn, ar fâth greaduriaid gwylltion yn eu bywyd: a diammau fod cyflwr dŷn *colledig*, yn ei farwolaeth yn waeth

eth na chî, neu 'r creadur bryntaf yn y byd. O blegid yr *anifail* ( yr hwn ni wnaed ond er mwyn dŷn) pan fyddo marw y mae yn diweddu ei holl drueni yn ei farwolaeth. Ond dŷn ( sy 'n meddu enaid *rhesymmol* ac *anfarwol*, ) gwedi ei wneuthur ar lûn Duw, i wasanaethu Duw) pan ddibenno drueni y bywyd hwn, y mae yn rhaid iddo roi cyfrif am ei holl anwiredd; a dechrau goddef y trueni hynny, y rhai ni *ddyweddant byth*. Nid oes greadur yn y byd ond dŷn yn gorfod iddo roi cyfrif o'i fuchedd yn ei farwolaeth: nid rhaid i greaduriaid anifeilaidd direswm roi cyfrif am eu gweithredoedd, na'r Angelion da er bod ganddynt reswm roi cyfrif chwaith, am nad oes ynddynt ddim pechod. Ac am yr angelion drwg, y maent hwy heb obaith, gwedi eu heuogfarnu yn barod: fel nad rhaid iddynt hwy wneuthur cyfrif ym mhellach. Dŷn yn vnig yn ei farwolaeth sydd i roi cyfrif ger bron Duw am ei fywyd.

Or tû arall yr wyt yn gweled (o ddŷn) mor ddedwyddol a bendigedig yw dy gyflwr gwedi dy wir gymmodi â Duw yng-Hrist,

ynghrist, yn hyn o beth dy fod yn cael ail dderbyn llun delw Dduw, ac adfeiriad o'th lywodraeth ar yr holl greaduriaid, nid wyt ti ond ychydig is na'r Angelion yn y byd hwn, a gogyfuwch a'r Angelion yn y byd a ddaw, ie o herwydd dy natur wedi ei derchafu, trwy bersonol vndeb a *Mâb Duw*, a thrwyddo ef a gogonniant y drindod goruwch Angelion: cyfeill-frawd Angelion, mewn grâs ysprydol, a gogonniant tragwyddol. Dy di a welaist mor ogoneddus a pherffaith ydyw Duw, a bod dy brif lawenydd a'th ddedwyddwch yn sefyll a'r gaffael tragywyddol gymmundeb a'i *Fawrhydi ef.*

Yr awrhon (gan hynny) o bechadur anedifeiriol, yn ymwascaroedd *Iesu Grist*, yr wyf yn deisyf arnat: ie ac yn dy dynghedu fal yr wyt yn caru dy iechydwriaeth dy hun, yn ddifrifol i ystyried gyd â myfi, mor gau, mor ofer, ac mor wael, yw 'r holl bethau, sydd yn dy attal, a'th rhwydo yn y gresynol a'r melldigedig gyflwr yma, yn yr hwn yr wyt yn byw? ac sydd yn dy rwystro i gael ffafr Duw, a gobaith o dragywyddol fywyd a dedwyddwch.

*Myfyrdod am y rhwystrau sy'n, attal pechadur oddiwrth ymarfer Duwioldeb.*

Y *Rhwystrau* hynny ydynt saith yn arbennig:

1. Yn gyntaf: Camgymeryd yn anwybyddus iawn ddeall rhyw fannau o'r scrythur sanctaidd, a rhyw fannau o brif-byngciau crefydd gristianogawl.

Yr scrythyrau a gamgymerir yw y rhai hyn:

1. Ezech. 33. 14. 16. *Pa bryd bynnag y bo yn edifar gan* bechadur ei bechod, *mi a ollyngaf dros gof yr holl &c.* Oddiymma y mae y dŷn cnawdol yn casglu: *y geill ef edifarhau pan fynno.*

Y mae yn wir, pa bryd bynnag yr edifarhao pechadur y maddau Duw, eithr nid ydyw yr scrythur yn dywedyd y geill pechadur edifarhau pan y mynno, ond pan roddo Duw iddo ei râs, Llawer (medd yr scrythur) pan fynnent edifarhau, a wrthodwyd; ac ni allent edifarhau, er iddynt geisio yn ddyfal trwy ddagrau, pa gyssur y mae yr scrythur hon yn ei roddi i ti, yr hwn

hwn nid edifarhaist, ac ni wyddost pa vn a wnai a'i cael grâs i edifarhau yn ol hyn, a'i nas ceffych?

2. *Math.* 11. 28. *Dewwch attaf fi bawb a'r sydd yn flinderog ac yn llwythog ac mi a esmwythâ arnoch.* O ddiyma y mae 'r dŷn drygionus yn deall, y dichon ef ddyfod at Grist pan fynno. Eithr y mae yn rhaid iddo wybod na ddaeth dyn erioed at Grist (ond yr hwn fel y dywaid *Petr*) *gan adnabod ffordd cyfiawnder a ochelodd halogedigaethau y byd trwy adnabyddaiaeth ein harglwydd a'n iachawdwr Iesu Crist.* Dyfod at *Grist* yw *edifarhau* a *chredu.* A hyn ni ddichon neb ei wneuthur oddieithr iw dâd nefol ei dynnu a'i râs ef. Isa. 1. 18.
Ioa. 6. 25

3. Rhuf. 8. 1. *Nid oes damnedigaeth i'r rhai sydd ynghrist Iesu.* Gwir: ond y cyfryw yw y rhai, nid ydynt yn rhodio yn ol *y cnawd* (fel yr wyt ti) eithr *yn ol yr Yspryd,* yr hyn ni ddarfu i ti etto erioed ymrôi iw wneuthur.

4. 1. *Tim.* 15. *Crist Iesu a ddaeth i'r byd i iachau pechaduriaid: &c.* Gwir; ond y cyfryw bechaduriaid, y rhai mal *Paul* a droant oddiwrth eu buchedd anwireddus; ac nid fel tydi, yr hwn wyt

yn parhau i fyw mewn camwedd. Ob-
Tit.2.11. legid grâs *Duw yr hon, sy 'n dwyn ie-chydwriaeth i bob dŷn, sydd yn dysgu i ni wadu annwioldeb, a thrachwantau bydol, a byw yn llariaidd, yn gyfion, ac yn dduwiol yn y byd presennol hwn.*

5. *Dihar: 23. 26. Y mae gwr cyfiawn yn cwympo seithwaith yn y dydd, ac yn cyfodi, &c. (yn y dydd)* nid yw yn yr scrythur: yr hyn beth nid yw i'w ddeall cwympo i bechod. ond syrthio i drallod, yr hyn y mae ei elyn llidiog yn ei ddarparu i'r cyfiawn, oddiwrth yr hyn y mae Duw yn ei waredu: a phe bai yn meddwl cwympo i bechod a chôdi o bechod, beth yw hyn i ti, yr hwn y gall pawb weled dy godymmau bob dydd, ond ni all na Duw na dŷn weled dy gyfodiad eilwaith drwy edifeirwch?

6. *Esay 64. 6. Ein holl gyfiawnder ni sydd mal brattiau budron.* O ddiyma y mae 'r Cristion cnawdol yn casclu, gan weled nad yw gweithredoedd *gorau y Saintiau* gorau ddim gwell; wrth hynny y mae ei weithredoedd yntau yn ddigon da; ac am hynny nid rhaid iddo chwaith ymosidio gormod, fod ei gre-
sydd

fydd mor amherffaith. Ond nid yw *E-
saj* yn y lle yma, yn meddwl gweithre-
doedd yr adgenedledig: megis gwe-
ddiau difrifol yn enw Duw; cardodau
elusenaidd o eigion trugaredd; dioddef
o achos yr Efengyl, colli ei dda, a cho-
lli ei waed, a'r fath weithredoedd, y
rhai y mae *Paul* yn eu galw yn *ffrwyth* Gal.5.22.
*yr Yspryd*; Eithr y prophwyd gan wne-
uthur gostyngedig *gyffes* yn enw Eglwys
yr Iuddewon, pan syrthiasai hi oddiwrth
Dduw i ddelw-addoliaeth, sy 'n cydna-
bod mai tra fuont hwy trwy waith eu
pechodau aflan, gwedi eu neilltuo o-
ddiwrth Dduw, megis *cleifion gwahanol*
o achos eu doluriau heintus, a'i cada-
chau halogedig, yw neilltuo oddiwrth
ddynion; Nid allai eu *cyfiawnder goreu*
hwynt, fod ond yn wrddedig yn ei ol-
wg ef. Ac er nad yw ein gweithredo-
edd gorau ni, (o'i cystadlu a chyfiawn-
der Crist) ddim gwell na brattiau aflan:
etto yn nerbynniad Duw er mwyn Dad.3.8.
Crist fe a'i gelwir yn *wisc wen*; *iê lliain* Ier.13.23
*pur disclair*, digon anhebyg i *frethni y* Zac.3.4.
*llewpart a'r gwiscoedd* budron.

7. *Iaco.* 3.2. *Mewn llawer o bethau yr
ydym ni bawb yn llithro.* Gwir: ond nid

 yw

yw plant Duw yn pechu ym mhob peth fel yr wyt ti, heb na ffrwyno eu trachwantau na marwhau eu llygredigaethau, ac er bod gweddillion pechod, yn aros yn y plant cuaf gan Dduw, fel y byddei raid iddynt, lefain: *Ein tâd*
Gal. 4.15 Rhuf. 5.8 *yr hwn wyt yn y nefoedd, maddau i ni ein dyledion*: Etto yn y Testament newydd, ni elwir neb yn gyffredinol yn bechaduriaid, ond y rhai diailgenedledig. Eithr yr *Adgenedledig* o herwydd ei ffyddlon fwriad i wasanaethu Duw mewn purdeb sancteiddrwydd, ym mhob lle, a elwir yn *Seint*. Yn gymmaint a bod *Ioan* yn dywedyd: mai pwy bynnag *a aned o Dduw, ni phecha*: hynny yw, nid yw yn byw mewn aflendid yn ewyllyscar, gan adael i bechod reoli ynddo fel yr ydwyd ti. Na thwylla mo honot dy hûn ac enw Cristion: pwy bynnag a fo arferol o fyw mewn rhyw *bechod anafus*, nid yw efe yn byw mewn cyflwr grâs. Pob vn gan hynny (medd S[t] *Paul*) a *enwo enw Crist ymadawed ag anwiredd*. Nid yw'r adgene-
2. Tim. 2. 19. dledig yn pechu ond o wendid, y maent hwy yn edifarhau a Duw yn maddau, am hynny nid ydynt yn *pechu i*

*far-*

*farwolaeth.* Y mae 'r colledig yn pechu yn faleusus o'i lawn awydd, ac yn ymlawenhau ynddo: fel o'i gwir fodd, y mae pechod yn ymadel â hwynt cyn iddynt hwy ymadel ag ef. Nid edifahant, ac ni faddau Duw. Am hynny y mae eu pechodau yn *farwol* (medd St *Ioan*) neu yn hytrach yn *anfarwol*, megis y dywaid St *Paul*, Rhuf 2. 5. Nid iawn escus (gan hynny) yw dywedyd, pechaduriaid ydym ni oll. Gwir gristianogion (di a weli) ydynt oll yn Saint.

8. Luc. 23. 43. Y *lleidr* a drôdd a'r y ffun olaf o'i enau, a dderbynniwyd i *baradwys*. Beth am hynny? O caf fi gymmaint o amser, ac y gallwyf ddywedyd wrth farw, *Arglwydd* trugarha wrthyf, mi gaf finnau yr vn ffunyd fy achub am gwaredu. Ond beth onichai di? ac *etto llawer yn y dydd hwnnw a ddywaid Arglwydd, Arglwydd*, a'r *Arglwydd nid adnebydd mo honynt.* Y lleidr a achubwyd, o herwydd iddo edifarhau; eithr ei gyfaill ni chafas râs i edifarhau, efe aeth yn ddamnedig. Gochel gan hynny, rhag wrth hyderu mewn hwyr edifeirwch *yn dy ddiwedd*

ar y ddaiar, orfod arnat edifarhau yn rhyhwyr heb *ddiwedd* yn vffern.

9. Ioan.i. *Gwaed Iesu Grist sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod*, ac 1.*Ioan*. 2. 1. O *phecha neb y mae i ni ddadleuwr gyd a'r Tâd Iesu Grist y cyfiawn &c.* Oh cyssurus: Ond gwrandewch beth y mae S^t *Ioan* yn ei ddywedyd yn yr vn lle: sy *mhlant bychain y pethau hyn a scrifenwais attoch fal na phechech*. Os dy di (gan hynny) a adewi dy bechod, y cyssurau hyn sydd yn dy eiddaw, onid ê ni pherthynant i ti.

10. Rhuf. 5. 20. *Lle yr amlhâodd pechod, mwy o lawer yr amlhaodd grâs.*

Oh odiaeth, eithr gwrandewch beth a ddywaid *Paul* yn ol hynny: *beth a ddywedwn gan hynny, a barhawn mewn pechod, fel yr amlhao gras?* na *atto Duw, a ninnau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn fyw etto ynddo ef?* Rhuf. 6. 1 2. Nid yw y lle yma yn dyscu i ni ryfygu, ond na ddylem anobeithio. Nid oes (gan hynny) yr vn o'r addewidion hyn, yn addo grâs i neb, ond i'r galon edifeiriol.

Seiliau

Seiliau crefydd a gamgymmerir y-dynt:

1. O ddiwrth athrawiaeth *cyfiawnhâd* trwy ffydd yn vnig: Cristion cnawdol a gascl; nad ydyw gweithredoedd da angenrheidiol, y mae yn canmol eraill a wnelo weithredoedd da, eithr y mae ef yn coelio am dano ei hûn y bydd efe cadwedig trwy ei ffydd, heb wneuthur dim or fâth bethau. Ond ef a ddylai wybod, er nad yw gweithredoedd da angenrheidiol i gyfiawnhau dŷn: etto y maent yn angenrheidiol i iechydwriaeth: Canys *gwaith Duw ydym, wedi ein creu yngbrist Iesu i weithredoedd da, y rhai a ragddarparodd Duw i ni rodio ynddynt.* Pwy bynnag gan hynny mewn oedran a synwyr ni wnêl weithredoedd da wedi ei alw, ni eill ef fod yn gadwedig: ac ni ragddarparwyd ef erioed i fywyd tragywyddol. Am hynny y dywed yr scrythur y tâl *Crist i bob dŷn* Rhuf 26.
*yn ol ei weithredoedd.* Nid yw Crist 2.Cor.5.8 Dad.22,
yn gwneuthur cyfrif o ddim oedd yn 21.
yr Angelion or saith eglwys, ond yn eu gweithredoedd, ac yn y dydd diwaethaf, ef a rydd yr etifeddiaeth ne-

 fol,

fol, yn vnig ir rhai a wnaethant weithredoedd da; yn porthi 'r newynog, yn dilladu 'r noeth ac felly, &c. Yn y dydd hwnnw *cyfiawnder* a wisc y goron. Heb *gyfiawnder* heb *goron*, heb *weithredoedd* da (yn ol ei dalent) heb *wobr gan Dduw* oddieithr *dial*: Bod yn gyfoethog mewn gweithredoedd da, ydyw 'r sail gadarnaf o'n sicrwydd ni i dderbyn bywyd tragywyddol. O blegid gweithredoedd da ydynt, wir ffrwythau gwir ffydd, yr hon sydd yn ymaflyd yngrist a'i vfydd-dod i iechydwriaeth. Ac nid oes ffydd arall

Gal. 5. 6. *yn llesshau yngbrist, ond yr hon sydd yn gweithredu trwy gariad.*

Ac (oddieithr yngweithred cyfiawnhad) y ffydd yr hon sydd yn vnig yn cyfiawnhau, nid yw yn vnig vn amser, eithr ynghyda gweithredoedd da: Fel y pren a'i ffrwyth, yr haul a'i lewyrch, y tân a'i wrês, y dwfr a'i wlybanniaeth; a'r ffydd honno, yr hon nid ymgyfiawnhâ trwy weithredoedd da o flaen dynion, nid yw ond ffydd farwol; yr hon ni chyfiawnha fyth enaid dyn o flaen Duw. Ond y ffydd sydd yn cyfiawnhau a bureiddiâ y galon ac a sancte-

ſancteiddia yr holl ddŷn trwyddo.

2. O ddiwrth *athrawiaeth* tragwyddol *rhagddarpariad* Duw a'i ddigyfnewidiol *oſodiad*, y mae ef yn caſglu: Os rhagddarparwyd ef i fod yn gadwedig, ni eill ef amgen na bo, os i ddamnedigaeth, ni eill ei amcanion wneuthur iddo ddim daioni. Am hynny nid yw holl weithredoedd Duwioldeb ond ofer. Eithr ef a ddylai ddyſcu ddarfod i Dduw ragddarparu at y *moddion* fel at y *diwedd*. yr hwn gan hynny a ragddarparodd Duw i fod yn gadwedig, hynny yw at y diwedd, a ddarfu iddo ei ragddarparu yn gyntaf i gael ei *alw* a'i ſancteiddio a'i *wneuthur yn agwedd a llun ei fab*, yr hyn yw y moddion, a'r rhai (medd *Petr*) a ddewiſwyd i iachydwriaeth, a ddewiſwyd hefyd *i ſancteddiad, yr yſpryd*. Os ty di gan hynny ath oſodi dy hûn ar air ac agwedd Crist dy Arglwydd ac a vfyddhei i ddaionus gynhyrfiadau yr Yſpryd glân, drwy ymadel a phechod, a byw mewn buchedd dduwiol: yno bydded diogel gennit, dy fod yn vn o'r rheini, yn ddiammeu a ragddarparwyd i iechydwriaeth tragywyddol. Os amgen, na feiâ ar ragddarpariad Duw, ond ar 1. Pet. 1. 26.

dy

dy bechod dy hûn, a'th wrthryfelgar feddyliau. Ymchwel di at Dduw, a Duw yn rasusawl ath dderbyn di, fel y derbynniodd y *Tâd* y *Mâb afradlon*; ac wrth dy droad, fe fydd eglur, yn gystal i Angelion ac i ddynion; *dy fod di yn perthyni'w etholedigaeth ef.* Onis gwnei? pa ham yr achub Duw dy di?

Lu.15.10

3. Pan glywo y Cristion cnawdol, nad oes gan ddŷn rydd-did ewyllys at ddaioni, y mae ef yn gollwng awen y ffrwyn at ei feddwl llygredig ei hûn, fel ped fai heb fod yn perthyn iddo ef, nac ymattal, nac ymgospi; yn ddigwyddedig yn gwneuthur Duw yn awdur o bechod: gan oddef i ddŷn redeg i'r peth angenrheidiol yma. Ond efe a ddylai wybod roi o Dduw i *Adda* rydd-did ewyllys, i sefyll yn ei ddiniweidrwydd, os mynnai; eithr dŷn a gamarferodd ei ewyllys rhydd, ac a'i collodd ei hûn ac yntau. Gwedi y cwymp, y mae i ddŷn ynghyflwr llygredigaeth, ewyllys rhydd at y drwg, ac nid at y da. O blegid yn yr stât hon (meddyr *Apostol*) nid *ydym ni yn gallael meddylied un meddwl da.* Ac nid ydyw Duw rwymedig i roi ini eilwaith yr hyn a gollasom yn enbydus,

2.Cor.3.5

dus, heb gymmeryd gofal mwyach am ei ynnill drachefn. Ond cyn gynted ac y byddo dŷn yn adgenedledig, y mae *grâs Duw yn hyfforddi ei ewyllys at ddaioni,* fel y mae ef yn gwneuthur yr holl bethau da, a'r a wnelo, ac ewyllys rhydd: O blegid felly y mae 'r Apostol yn dywedyd fod Duw *o'i ewyllys da, yn gweithredu ynom yn gystal yr ewyllys a'r gwaith,* (fel y mae 'r Apostol yn ei ddeongl) *ymlanhewch eich hunain oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac Yspryd, gan berffeithio eich sancteiddrwydd yn ofn Duw.* Ac yn y cyflwr yma, y mae i bob cristion ewyllys rhydd; ac fel y mae yn cynyddu mewn grâs, felly y mae ei ewyllys yn cynnyddu mewn rhydd-did: O blegid *pan fo y mâb yn ein gwneuthur ni yn rhydd, yno yr ydym ni yn rhydd ddiogel: ac lle bo yspryd yr Arglwydd yno y mae rhydd-did:* canys y mae 'r yspryd sanctaidd yn tynnu eu meddyliau, nid o'i hanfodd, ond *trwy raffau cariad,* can, 1.44. Gan lewyrchu eu meddyliau i adnabod y gwirionedd: gan gyffnewidio eu calonnau i garu y gwyrionedd adnabyddus; gan nerthu pob vn o honynt yn (ôl y grâs a dderbynniodd)

Phil.2.13
2.Cor.7.1
Ioa.8.3.9.
Ioa.6.44.

niodd) i wneuthur y daioni; yr hyn y mae yn ei garu. Eithr nid wyt ti yn arferu mo rydd-did dy feddwl, cyn bélled ac y rhoes Duw yn rhydd: O herwydd yr ydwyd ti yn fynych yn ewyllysgar (yn erbyn cyfraith Dduw i beryglu dy enaid dy hûn) yn gwneuthur peth (yr hyn ped fai gyfraith y Brenin dan boen marwolaeth neu golli dy dda, yn ei vvahardd neu ei vvrthvvynebu) nis gvvneit. Na vvna gan hynny moth ddiffyg *ewyllys rhydd i ddaioni*, i fod yn gymmaint achos o'th vvaith yn pechu, ac yvv eisiau calon gariadus i vvasanaethu dy Dâd nefol.

4. Pan glyvvo y dŷn cnavvdol na ddichon neb (er pan gvvympodd *Adda*) gyflavvni cyfraith Dduvv, a chadvv ei holl orchymynnion. Y mae ef yn hyfedr i bechu yn rhyfygus fel rhai eraill: ac yn ei fodloni ei hûn ac ychydig feddyliau da: ac onid yvv ef yn gvvbl gynddrvvg a'r gvvaethaf, y mae ef yn gvveled ei fod ei hûn yn gystal adgenedledig ac yvv 'r gorau. Ac y mae ef yn cyfrif pob evvyllysgar naghau o vvneuthur daioni, neu gydhuno a'r drvvg, yn amhossiblrvvydd y gyfraith.

Eithr

Eithr efa ddylasai ddysgu, er (yn ol y cvvymp) na allodd neb ond Crist (yr hvvn oedd yn *Dduw* ac yn *Ddyn*) gyflavvni yr holl gyfraith yn berffaith: etto y mae pob gvvir gristion, cyn gynted ac ei bo yn adgenedledig, yn dechrau cadvv holl orchymynnion Duvv mevvn gvvirionedd, er nas geill mevvn perffeithrvvydd cyflavvn. Ac felly (gyd â *Dafydd* maent hvvy yn gosod eu calonnau i gyflavvni *gorchmynnion Duw bob amser hyd y diwedd.* Ac yno y mae Yspryd y grâs (yr hvvn yn ol yr addevvid a dyvvelldir allan yn amlach dan yr Efengyl) yn eu diddanu hvvynt, ac yn eu cynnorthvvyo yn eu hamcannion i vvneuthur yr hyn a orchymynno ef iddynt ei vvneuthur. Ac vvrth vvneuthur hynny, y mae Duvv yn derbyn eu *hewyllys* da a'i *hamcan*, yn lle cyflavvniad y gyfraith. Gan osod haeddedigaethau Crist, (yr hvvn a gyflavvnodd y gyfraith trosom ni) i atteb dros ba beth bynnac a fo diffygiol yn ein vfydd-dod ni. Ac o herwydd hyn, y mae S^t *Ioan* yn dywedyd, nad *yw gorchymynnion Duw yn drymmion.* 1.Ioa.3.5

Ac y mae S^t *Paul* yn dywedyd, *yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist yr hwn*

*sydd*

Phil.4.13 *fydd ynfy nerthu i.* Ac yr ydis yn 'dywedyd am *Zachari ac Elizabeth iddynt hwy rodio yngorchymynnion yr Arglwydd yn ddiargyoedd.* Ac o'r achos yma y
Luc.1.16
Ioa.15.10 mae Crist yn erchi iw ddisgyblion gymmeryd gofal am gadw ei orchmynnion: megis y dystiolaeth gywiraf o'n cariad tu ac atto. Cymmaint gan hynny y mae dŷn yn caru Crist ac y mae efe yn gwneuthur cydwybod o rodio yn ei orchmynion ef; a pha fwyaf a fo ein cariad ni, tu ac at Grist, lleiaf a fydd ein poen ni yn cadw ei gyfraith.

Melldith y gyfraith, yr hwn (dan y Testament hên) oedd mor ddychrynadwy, dan y newydd trwy farwolaeth Crist a ddiddymmwyd i'r adgenedledig. Y toster oedd yn ei gwneuthur yn amhossibl i'n naturiaeth ni o'r blaen, sydd yr awrhon gwedi ei dymmeru gan yr Ysyryd i'r newydd-enedig, fel y mae hi yn ymddangos yn hawdd ac yn esmwyth. Yr oedd yr Apostolion yn dirio a'r yr Iddewon, a'r cenedloedd digred, nad oedd bossibl cadw'r gyfraith drwy nerth naturiaeth lygredig. Ond pan fyddent hwy yn dyscu Cristiannogion credadwy, y maent hwy yn gofyn v-

fydd-

fydd-dod i'r gyfraith (yr hon yw rheol cyfiawnder) gwir *ufydd-dod, mewn gair a gweithred: marwhau eu haelodau: croeshoelio y cnawd, ei wynniau a'i drachwantau: adgyfodiad i newydd-deb buchedd, rhodio yn yr Yspryd, gorchfygu y byd drwy ffydd*, fel er na allo neb ddywedyd gid â Christ, pwy o honoch am hargyhoedda i o bechod? fe ddichon pob Cristion adgenedledig ddywedyd am dano ei hun, pwy o honoch am hargyhoedda fi o fod yn odinebwr, puteiniwr, tynghedwr, meddwyn, lleidryn, occrwr, gorthechwr, balch, cenfigennus, yn gybydd, yn dorrwr y Sabboth sanctaidd, yn gelwyddog, yn esceuluso cyffredin wasanaeth Duw, a'r fath bechodau dybryd gorthrwm? ac onid ê nid yw efe wir gristion. Pan bedidio dŷn a gwneuthur cydwybod o ddilyn llywodraeth cyfraith Dduw: yno y mae Duw yn ei roddi yntau i fynu iw arwain gan ei drachwantau ei hûn, yr arwydd pennaf o feddwl anghymeradwy. Fel hyn y gyfraith (yr hon gwedi y cwymp ni ddichon neb oi naturiol allu ei chyflawni: a gyflawnir mewn gwirionedd gan bob Cristion adgenedledig,

Rhuf. 15. 18.
Col. 3. 5.

Rhuf.8.9 dig, *trwy rasusol gynnorthwy Yspryd*
Luc.11.13 *Crist.* A'r Yspryd hwn a rydd Duw i bob Cristion a weddio am dano, ac a ostyngo ei galon i gadw ei gyfreithiau ef.

V. Pan glywo y dŷn di-adgenedledig, fod Duw yn ymhoffi mwy yn y meddwl oddifewn, nac yn y dŷn oddiallan, yno y mae efe yn meddwl ynddo ei hûn, fod pob parch, neu grefydd o diallan, naill a'i 'n ofergoel a'i yn afraid.

O hyn y digwydda mai anfynych iawn y gostwng ef a'r ei liniau yn yr Eglwys: a'i fod yn gwisco am ei ben wrth ganu Psalmau, neu a'r weddiau cyffredin: yr hyn beth ni chynnygiai y budredd brwnt yngŵydd tywysog, neu ŵr anrhydeddus. Ac am y catwo efe ei feddwl i Dduw, y mae yn tybied mewn pethau eraill y gall ddilyn arferion y byd. Y mae efe yn rhannu ei feddyliau, ac yn rhoi hyn a hyn i Dduw, a hyn a hyn iw drachwantau; ie efe a rêin y dydd Sabbôth â Duw, ac a rydd gan mwyaf, y naill hanner i Dduw, ac a dreulia y llall yn gyfan yn ei ddifyrrwch ei hûn. Eithr gwybydd (o ddŷn cnowdol) na fynn yr hollalluog Dduw hanner

hanner gwasanaethu, o'herwydd efe a greawdd ac a waredodd yr holl ddŷn. Ac fel y mae Duw yn ffieiddio gwasanaeth y dŷn oddiallan heb y galon oddimewn, megis rhagrith: felly y mae ef yn cyfrif gwasanaeth oddimewn, heb anrhydedd oddiallan yn ffieiddbeth halogedig: y mae ef yn gofyn y ddau yn ei wasanaeth. Yn dy weddi (gan hynny) ymostwng ar dy liniau i dystiolaethu dy ostyngeiddrwydd: dercha dy olwg, a'th ddwylaw, i arwyddocau dy grediniaeth: gostwng dy ben i lawr, cura dy ddwyfron, yn arwydd o'th edefeirwch: ac yn enwedig galw a'r Dduw â chalon bur: gwasanaetha ef, Mat.4.10
yn sancteiddid yn gyfan, ac yn vnig: Canys Duw, a thywysog y byd hwn, ydynt ddau Arglwydd gwrthwyneb iw gilydd, am hynny ***nid yw bossibl i neb wasanaethu 'r ddau.***

VI. Y mae Cristion diadgenedledig yn cymmeryd pregethiad yr Efengyl yn beth a ellir ei hepcor, a bod iddo eiddewis a'i arfer a'i peidio a'i arfer, pan fynno: Ond pwy bynnag wyt a fynnit yn ddiogel sicrhau dy galon, o'th fod yn vn o ddewisedig ddefaid Crist: rhaid

id itti gymmeryd gofal mawr, a gwneuthur cydwybod ( os iw bossibl itti wneuthur ) i wrando pregethu gair Duw: O blegid, pregethiad yr Efengyl ydyw 'r prif gyfrwng trefnedig a osododd Duw i ddychwelyd eneidiau, y rhai a *ragddarparodd* ef eu bod yn gadwedig: am hynny y gelwir: *gallu*
Rh.1.16. *Duw er iechydwriaeth i bob dŷn sydd yn credu.* Ac lle nid yw yr ordinhâd hwn, y mae 'r *bobl yn golledig* : a phwy bynnag a'i gwrthodo: fe fydd esmwythach *I dîr Sodom a Gammorha ddydd y farn nac i'r bobl hynny.* Yn ail, pregethiad yr Efengyl ydyw *baner Christ; at yr hon*
Ma.21 24 *yr ymgynnull yr holl filwyr a'r etholedigion bobl.* Pan osoder allan y faner hon megis y gwneir a'r dydd yr Arglwydd, nid yw efe o bobl Dduw yr hwn *ni*
Zac.14.17 *chyrcho atti, ac ni ddisgyn defnyn o ddwfr ei ras ef a'r ei heneidiau.* yn drydydd: dyma 'r moddion cyffredin, drwy 'r hyn y mae 'r Ysprydd glân, yn ennyn ffydd yn ein calonnau, heb yr hyn ni allwn ni ryngu bodd Duw. Os gwrando a'r lais Crist ywr nôd pennaf ar etholedig ddefaid Crist, ac a'r gyfaill y priodfab: yno ni ddichon na bo hwnnw nôd dychrynadwy

nadwy o afr wrthodedig, yr hwn a esceulufo, neu ddiyſtyro wrando pregethiad yr Efengyl. Na fyddylied neb fod yr ymadrodd hwn yn ffôl: O blegid trwy 'r *ffollineb yma a'r bregethu, y mae yn rhyngu bodd i Dduw achub y rhai a gredant.* Ofnadwy yw eu cyflwr hwynt gan hynny y rhai ſy 'n byw mewn heddwch, heb ofal am *bregethiad yr Efengyl.* A eill dynion ddiſgwyl am drugaredd Dduw a dirmygu y moddion iw gael? yr hwn (medd Criſt am bregethwyr ei Efengyl) *a'ch dirmygo chwi am dirmyga innau yr hwn ſydd o Dduw* Lu.10.16
*a wrendy eiriau Duw*, am hynny *nid ydych chwi yn gwrando, am nad ydych o* Ioa.8.47
*Dduw.* O ni buaſai i'r Iſraeliaid glywed *cennadwri Phineas* ni wylaſent byth. O ni buaſai bregethu o *Ioan fedyddiwr* Lu.7.32.
ni buaſai yr Iuddewon byth yn alaru, 33
oni buaſai i'r rhai a *groeſhoeliodd Griſt* Act.23.5.
*glywed pregeth Petr*, ni buaſai fyth gynhyrfriw yn eu calonnau: oni bai glywed o'r *Niniſeiaid bregeth Io-* Ioa.3.5.
*nas ni buaſent hwy byth yn edifarhau:* ac oni wrendewi dithau ac edifarhau ni Luc.13.5
byddi di byth yn gadwedig.

VII. Yr opiniwn, nad yw 'r *Sacramentau*

*mentau ond arwyddion noethion a ſelau o addewid Duw a'i râs i ni:* a wnaeth fawr rwyſtr ar Dduwiodeb; lle mewn gwirionedd y maent yn ſelau yn gyſtal o'n gwaſanaeth a'n hufydd-dod ni i Dduw: yr hwn waſanaeth, onis cyflawnwn iddo ef nid yw 'r Sacramentau yn ſelio dim grâs i ni: eithr o derbyniwn hwynt tan fwriadu bod yn weiſion ffyddlon edifeiriol, yno y mae y Sacramentau nid yn vnig yn arwyddocau, ac yn cynnig, eithr yn hytrach yn ſelio a gweithredu grâs yſprydol oddifewn, yr hyn oddiallan y maent yn ei addo ac yn ei arwyddocau. Ac i'r perwyl yma, y gelwir y *bedydd ymolchiad adenedigaeth*, ac adnewyddiad yr Yſpryd glân; a *Swpper yr Arglwydd, cymmun corph a gwaed Criſt*. Pe coelid y gwirionedd hwn: y Sacramentau ſanctaidd o ſwpper yr *Arglwydd*, a *gymmeryd* yn fynychach, ac mewn mwy parch ac anrhydedd.

VIII. Yr olaf, ac nid y cyff lleiaf, wrth yr hwn y mae Duwioldeb yn cael tramgwydd mewn achoſion crefydd, ydyw addurno campau drwg ac enwau rhinweddau da; megis galw *carowſio*

*me-*

*meddwaidd*, yfed iechyd, *tywallt gwaed gwirion*, gwroldeb, *glothineb*, lletcugarwch, cybydd-dra, cynnildeb, *puteindra* caru merched, *cyssegrwerth*, rhodd o ddiolchgarwch, *balchder*, ymddygiad hoiw, *gwenhieithio*, medrusrwydd, *meibion Belial*, cymdeithion da, *posthineb*, ffromder, *serthrwydd* digrifwch, felly or tu arall, galw llarieidd-dra mewn geiriau a gweithredoedd, *rhagrithiad*: elusenau, gwag ogoniant, Duwiolder *ofergoel*: Zêl mewn crefydd, *piwritaniaith*, gostyngeidd-dra *llyfrdra*, *gweuthur* cydwybod, mynyldra, &c.

A thra fôm ni fal hyn yn galw drwg yn dda, a da yn ddrwg, y mae gwir dduwioldeb yn cael mawr rwystr i fyned iw thaith a'i helynt. A hyn yma am y rhwystr cyntaf ar dduwioldeb, wrth gamgymeryd gwir feddwl mannau hynod or scrythyrau, a seiliau crefydd gristianogawl.

## *Yr ail peth sydd yn rhwystro Duwioldeb.*

2. *Drwg addysc y gwŷr mawr.* Ystod bucheddau halogedig yr rheini, y

maent

maent hwy yn ei ddilyn o flaen gorch-chymmyn y Duw sanctaidd, felly pan welont hwy y gwyr mwyaf yn y deyrnas, a llawer o'r gwyr boneddigion pennaf yn y wlad, heb gymmeryd na gofal na chydwybod o wrando pregethau, nac o dderbyn y Cymmun, nac o sancteiddio Sabboth yr Arglwydd &c. Eithr yn *dyngwyr*, yn *odinebwyr*, yn *feddwon*, yn *gribddeilwyr*, ac felly &c. yno y maent hwy yn tybied nad ydyw y sanctaidd ordiniadau hyn, bethau o bwys mawr; canys pe byddent; ni wnai y cyfrywwŷr mawr doethion cyn lleied cyfrif o honynt. Ac wrth hyn y maent hwy yn tybied nad yw crefydd beth angenrheidiol. Ac am hynny lle dylent (fel Cristianogion) rwyfo yn erbyn ffrwd anuwioldeb tu a'r nefoedd, y maent hwy yn ymroi i fyned gyda'r gynulleidfa bendramwnwgl i vffern, gan dybied fod yn amhossibl i Dduw ollwng cynniser i ddamnedigaeth. Lle oni bai ddarfod i Dduw y byd hwn, ddallu llygaid eu meddiliau, fe ddyscai yr *Scrythur Sanctaidd* iddynt: *nad llawer o rai doethion yn ôl y cnawd, nad llawer o rai galluog, nad llawer o rai boneddigi-*

*ma elwir &c.* Ond gan mwyaf y *tlodion sydd yn derbyn yr Efengyl. Ac ychydig o'r cyfoethogion a fydd cadwedig.* Ac er bod llawer *gwedi eu galw etto ni bydd ond ychydig wedi eu dewis.* Ac nid yw maintiolaeth lliaws yn gallu cadw oddiwrth ddamnedigaeth: megis y derchafodd Duw rai gwyr i fowredd vwch law eraill: felly y mae ef yn disgwyl iddynt flaenori eraill mewn crefydd a duwioldeb; Onid ê, mawredd gwedi ei gamarfer (yn amser eu *gorchwyliaeth*) a dry ynfwy *cospedigaeth iddynt, yn eu dydd cyfrif*; y pryd y bydd y gwŷr mawr a'r galluogion pechadurus, yn gystal a'r tlodion, caethion, eilldudion, yn dymuno i'r *creigiau a'r mynyddoedd syrthio arnynt a'i cuddio oddiwrth wyneb y barnwr, ac oddiwrth ei gyfion haeddedigol ddigofaint.* Nid ydyw ond cyssur gwan i ti, gael cynulleidfa fawr o wyr mawrion gyd â thi, yn gyfrannogion o'th tragwyddol boenedigaethu. Nid yw rhifedi y pechaduriaid yn yscafnhau, eithr yn trymhau y pechod megis yn *Sodom:* gwell yw gan hynny, fod yn gadwedig gyd a'g ychydig yn yr *Arch*, na bod gyd a'r holl fyd yn boddi

Ioa.11 5. Math.19. 23.24.

yn y diluw. Gwell yw rhodio gyd a'r ychydig Duwiol yn llwybr cyfing yr scrythyrau i'r nefoedd, nac ymwthio gyd a'r dyrfa anuwiol rhyd y ffordd lydan sydd yn tywys i vffern. Na âd gan hynny i iamplau gwyr mawr anuwiol dy attal oddiwrth edifeirwch; canys ni eill eu mawredd hwy y dydd hwnnw eu hachub eu hunain oddiwrth eu mawr anfeidrol boenedigaethau.

*Y trydydd peth sydd yn rhwystro Duwioldeb.*

3. *Diangc yn hir heb haeddedigol gosp yn y bywyd hwn.* O blegid (medd
Eccl.8.11 *Salomon*) nad yw 'r farn yn y fan wedi ei hadrodd yn erbyn drwg weithredwr, am hynny *y mae calonnau meibion dynion gwedi ymroi ollawl i wneuthur drwg, heb adnabod daioni Duw yn eu tywys i edifeirwch.* Ond pan gamarferer ei ammynedd ef, ac addfedu pechod dŷn, fe fydd ei gyfiawnder ef a'r vnwaith yn dechrau, ac yn gwneuthur dibeno bechadur: ac ynghyfair ei fod yn *hwyrfrydig i lid ac yn hir ymaros* fe dery o'r diwedd hyd adref a thrymder cospedigaeth

gaeth. Er eu gadael i redeg fwyfwy ar gyrru holl ddyddiau eu heinioes, etto bid diau y cânt dalu yr *hadling eithaf* yn nydd eu marwolaeth. A thra sont yn eu tybied eu hunain, yn ddiangol oddiwrth ddialedd, y maent eusys gwedi eu taro a'r trymmaf o farnedigaethau Duw; sef a chalon ni eill edifarhau. Y garreg yn yr arennau neu'r chwsigen sydd beunydd anguriol yn lladd Cyrph llaweroedd o ddynion. Eithr nid dolur ond y garreg yn y galon, o'r hon y bu *Nabal* farw, yr hon a laddodd fyrddiwn o eneidiau. Gwrthod y maent broffedigaeth Crist a'i groes: ond maent yn cael eu llabyddio gan ddihenyddwr vffern i angau tragywyddol.

O blegid nad yw llawer o'r pendefigion pennaf, a'r boneddigion gorau, yn cael eu taro a barnedigaeth bresennol, am dyngu yn felldigedig, godinebu, meddwi, treisio, halogi'r Sabbôth, ac esceuluso yn ddirmygus addoliant Duw, a'i wasanaeth: yno dechrau maent hwy ammeu rhagddarparwch Duw a'i gyfiawnder, y ddau lygad hynny a chwenychent hwy eu tynnu allan o Dduw, mor ewyllysgar, ac y tynnodd y *Philistiaid*

*ſtiaid* lygaid *Sampſon.* Peth iw ofni yn fawr yw, rhag iddynt annog yr Arglwydd i lefain yn eu herbyn, megis y gwnaeth *Sampſon* yn erbyn y *Philiſtiaid*; Gan eſceuluſo 'r gyfraith a rhodio yn ol eu calonnau eu hunain, hwy a dynnant (hyd y del ei ddynt hwy) olygon fy *rhagluniaeth*, am *cyfiawnder.* Arweiniwch fi gan hynny at y ddwy brif golofn, ar yr rhai y mae y deyrnas yn ſefyll: fely gallwyf dynnu y deyrnas a'r eu pennau a chael dial arnynt a'r vnwaith am fy nau lygad. Na âd i ammynedd Duw rwyſtro dy edifeirwch, ond am ei fod efe yn ymarhous, r mwyn hynny bydd dirhau chwannoccach i edifarhau.

### Y *Pedwerydd peth ſy'n rhwyſtro Duwioldeb.*

4. *Rhyfygu o drugaredd Duw.* O blegid pan argyoedder dynion, yn gyfion am eu pechodau, yn ebrwydd y maent hwy yn cymmeryd yn ymddiffyn iddynt: y darian yma, ſef y mae Criſt yn drugarog, ac felly y mae pob creadur yn gwneuthur Criſt yn ymddiffynnwr ei bechod ef. Megis ped fuaſai

ef yn dyfod i'r byd er mwyn pleidio gyd â pechod, ac nid i ddinistrio gweithredoedd y cythraul. Ar hyn o beth y mae 'r Cristion cnawdol yn rhyfygu, er iddo barhau dros ennyd yn ei bechod: na fyrhâ Duw moi ddyddiau. Eithr beth yw hyn, ond bod yn anghredadyn anhyblyg ? Gan ammeu, naill, ai fod Duw yn gweled ei bechodau, neu os yw yn gweled, nad yw yn gyfion. Canys os yw yn credu, fod Duw yn gyfion, pa fodd y geill ef dybied fod Duw, yr hwn fy 'n cospi rhai eraill yn drwm am bechod, yn ei garu ef, yr hwn fydd yn ewyllyfio parhau 'n oestad mewn pechod? gwir yw, fod *Crist yn drugarog.* eithr i *bwy*, yn vnig i'r rhai a edifarhâo ac *a drô oddiwrth eu hanwiredd yn Iacob.* Ond o bydd neb yn ei fendithio ei hûn yn ei galon, gan ddywedyd, *mi gaf dynghnedd yf, er i mi rodio yn ôl cyndynrhwydd fynghalon fy hûn, gan chwanegu meddwdawd* at *fyched, ni bydd yr Arglwydd trugarog wrth hwnnw &c.* O ynfydion pwy a feiddia ymfendithio eu hunain, pan fyddo Duw yn eu galw hwynt yn felldigedig. Edrych gan hynny pa cyn belled

Esay. 56 20. Deut. 29

lled wyt o ddiwrth gael edifeirwch y-
not dy hûn, cyn belled a hynny wyt
oddiwrth ficcrwydd am gael trugaredd
Yng-Hrist. *Gadawed gan hynny y dry-*
Esa. 55. 7. *gionus ei ffyrdd, a'r gwr anwir ei feddy-*
*liau, dychweled at yr Arglwydd, ac efe a*
*gymmer drugaredd arno ac at ein Duw*
*ni, ac efe a arbed yn helaeth.*

Nid yw anobaith ynghyfiul mor be-
rygius a rhyfyg. O blegid, nid ydym
ni yn darllain yn yr holl fcrythyrau,
oddieithr am dri neu bedwar, y darfu
ei anobaith ofnadwy eu gorchfygu, e-
ithr fe ddarfu ei ryfyg diofal ddanfon
myrddiwn yn ddifdaw i golledigaeth.
Megis gan hynny yr oedd y *llangcesau*
yn *Israel*, yn canu, yn eu downfiau *fe
laddodd Saul ei fîl* a *Dafydd ei ddeng-
mîl:* felly y gallaf finnau ddywedyd
ddarfod i anobaith o drugaredd Dduw,
yrru miloedd yn golledig, a rhyfyg o
drugaredd dduw yrru deng-miloedd
yn golledig; a'i danfon yn fyw i uffern,
lle y maent yn aros heb gymmorth nac
efmwythdra, na dim gobaith o ymwa-
red. Fe rôes Duw nawdd i'r lleidr,
ond nid iw gyfaill; Duw a rôes nawdd
i vn, fel na byddei i neb anobeithio:

ni

ni roes Duw nawdd ond i vn, fel na byddei i neb ryfygu. *ficcrwydd* hyfryd i bechadur a edifarhâo: dim *cyssur* i'r hwn a fyddo yn aros yn anedifeiriol. Y mae Duw yn aneirif ei drugaredd, eithr yn vnig i'r rhai o drô oddiwrth eu pechodau, iw wasanaethu ef mewn sanćteiddrwydd: *heb yr hyn ni chaiff neb weled yr Arglwydd Heb.* 12. 14. I'th cadw di gan hynny oddiwrth y rhwystr hwn o ryfygu, cofia: mai fel y mae Crist yn warcdwr, y mae *Moeses* yn gyhuddwr. Bydd fyw (gan hynny) fel pe na bai yr vn Efengyl. bydd farw fel ped fai heb fod vn gyfraith, rhêd dy yrfa yn y bywyd fel ped fai dan lywodraeth *Moeses*, ymâd a'r bywyd yma fel pe na bait, yn adnabod neb ond Crist, ac ef gwedi ei groeshoelio, na ryfyga, oni fynni di fod yn golledig, edifarha o mynni fod yn gadwedig.

*Y pumed peth sy 'n rhwystro duwioldeb.*

5. *Cyfeillach ddrwg, yr hyn yn gyffredin a elwir cymdeithion da*: Eithr mewn gwirionedd, prif offerau 'r cythraul

thrauli rwyſtro pechadur truan i edifeirwch a duwioldeb. Yr arwydd cyntaf o ffafr Duw i bechadur yw: rhoi iddo râs i ochel *cyfeillion drwg:* y cyfryw rai, ſydd yn ewyllyſgar yn ymdrobaeddu mewn pechod, gan ddiyſtyru moddion eu galwadigaeth, gan watwor purdeb crefydd rhai eraill: a bod yn gywilydd i ffydd griſtianogawl, trwy eu bucheddau halogedig. Y rhain ſydd yn eiſtedd *ynghadair gwatwor-*
Pſal. 1.1. *wyr.* O blegid pan fo Duw yn cynnwys pechadur i fod yn vn o'i bobl, y mae
Dad. 18.4 efe yn erchi iddo ef ddyfod *allan o Babilon.* Pob cynulleidfa *ddrygionus yw Babilon.* Allan o'r hon naill a'i ymgadwed pob plentyn i Dduw; neu os bydd ynddi tybied fod yn clywed llef ei *Dâd* yn dadſeinio yn ei gluſt: *Fy*
Dad. 18.4 *mâb tyred allan o Babilon.* Hwyn gyn-
Luc. 22. 62. taf ac yr edrychodd Criſt o'i drugaredd a'r *Bedr*, efe aeth allan o'r gynulleidfa, yr hon oedd yn neuadd yr Archoffeiriad, ac a wylodd yn chwerwdôſt am ei bechod. *Dafydd* ar ei ddychweliad (yn addunedu dilyn buchedd newydd) a ddywedodd: ewch ymmaith oddiwrthif holl weithredwyr anwiredd. Fel

ped

ped fai yn amhossibl fod yn ddyn newydd, hyd oni adawai ymmaith yr holl hên gyfeillach ddrygionus; ficcraf profedigaeth o grefydd gwr ydyw dull a buchedd ei gyfeillion. Cyfeillion halogedig ydynt elynion pennaf i dduwioldeb, a diffoddwyr deifyfiadau fanctaidd.

Llawer gwaith y mae Crist dlawd (wrth ymgynnig iw ail eni ynot) yn cael ei daflu i'r stabl: tra fo y cyfeillion drygionus hyn, wrth yfed, chwarae, a digrifwch, yn cymeryd y stafelloedd gorau yn neuadd dy galon. Oh na âd i gyfeillach daiarol bechaduriaid dy rwystro di i gymdeithas Seint ac Angylion nefol.

Y *chweched peth sy'n rhwystro duwioldeb.*

6. *Ofn meddylgar*, rhag i ymarfer a duwioldeb, wneuthur gwr (yn enwedig gwr ieuangc) i fod yn rhy brudd ac yn bendrwm, lle mewn gwirionedd ni eill neb gael llawenydd gwell, na mwy a chos i orfoleddu na'r duwiol grefyddol gristion. O blegid cyn gyn-

ted ac y maent hwy yn cael eu cyfiawnhau drwy ffydd y mae iddynt dangh-neddyf gyd â Duw, a mwy llawenydd na hynny ni all fod. Heb law hynny y mae ganddynt eusys deyrnas y grâs wedi descyn iw calonnau, yn lle sicrwydd y cânt (yr amser y gwelo Duw fod yn dda) escyn iw deyrnas ef. Y deyrnas hon o râd sy 'n arwoddocau tri pheth: yn gyntaf cyfiawnder: Oblegid drwy gael cyfiawnder Crist iw cyfiawnhau ger bron Duw y maent yn bwriadu byw 'n gyfion o flaen dynion. Yn ail tanghneddyf, canys y mae heddwch cydwybod, yn anwahanol yn canlyn ymarweddiad cyfiawn. Yn
Phil 4.7. drydydd llawenydd yr Yspryd glân: yr hwn lawenydd yn vnig sydd iw gael mewn heddwch cydwybod da, ac sydd vwchlaw pob deall, ni eill na thafod ei ddatcan, na chalon ei ddirnad, ond yn vnig yr hwn sydd iw gaffael a'i
Ioa.16. 24. feddiannu. Dymma y cyflawndra llawenydd a addawodd Crist iw ddiscyblion ynghanol eu gorthrymderau. Llawenydd yr hwn ni allai neb ei ddwyn oddi arnynt. Mwyniant y llawenydd hwn yr oedd *Dafydd* (yn ei edifeirwch)

wch) mor ddifrifol yn ei erfyn a'r law Dduw: Dyro i mi lawenydd dy iechydwriaeth. Ac os ydyw yr Angelion yn y nefoedd, yn llawenychu gymmaint a'r droad pechadur: Y mae 'n rhaid i lawenydd pechadur edifeiriol fod yn dramawr arurhr yn ei galon ei hûn. Cystudd bydol sydd yn lluchio yn gynnar am bennau dynion, ac yn llenwi cwysau eu calonnau a chystuddiau marwolaeth. Cystudd duwiol, y rhai duwiol (pan welo duw yr achos i'w profi hwynt) sydd yn peri iddynt edifeirwch diedifeiriol: canys hyn sy 'n hyfforddi eu iechydwriaeth. Ac yno ym mhob rhyw orthrymder hwy a aliant fod yn ddiogel o gael yr Yspryd glân i fod yn ddiddanydd iddynt, yr hwn a wna i'n diddanwch amlhau trwy Grist fal yr amlhao dioddefiadau Crist ynom. Ond tra fo dyn yn byw mewn anuwioldeb, nid oes iddo heddwch yn y byd hwn medd *Esay*: ei chwerthiniad ef sydd ynfydrwydd (medd *Salomon*): Nid yw ei gyfoeth ef ond clai ne bridd medd *Abacuc*: Ie nid yw 'r Apostol yn gwneuthur mwy cyfrif o honynt nac o ddom neu dail, (wrth eu cyffybu i drysawr.

2.Cor.7.10.

Ioa.14.16.

Phil.3.8.

ſawr y duwiol) a'i holl lawenydd a derfyna mewn wylofain a gruddfan medd Criſt. Na âd gan hynny i'r ofn ſommedig hwn dy rwyſtro di i ymarfer â duwioldeb. Gwell yw myned yn glwyfus gyd â *Lazarus* i'r nefoedd, na myned yn llawn o lawenydd a digrifwch gyd â *Dives* i waelodion vffern. Gwell ydyw alaru dros amſer gyd â dynion, na bod yn poeni yn dragywydd gyd â chythreiliaid.

## Y *ſeithfed peth ſydd yn rhwyſtro duwioldeb.*

7. A'r peth olaf: *ydyw gobaith o hir enioes:* Canys pe bai ddŷn o fuchedd ddrwg, yn tybied fod y flwyddyn hon, yn flwyddyn ddiweddaf iddo, y mis hwn, yn fis diwaethaf, yr wythnos hon, yn wythnos ddiwaethaf, a'i poſſibl na wellhau, ac na chyfnewidiai ei fucheddau anwireddus: gwnai 'n ſicr, fe arferai y moddion gorau i gael edifeirwch ac i fod yn ddŷn newydd. Eithr fel y gwr goludog yn yr Efengyl, yn addo iddo ei hûn lawer o flynyddoedd i fyw mewn eſmwythdra, hawddfyd,

a

a digonedd: Prydnad oedd iddo ef vn noswaith i fyw 'n hwy: felly llawer o'r glothinebwyr, a'r Epicuriaid drygionus, sy 'n gau addaw iddynt eu hunain, lawer blwyddyn o enioes, pan fo edafedd eu hoedl agos wedi ei ddirwyn hyd yr eithaf. Felly y mae *Ieremi* yn pennodi yr achos o bechodau a gorthrymderau yr Iuddewon: gan ddywedyd: *nid yw hi yn meddwl am ei diwedd.* Gal.1.9.

Nid yw 'r ysbaid hwyaf rhwng dyfodiad dŷn o'r grôth a'i fynediad i'r bedd, ond byrr: O blegid *dŷn a aned o wraig nid oes iddo ond byrr amser i fyw*: ychydig o ddyddiau a'r rheini yn llawn o helbul. Ac oni bai *ymarfer â duwioldeb* pa faint gwell ydyw cyflwr y plentyn a *fedyddied* ddoe, ac a gladdwyd heddyw, na *Methusalem*, yr hwn a fu fyw naw cant a naw a thrugain o flynyddoedd, ac yno fu farw? O'r ddau dedwyddach yw 'r plentyn, o herwydd bôd yn llai ei bechod, a llai ei gystuddiau, a pheth sydd yr awrhon yn aros oddiwrth y ddau, ond coffadwriaeth yn vnig. Pa hyder a ddylai ddŷn ei roddi mewn hir enioes: wrth

weled

weled nad yw holl enioes dŷn ddim angen, ond marwolaeth hwyrfrydig: Megis y mae 'r Apostol yn professu:
1.Cor.15 *dŷn sydd yn marw beunydd.*
31. Gwrando yn dy glust o gyfaill diofal, nid yw dy einioes ond awel o wynt yn dy ffroenau: na hydera arno. Y mae dy enaid a'i drigfa mewn tŷ o bridd, yr hwn a syrth cyn bo hir. Fel y mae yn eglur wrth dywyllni dy olygon, byddarwch dy glustiau, crychiadau dy ddeurudd, Pydrni dy ddannedd, gwendid dy gymmalau, crynfa dy ddwylaw, culni dy escyrn, byrdra dy gyntun, a phob blewyn gwynn, megis cynnifer o gennadon yn peri i ti ymbarotoi i fyned i'th hîr gartref. Awn, gedewch i ni yn y cyfamser rodio at arch dy dadau, torrwn y cauad gwelwn yma mai *llygredigaeth yw dy dâd a'r pryf yw*
Iob.17.14 *dy fam ath chwaer:* A weli di fel y mae yr rhain? felly y mae yn rhaid i tithau fod cyn bo hir o ddyddiau, o ynfyd y mae dy orriau yn myned heibio yn gyflym, ac yn y cyfamser y mae angau ym mhob lle yn disgwyl am danat.

Holl fywyd dyn (oddieithr yr hyn a

a dreulier yngwasanaeth Duw) nid yw ond ffolineb: Canys y mae dŷn yn byw ddeugain mhlynedd cyn gwybod ei fod ei hunan yn ffôl, a chyn gynted ac ei bo ef yn gweled ei ynfydrwydd, y mae ei hoedl yn terfynu.

Clyw (lafuriwr) cyn itti weled llawer cnwd ychwaneg o *gynhauaf*, di a fyddi dy hûn yn addfed, ac foi tyrr Angau dy di i lawr a'i grymman. Clyw (dithau grefftwr) cyn ei lawer *chwemis fyned heibio*, fe ddaw dy fîs olaf dithau, yn yr hwn ei cai di dithio ymmaith a gadael dy gelfyddyd heibio. Clyw (farnwr pwyllig) cyn pen ychydig dermau, y daw terfyn dy enioes i'th oddiwes, yn yr hwn bryd y rhoi di ymmaith farnu eraill, a myned dy hunan i'th farnu. Clyw (o ŵr Duw) yr hwn wyt arfer o fyned i'r Pulput: Pregetha y bregeth hon fel ped fai hi 'r olaf a'r fydd ith fryd di wneuthur i'th bobl. Clyw (bendefig goruchel) gâd ymaith dybied yn rhyddâ o'th Anrhydedd; fe rydd angau cyn bo hir dy anrhydedd di yn y llwch: ac a'th wna di cyn waeled a'r ddaiar, yr hon yr wyt yn ei fathru tan dy draed.

Clyw

Clyw di yr hwn sydd yr awrhon yn
*nid edrych angau yn llygad dyn* darllain y llyfr hwn, bydded diogel gennit cyn bo hir, y bydd dau o dyllau,
lle y mae yr awrhon dy ddau lygad wedi eu gosod. Ac fe gaiff rhai eraill ddarllain gwirionedd o'r athrawaieth hon a'r dy benglog noeth di, yr hyn yr wyd dythau yn ei ddarllain yn awr yn y llyfr bychan yma: Pa cyn gynted nis gwn i, ond hyn a wn i yn ddiogel,
Iob.14.14 fod dy amser *wedi ei osod a'r lawr*, *dy fisoedd gwedi eu rhagordeinio*, *ath ddyddiau wedi eu rhifo:* Ie a'th awr ddi-
Psa.90.22 Dad.5.26 waethaf gwedi ei phennodi: tu hwnt i'r hon ni chai di fyned. O blegid yno *cyntafanedig Angau* wedi ei ymdder-
Dad.6.15 chafu a'r ei *farch gwelwlâs*, *a ddescyn wrth dy ddrws*, ac *er dy holl gyfoeth* a'th anrhydedd (ac wylofain dy gynyseifiaid) a'th ddwg di ymmaith, yn rhwym dy ddwylaw ath draed, mal carcharor iddo, ac a geidw dy gorph dan lwyth o ddaiar, oni ddêl y dydd yn yr hwn ith ddygir allan i dderbyn yn ôl y pethau a wnaethost yn y corph, pa vn bynnag a'i da, a'i drwg. Oh na âd gan hynny i gau obaith o enioes anwadal, dy rwystro di i fod yn bresennol ymarferwr

marferwr *o dduwioldeb crefyddol*, y mae Duw heddyw yn cynnyg ei râd, ond pwy ſydd yn addo y foru? y mae llawer o wyr ieuaingc yr awr'hon yn vffern, y rhai oedd yn bwriadu edifarhau yn eu henaint, ond foi torrodd Angeu hwynt ymmaith yn eu hanedifeirwch, cyn iddynt ddyfod i'r amſer yr oeddynt yn ei ddarparu i edifarhau. Pa hwyaf y byddo dŷn yn glaf, anhawſaf fydd ei iachau. O blegid y mae arfer o bechod, yn magu caledrwydd calon; a'r rhwyſtrau y rhai ſydd yn dy luddies di yr awr'hon i edifarhau, a fydd yn fwy rhwyſtr i ti fel y tynnych at henaint. Heb.3 13

*Gŵr ſynhwyrol*, yn cymmeryd taith bell ac rhyd ffordd fudr, ni ddyry y pwn mwyaf a'r *y march* gwannaf. Ac â pha ryw fâth a'r gydwybod, y gelli di oſod y bauch mawr o edifeirwch a'r dy henaint dinerth blinedig. Lle 'r wyt yr awrhon yn dy lawn gryfder, heb allu ei godi, eithr yn hytrach yn barod i wegian tano ef. A'i argoel doethineb yw i'r hwn a fo yn mynedi fordwyo i daith bell beryglus, aros i chwarau ac i gyſcu tra bai 'r gwynt yn gwaſa-

gwaſanaethu, a'r môr yn dawel, y llong yn hwylus, a'i llywydd yn iach, a'r morwyr yn gryfion. Ac yno goſod allan pan fai 'r gwyntoedd yn wrthwynebus, a'r tywydd yn dymeſtlog, a'r môr yn rhuadwy, a'r llong yn fraenllyd, a'r llywydd yn glâf, a'r morwyr yn ffeintiedig? Am hynny o enaid pechadurus, dechreu droi at Dduw tra fyddo dy fywyd, dy iechyd, dy gryfder, a'th ieuengtyd yn parhau: Cyn neſhau y blynyddoedd, yn yr rhai y dywedi *nid oes i mi ddim diddanwch*
Preg. 12. 1 *ynddynt.* Y cyntafanedig a'r *blaenffrwyth* yr oedd Duw erioed yn ei gofyn yn ei waſanaeth, a'r rheini iw *haberthu* iddo ef yn ddioed. Felly y darfu ei *Abel* gy-
Exod. 13. 2. fiawn aberthu iddo ef o'i *flaenffrwyth*, a'i ŵyn breiſion, a rheſwm da yw, gael o'r Arglwydd gorau, ei waſanaethu yn gyntaf, ac a'r pethau gorau. Holl weiſion Duw gan hynny a ddylent *waſanaethu eu creawdr yn nyddiau eu hieuengtid*: ac *yn blygeiniol mal Abraham, yn aberthu i Dduw eu Iſaac ieuangc:* (ſef ieuengtid) eu *heinioes*. Ni chewch edrych yn fy wyneb i (ebr *Ioſeph* wrth ei *frodyr*) *oni ddygwch chwi*
Gen. 43. 3 *ych*

*ych brawd ieuangaf gyda â chwi.* A pha
fodd y cai di edrych yn wyneb *Ieſu*,
os rhoddi di flynyddoldd dy ieuengtid
i'r cythraul, ac heb ddwyn iddo ef
ddim ond dy henaint cloff crybachlyd.
Offrymma hynny i'th *tywyſog* (*medd* Mal.1.9.
*Malachi*) os ef ni dderbyn y cyfryw
iw waſanaethu, pa fodd y *cynnwys ty-*
*wyſog y tywyſogion* y ſâth vn i fod yn
was iddo? O Mynnai *Brenin Babel* Dan.1.4.
gael *gwyr ieuengc têg o benpryd*, *a'r*
*cyfryw a fai â nerth gallnog ynddynt*, *i*
*ſefyll yn ei lŷs*: a gaiff *Brenin nefoedd*,
neb i ſefyll yn ei lyſoedd, ond y cloff 2.Sam.5.8.
a'r dall, y cyfryw yr oedd enaid *Dafydd*
yn eu caſhau? wyt ti yn tybied pan
fych di gwedi gwaſanaethu Satan ym
mhlodau dy enioes, y rhyngi di fodd
Duw a dyddiau dy fethiant? Oh go-
chel rhag i Dduw dy droi di heibio, at
dy hên feiſtr drachefn. fel megis y dar-
fu i ti holl ddyddiau dy fywyd wneu-
thur *ei waſanaeth ef*: felly y gallo efe
yn y diwedd dalu i ti dy gyflog. A'i
amſer cyfaddas ydyw hwnnw i gyme-
ryd mewn llaw ddifrifol orchwyl edi-
feirwch, (yr hwn yw 'r gorcheſtwaith
mwyaf) i droi dy enaid pechadurus
at

at Duw: y pryd na elli a'th holl rym droi dy esgyrn blinedig a'r dy wely esmwyth? Os wyt yn ei weled yn beth anawdd i ti yr awr'hon, ti a gai ei weled yn anhawsach y pryd hynny. O blegid fe gynnydda dy bechod di yn gryfach, a'th gryfder yn wannach, dy gydwybod a bwysa arnat, poen a'th pendafada, ofn marwolaeth a'th synna di, ymweliad dy gynysceifiaid a'th syfrdana di, fel oni byddi di ym mlaen llaw, a'th conglau yn llawnion *o ffydd, ammynedd, â diddanwch*, ni elli na myfyrrio dy hûn, na gwrando geiriau o gyssur gan eraill, na gweddio dy hûn, nac vno ac eraill i weddio trosot. Fe allai mai 'r parlys mûd a'th cymmer di, neu 'r fâth adwyth greulonddwys, fel na ellych di, na chofio am Dduw, na meddwl am dy gyflwr dy hûn, ac onid wyt ti yn haeddu yn dda i Dduw anghofio dy waredu yn dy farwolaeth, yr hwn nid wyt yn meddwl ei wasanaethu ef yn dy fywyd? ofn marwolaeth a bâr i lawer y pryd
Mat. 7. 22 hynny lefain: *Arglwydd, Arglwydd*, ond y mae *Crist* yn tystiolaethu, *nad adnebydd ef mo honynt am yr eiddo ef.*

le

Ie llawer yr amser hynny fel *Esau trwy ddagrau a geisiant edifeirwch, ac etto ni fedrant moi gael.* O blegid nid oes gan ddŷn *rydd-did meddwl* i edifarhau pan fynno ei hûn, ond pan fynno Duw roi iddo ei râd. Ac os darfu *i drugaredd* ei dangos ei hûn mor gyndyn, ac mor ddiysdyriol nad agorai hi ei phyrth, er *deisyfiadau y morwynion tyner*, y rhai oeddynt yn *curo* mor ddifrif ddyfal; o herwydd ddyfod o honynt yn rhy-wyr i guro. Pa fodd y tybi di y goddef hi i ti fyth fyned iw phyrth, a thithau mor ffiaidd aflan, na feddyliaist di erioed adael pechod, nes ei bechod yn gyntaf dy adael di, ac ni churaist erioed a'th ddyrnau dy hunan a'r gyfair calon edifeiriol? Oh mor gyfiawn y mae ei rhâd hi yn gommedd agori pyrth y nef, pan fŷch di yn curo yn dy angenoctid: yr hwn yn dy helaethrw-ydd ni oddefit i Grist, pan oedd yn curo, ddyfod i mewn i ddôr dy galon. Na hydera a'r edifeirwch diweddar, nac a'r hir einioes: *edifeirwch diweddar* o herwydd peth iw ofni yn fawr ydyw, rhag i'r edifeirwch hwnnw (yr hwn y mae ofn yn ei beri) farw gyda'r dŷn Heb.12.17

a fo

a fo 'n marw. A'r rhagrithiwr yr hwn a dwyllodd eraill yn ei fywyd, a eddichon ei dwyllo ei hûn yn ei farwolaeth. Nid yw Duw yn derbyn ond aberthau ewyllysgar; a'r edifeirwch a rynga bodd iddo ef: y mae yn rhaid iddo fod o'r ewyllys, ac nid o anfodd. Nid *a'r fywyd hir,* o blegid y mae henaint yn cwympo a'r wartha neu wddf ieuengtid, ac fel nad oes dim ficcrach na marwolaeth, nid oes dim mor ansiccr a'r amser i farw. Ie yn fynych o amser, pan fo addfedwch pechod yn prysuro, trwy greulonrhwydd yn pechu, y mae Duw yn ddisymmwth yn torri ymmaith fucheddwyr drygionus, naill a'i a'r *cleddyf, anghymmedroldeb, glothineb*, neu'r *cyfryw glefyd gwrthwynebus?* Oni wedi di mai 'r yspryd drwg sydd yn rhoi yn yn dy ben, *oedi dy edifeirwch* oni elych i'th henaint. Pan yw esamplau beunyddiol yn dangos i ti, nad oes vn o fil a'r sydd yn byw a'r dy lwybr di, fyth yn ei chyrhaeddyd. Gâd ei sanctaidd Yspryd Duw dy gynhyrfu di, rhag ymroi o honot mwyach i fwyta ac i yfed gydà 'r meddwon, rhag ith feistr ddanfon angau am danat yn

y dydd

y dydd ni bŷch yn meddwl am dano, ac mewn awr ni bŷch yn ei ddisgwyl, ac felly yn ddisymmwth dy dorri di ymmaith, a *rhoddi i ti dy gyflog gyd a'r rhagrithwyr* lle *y mae wylofain a rhingcian dannedd.* Eithr o ceri di fywyd hir ofna Dduw a *bydded hir gennit aw fywyd tragywyddol.* Y bywyd hwyaf pan ddêl i'w ddiben eithaf, nid ymddengys ei fod ond fel *chwedl a ddywedpwyd, tarth yn diflannu, cysgod yn cilio, breuddwyd, llysieuyn yn tyfu, ac yn blodeuo y borau, a phrydnawn y torrir ef ymmaith ac a gwywa*, neu fal gwennol gwehydd, yr hon wrth ei thaflu y'na a thraw, a ymddadlifa yn fuan i ddiben. Nid yw ond munyd (medd S^t^ *Paul*) O ynfydrwydd dŷn gan hynny, yr hwn er cael mwyniant pechod dros amser, a anturia golli y gogoniant tragywyddol. Mat. 27. 48. Psal. 90. 9.

Dymma saith brif rwystrau Duwioldeb, y rhai sydd raid eu bwrw allan (fel y saith gythraul o Fair fagdelen,) cyn i ti fyth allu dyfod yn wir *ymarferwr Duwioldeb*, neu gael dim diogel obaith i fwynhau, naill a'i ffafr oddiwrth Grist, drwy râd, a'i cymdeithas gyd

a'g ef mewn gogoniant.

## Y *clo cyngan.*

I Ddiweddu 'r cwbl: yn gymmaint a'th fod ti yn gweled nad wyt heb Grist, ond *caethwas* i bechod, aill i *angau*, ac *ymborth i bryfed*, ath feddyliau yn ofer, a'th weithredoedd yn ddiffaith, a'th lawenydd yn brin yn cael dechreuad, ath trueni byth heb adnabod terfyn: Pa ŵr doeth ai yn wysg ei ben i'r cyfryw vffernol boenau, er cael o honaw ef wrth fyw mewn pechod, ynnill iddo ei hûn dros amser emerodraeth *Augustus*, cyfoeth *Crœsus*, neu hyfrydwch *Salomon*, dichellion *Achitophel*, neu ddainteithfwyd ac esmwthwisc *Dives*? O ran beth â dâl i ddyn (fal y mae ein Iachawdwr yn dywedyd) ynnill *yr holl fyd dros* amser a *cholli ei enaid ei hûn* yn vffern yn dragywydd.

A chan dy fod vn agwedd yn gweled faint yw dy ddedwyddwch yng-Hrist, ac mor ofer yw y rhwystrau, sydd yn cau rhyngot ti ac ef: gochel (fel y mae 'r Apostol yn cynghori) *siommiant*

*pechod*

*pechod.* Canys y pechod hwnnw, yr hwn sydd yr awrhon yn rhyngu bodd i'th natur llygredig, a fydd ryw ddydd yn elyn i'th enaid cystuddiol: ac (yn y cyfamser) a galeda dy galon ddiedifeiriol.

Y mae pechod fel Sarph yn ymddangos yn dêg i'r golwg, ond gochel y colyn sydd yn ôl: ffrwyth gwenwynllyd yr hwn, pes adwaenit, di fyddit mor ofalus i ffo rhag pechod, ac rhag y sarph. Canys:

1. *Pechod* ni wnaeth erioed ddaioni i neb: a pha fwyaf o bechod a wnêl dŷn, mwy ffiaidd y mae yn ei wneuthur ei hûn ger bron Duw, a mwy o gâs a gaiff ger bron dynion daionus.

2. *Pechod* a dynnodd ar dy vchaf di, yr holl *wrthwynebion. Colledion, gwarthruddiau a chlefydau a'r addigwyddodd i ti erioed. Ynfydion* (medd *Dafydd*) *O blegid eu camweddau ac o herwydd eu hanwireddau a gystuddir.* y mae *Ieremi* yn gofyn yr achos. *Pa ham y cystuddir dŷn byw:* a'r Yspryd glân yn atteb: *dyn a gystuddir am ei bechod.* O hyn y mae'r Prophwyd yn llefain yn alarus yn erbyn pechod megis yn erbyn Psal. 07. 17.

yr achos o'i holl othrymderau: *gwna ni yn awr bechu o honom.* Gal. 5. 16

3. Oni edifarhei di yn fuan am dy bechodau, hwy a dynnant arnat ti etto fwy o *ddialedd, gwrthwynebion, colledion, cywilydd,* a *chospedigaeth* nac a ddigwyddodd i ti hyd yn hyn. Darllain *Levit.* 26. 28. *&c. Deut.* 28. 15. *&c.*

4. Ac yn ddiweddaf oni theffli di bechod ymmaith, (pan *gyflawnir dy anwiredd) Duw a'th teifl di ymmaith* Gen. 15. 16. am bechod. O blegit fal y mae ef yn gyfion, felly efe a all, lâdd a thaflu i uffern holl *bechadurriad calon galed anedifeiriol.* Os ty di gan hynny a fynni ochel ffrwythau *pechod* melldigedig yn y bywyd hwn, a'r digofaint tragywyddol dyledus *iddo* yn y byd a ddaw, a'th sicrhau dy hûn, nad wyt ti yn vn o'r rhai a roddwyd heibio i *fod yn golledig:* yno gâd i'm *cyngor* i (o bechadur truan) *fod yn gymmeradwy* gennit: *Tor ymmaith dy bechodau trwy gyfiawnder, a'th anwireddau wrth ddangos trugaredd i'r trueiniaid: O bydded bellach dy fai i allael ei ddiwygio. Ni ddywedodd Nathan ond vn ddammeg* ac fe droed *Dafydd* : ni phregethodd *Ionas*

ond

ond vnwaith i *Niniueh a'r holl dainas* Ion.3 5.
*a edifarhâodd*: Nid edrychodd Crist
ond vnwaith ar *Bedr, ac efe a aeth allan* Luc.22.
*ac a wylodd yn chwerw dost.* Ac yn awr 62.
yr wyd ti yn fynych ac yn gariadol yn cael dy ddeisyfiu, nid gan brophwyd, ond gan Grist Arglwydd y prophwydi: iê y Duw hwnnw ei hûn, drwy ei gennadon fydd yn attolwg i ti gyttuno ag ef: gâd ymmaith *dy odineb*, gyd â *Dafydd*, edifarhâ am dy bechodau fel gwir *Ninifit*; a thra byddo Crist o'i drugaredd yn edrych arnat, gâd ymmaith dy gyfellion drygionus, ac wyla yn chwerwdost am dy feiau anwireddus.

Na fodlona mo honot dy hûn a'r *grefydd weledig*, yr hon a luniodd gwyr diadenedig iddynt eu hunain yn lle buchedd burloiw. Canys mewn amryfusedd opinionau, y mae y rhan fwyaf agos wedi colli yr ymarfer o wir ffydd. Na thebyg fod yn Gristion digon da, o blegit dy fod di yn gwneuthyd fel y mae y rhan fwyaf, ac o ran nad wyt yn gynddrwg a'r gwaethaf. Nid oes dŷn yn y byd mor ddrygionus, a bod ei ymarweddiad yn tueddu ...

mâth ar feiau. O herwydd y mae
* Antipa-dai. * anghyſondeb rhwng rhai beiau a'i
gilydd. Ond cofia beth y mae Criſt yn
ei ddywedyd: O ddieithr *i'ch cyfi-
awnder fod yn helaethach* na *chyfiawnder
yr ſcrifenyddion a'r Pharaſeaid, nid
ewch chwi* (mewn vn modd) *i deyrnas
nefoedd.* Yſtyria ynot dy hûn belled
wyt ti yn ôl y *Phareſeiaid* mewn ym-
prydio, gweddio, mynych drammwy
i'r *Eglwys*, a rhoddi eluſenau, meddwl
ynot dy hûn pa nifer *O Baganiad*, y
rhai nid adwaenent fedydd, etto mewn
rhinweddau gwybodawl, a goneſtrw-
ydd buchedd, oeddynt yn rhagori lla-
wer arnat ti, pa le wrth hynny y mae
bywyd *Criſt dy feiſtr?* a pha cyn be-
lled wyt ti oddiwrth fod yn wir Gri-
ſtion? Os wyt ti yn ewyllyſgar yn
ymroi i fyw mewn vn mâth ar bechod
anafus, nid elli di gael enaid adgenedle-
dig: er ei ti ddiwygio dy fuchedd mal
Mar.6.10 *Herod* oddiwrth lawer o feiau eraill,
y mae 'n rhaid i'r gwir griſtion gym-
meryd gofal i rodio mewn vniondeb
calon, yn ol holl orchmynnion Duw
yn gyſtal yn y naill a'r llall. O blegit
medd S^t^. *Iago, yr hwn a ballo mewn vn
pwngc*

*pwngc o'r gyfraith* ( yn ewyllysgar ) *sydd euog o'r cwbl.* Ac y mae *Petr* yn erchi ini *roddi heibio* ( nid peth ) *ond holl lid, cynfigen, twyll, a rhagrith &c.* yn pechod sydd ddigon er peri enaid yn golledig, heb *edifeirwch* : Na freudd-wydia am fyned i'r nef rhyd ffordd negosach neu hawsach na 'r hon a linynniodd Duw i ni yn ei Air. Nid ydyw'r ffordd i'r nefoedd yn hawdd, a chyffredin, *ond cul a chyfyng* : ie cyn gyfynged fel y mae Crist yn tystiolaethu, *fod yn anhawdd i ddyn goludog fyned i deyrnas nefoedd*, a'r rhieini sydd yn myned i mewn, nid ydynt ond *ychydig:* ac na eill yr ychydig [illegible] mor myned i mewn [illegible] irechu: a bod rhai o'r [illegible] ymdrechant heb allu myned i mewn. Hyn a wyddei holl Seintiau Duw (tra fuont fyw yma) yn dda. Pryd yr oeddynt drwy aml ymprydiau, difrifol weddiau, mor fynych yn gwrando y gair a derbyn y *Sacramentau*, a thrwy y cyfryw amldra o ddagrau heilldion yn crefyddol erfyn a'r ddwylaw Duw, er mwyn Crist am gael eu derbyn iw Deyrnas.

Iag.2.10.

Mat.7.14

O ni choeli di hyn o wirionedd; yr wyf fi yn hyspysu i ti mai 'r diafol yr hwn sydd, yn peri i ti yr awr'hon goelio, fod yn hawdd it fyned i'r nef, a ddywaid it yn ôl hyn ei fod yn waith anhawsaf yn y bŷd. Os wyt ti gan hynny yn chwennych ynnill sicrwydd diogel o iechydwriaeth i'th enaid, ac i fyned y ffordd vnion i'r nefoedd; cais yn ebrwydd *mal morwyn ddoeth olew* yn llusern dy ymarweddiad: fel y gellych fod mewn parodrwydd gwasdadol i gyfarfod y *Priodfab* pa vn bynnag i dêl, a'i trwy farwolaeth, a'i trwy Farn. Yr hyn fel y gellych yn hawsei wneuthur. Bydded hyn yma i ti yn *ymarfer beunyddiol.*

## Y *modd y mae i wr neillduol ddechrau y borau mewn Duwioldeb.*

CYn gynted ac y deffroech y borau cadw ddôr dy galon yn gauad na chaffo meddylfryd bydol fyned o'i mewn, nes dyfod o Dduw i'w mewn yn gyntaf: a gâd iddo ef o flaen pawb eraill *gael y lle cyntaf* ynddi: felly pob meddyliau drygionus, naill a'i ni fei-

ddiant

ddiant fynedi mewn, neu fe ellir yn haws eu cadw hwynt ailan: ac fe fydd y galon a mwy o flâs fancteiddrwydd a Duwioldeb arni yr holl ddiwrnod a'r ôl hynny. Eithr oni bydd dy galon a'r dy ddeffrôad cyntaf, gwedi ei llenwi a rhyw fyfyriadau am Dduw, a'i air, a chwedi ei thaclu fel y lluferu *yn y babell, forau, a hwyr, ac olew olewydd* Exod. 27. 20. *Gair Duw*; a chwedi ei phereiddio ac arogldarth gweddi. Fe gais Satan ei llenwi â gofalon bydol, ac â deifyfiadau cnawdol, hyd onid êl hi yn anghymmwys i wafanaeth Duw, yr holl ddwthwn hwnnw, heb anfon allan ddim ond *dryg(awr* geiriau llygredig celwyddog, a llwon cablaidd amhwyllig.

Dechrau gan hynny waith pob dydd â gair Duw ac â gweddi, ac abertha i Dduw a'r allor calon ddrylliedig, ruddfan *dy* Y*fpryd, a lloiau dy wefufau* yn offrwm boreuol, *a blaenffrwyth y diwrnod,* Hose. 13. a chyn gynted ac y deffroech dywaid fel hyn.

## *Myfyrdod byrr pan ddeffrô dŷn gyntaf y borau.*

Psal.130. Psal.9.14 FY *enaid sydd yn disgwyl am danat ti (O Arglwydd) yn fwy nac y mae y gwilwyr am y borau: Duw gan hynny trugarha wrthif, a thywynned dy wyneb arnaf, diwalla y borau hwn a'th drugaredd fel y gorfoleddwyf, ac y llawenychwyf dros fy holl dyddiau.*

### Myfyrdod Boreuol.

### *Yno myfyria neu feddwl.*

*Yn gyntaf* FAl y gall yr holl Alluog Dduw (yn yr adcyfodiad) gôdi dy gorph di allan o'r bedd o hûn marwolaeth, cyn hawsed ag ac y gallodd ef y borau hwn, dy ddeffroi di yn dy wely allan o'th hûn naturiaeth. A'r wawriad yr hwn ddydd o adcyfodiad y daw Crist i'w ogoneddu yn ei Saint, a phob vn o gyrph ei fil o Saint gwedi eu gwneuthur vn agwedd *a'i gorph gogoneadus ef*, yn goleuo mor eglur a'r haul. A'r holl Angelion vn ffunyd, yn llewyrchu yn

Mat.13. Luc.9.31

eu

eu gogoniant: *a chorph Criſt* yn rhagori
arnynt oll mewn diſcleirdeb a gogon-
niant: a'r *Duwdod* vwch ei law yntau.
Os gwna tywyniad vn Haul, i'r borau
fod mor ogoneddus; Pa fâth forau
diſclaer gogoneddus a fydd hwnnw, yn
yr hwn y bydd mil miliwn o gyrph,
goleuach o lawer na'r haul yn ymddan-
gos, ac yn canlyn Criſt, megis cym-
deithion gogoneddus i ddyfod i gadw
y Seſſiwn gyffredinol o gyfiawnder, Act.17.31
ac i farnu Angelion drwg a dynion a- 1.Cor.6.3
nuwiol? Oh na âd i elw difyrrwch
darfodedig, neu wag ogoniant y di-
wrnod hwn, beri i ti golli dy gyfran,
a'th wobr o hyfrydwch gogoniant
tragywyddol y dydd hwnnw, yr hwn
yn briodol 'a elwir adcyfodiad y cyfi-
awn. Y mae gan aniſeiliaid, lygaid i
weled cyffredinol lewyrch y diwrnod,
eithr ymgais di dy orau â llygaid dy
ffydd i ragweled goleuni gogoneddus
y diwrnod yma:

2. Ni wyddoſt ti mor agos oedd *yr
yſpryd drwg* (yr hwn *ddydd a nos mal
llew rhuadwy ſydd yn rhodio oddiam-
gylch dan geiſio dy ddifetha di* tra ro-
eddit yn cyſcu, ac na eili ri [illegible] wa-

redu dy hûn. Ac na wyddost ti, pa ryw niwaid a wnaethai i ti, o ni bai i Dduw (*yr hwn ni chwsc ac ni hûna*) dy amgylchu di a'th eiddaw, a'th ymddiffyn,
Psa. 121. 4. *a'i Angelion sanctaidd bendigedig.*
Psa. 34. 7. 3. Pan glywych di y ceiliog yn canu; cofia *Bedr* i wneuthur a'r ei ôl, galw ith gof geilioglais soniarus *yr udcorn ddiwethaf, yr hwn a'th ddeffry di oddiwrth y meirw.* Ac ystyria ymhâ gyflwr y byddit ti pe vdcanai ef yr awr'hon, ac ymro i fod yn gyfrvw, ac y mynnit dy fod y pryd hwnnw: rhag yn y dydd hvvnnvv, i ti ddymuno na buasit erioed yn gvveled y dydd hvvn: a melldithio dydd dy enedigaeth naturiol, esiau bod vvedi dy eni o nevvydd trvvy râd ysprydol. Pan gano 'r ceiliog, y mae 'r lleidr yn anobeithio am ei speilfa, ac yn gadael ymmaith ei amcan a'i fvvriad y noson honno: felly y cythraul sy 'n peidio a cheisio gvvall ym mhellach, pan glywo ef yr enaid bucheddol yn ei deffroi ei hûn a boreuol vveddi.

4. Cofia fod yr Hollalluog Dduvv ynghylch dy vvely yn gvveled dy orvveddiad i lavvr ath cyfodiad i fynu: yn

deall

deall dy feddyliau ac yn gydnabyddus a'th holl ffyrdd. Cofia yr vn ffunud fod ei Angelion sanctaidd, y rhai a wiliodd trosot, ac a'th amddiffynnodd trwy 'r nos, yn gweled hefyd y modd y deffroaist ac y codaist. Gwna bob peth gan hynny megis yngwydd yr ofnadwy Dduw, ac yngolwg ei *Angelion sanctaid.* Gen. 31. 55. Psalm. 91. 5. 11

5. Tra fych yn gwisco amdanat, cofia mai yn orchudd pechod y rhoddwyd hwynt a'r y cyntaf: a'i bod wedi eu gwneuthyd o arwiscoedd crwyn, ac amhuredd anifeiliaid meirwon: Am hynny pa vn bynnag a ystyriech, a'i 'r trwsiad a'i 'r ordeinhâd cyntaf: y mae i ti felly achos fechan i falchio o honynt: Ac achos fawr i fod yn ostyngedig wrth eu gweled a'i gwisco, gan weled nad yw 'r gwiscoedd gwerthfawrocaf, ond llen wych i oruwchguddio y cywilydd budraf. Myfyria yn hytrach, mai fal y mae dy wisc yn gwasanaethu i guddio dy gywilydd, ac i gadw dy gorph rhag *anwyd*: Felly y dylit ti fod mor ofalus i guddio dy enaid, a'r wisc beriodas honno sef *cyfiawnder Crist*, (yr hwn o ran bod ein ffydd iw amgyffred)

gyffred) a elwir cyfiawnder y *Saint*. Rhag tra fôm ni wedi ein trwſiadu yn wychion yngolwg dynion, ein bod yn noeth(a'n holl anharddwch i'w weled) yngolwg Duw. Eithr, gallael o honom ein cuddio ein hunain â chyfiawnder Duw (megis a mantell) oddiwrth warth tragywyddol: ac achleſu ein heneidiau oddiwrth yr oerni tanbaid, yr
Math.22.13. hwn a bair *wylofain a rhingcian dannedd*. Yſtyria gyd â hynny pa fâth bobl fendigedig a fyddai *ein cenedlaeth ni*, pe bai bob gwiſc o ſidan yn cuddio enaid ſancteiddiedig, ac etto fe dybiai ddŷn, mai a'r y rhai y cyfrannodd Duw fwyaf o'i ddonniau oddiallan, y dylai ef gael mwyaf diolch o fewn eu calonnau. Eithr os prifia yn amgen fe brifia eu
Luc.12.48. taledigaeth *yn drymmach yn nydd eu cyfrif*.

Yſtyria fel y mae trugaredd Dduw yn adnewddu bob borau, gan roddi i ti (megis) bywyd newydd; ac yn peri i'r haul (yn ôl ei yrfa drefnedig) gôdi drachefn i roi i ti oleuni, na âd gan hynny iw oleuni gogoneddus dywynnu 'n ofer: eithr achub y blaen yn hytrach ar gyfodiad yr haul (cyn fynyched ac ei gellych)

gellych) i dalu diolch i Dduw: gan ymostwng i lawr ar dâl dy liniau wrth erchwyn dy wely, cyfarch ef ar dorriad y dydd o rhyw bêr arogldarth ystyriol, neu erfynniad neillduol, yn cynnwys cyffes ostyngedig am dy bechodau, maddeuant am dy gamweddau, a diolch am ei holl ddonniau, a deisyf ei rasusol ymddiffyn i'w Eglwys, ac i ti dy hûn, ac i bob peth pyrthynasol i ti.

*Addysc ferr, o'r modd y mae darllain yr scrytbyrau sanctaidd unwaith bob blwyddyn trostynt, yn hawdd, yn fuddiol, ac yn anrhydeddus.*

MEgis ac y mae *ffydd*, yn *enaid*: felly *darllain* a *myfyrio* ydynt dâd a mam *gweddi*.

Am hynny cyn i ti weddio y borau, yn gyntaf *darllain bennod yngair Duw*, yno myfyria dros amser wrthit dy hûn pa bethau godidog a fedri di eu cofio o honaw.

Yn gyntaf: pa gyngor ac addysc at weithredoedd da, neu *fuchedd sanctaidd*.

Yn

Yn ail: pa fygythiau o farnedigaeth yn erbyn y fâth ar fâth a'r pechod, a pha ryw esampl ofnadwy o gosp a dialedd Duw ar y fâth ar fâth bechaduriaid.

Yn drydydd, pa fendithion a addawodd Duw i *ammynedd*, *diweirdeb*, *trugaredd*, *elusenï zêl* neu ddyfal serch yn *ei wasanaethu*, *cariad perffaith*, *ffydd*, *a gobaith yn* Nuw ar cyfryw rinweddau Cristianogawl.

Yn bedwerydd, pa sawl ymwared grasusol a weithredodd Duw: pa fâth fendithiau hynodol a dywallodd ef, ar yr rhai a fuont weision cywir a ffyddlon iddo.

Yn bumed, cymmer y pethau hyn at dy galon dy hûn, ac na ddarllain mor pennodau hynny, megis historiau ofer; eithr megis cynnifer o Lythyrau neu Epistolau gwedi eu hanfon i lawr oddiwrth Ddûw o'r nefoedd attat. *Canys pa bethau bynnag a scrifennwyd o'r blaen, er addysc i ni yr scrifennwyd hwynt, Rhuf.* 15.4.

Yn chweched, darllain hwy gan hynny trwy 'r fâth anrhydedd, mal pe bai Dduw ei hûn yn sefyll yn dy emmyl, ac

ac yn llafaru y geiriau hyn wrthit, i'th annog di ir cyfryw rinweddau, ac i droi dy feddwl oddiwrth y cyfryw ddrygioni, gan dy ficrhau di os cair (y fâth bechodau ar rhai yr ydwyt yn darllain am danynt yna) ynot ti heb edifeirwch: y daw y cyfryw ddialedd arnat, eithr os arferi di a'r cyfryw Dduwioldeb a gweithredoedd bucheddol, y cyfryw fendithion a ddigwydda i ti a'th eiddaw.

I fod yn fyrr; cafgl y cwbl a ddarllennach di yn yr Scythur Sanctaidd a dyro hwy at y ddwy golofn arbennig yma, fef naill a'i i gryfhau dy ffydd, a'i i chwanegu dy edifeirwch: Canys megis yr oedd *fustine & abstine*, dygwch a chyd-ddygwch: yn grynodeb o fywyd *Philosophydd da*: felly *credo & respice*, crêd ac edifarhâ ydyw 'r cwbl o wir *ffydd gristianogawl.*

Vn pennod a ddarllenner fal hyn trwy ddealldwriaeth, ac a fyfyrier arno yn yftyriol, a bortha ac a gyffura dy enaid, yn well, na phump a ddarllennir ac a redir droftynt heb ddal fulw ar y fynwyr na 'r athrawiaeth, ac heb gymmeryd yftyriaeth o honaw tu ac

attat

attat dy hûn. Os darllenni di dri phennod bob dydd yn y modd hyn: sef, vn y borau, yr ail brydnawn, a'r trydydd y nos, (a darllain rhai or Psalmau yn lle llith, cynifer ac a osodwyd, yn llyfr gweddi gyffredinol yr Eglwys iw darllain a'r foreuol neu brydnawnol weddi) di ddarllenni yr holl scrythur *canonical* yn y flwyddyn, oddieithr chwe phennod, yr hyn a elli eu ychwanegu at dy lafur y dydd olaf o'r flwyddyn. Darllen y Bibl mewn trefn, a'th hyffodda di i ddeall yn well yr histori a meddwl yr scrythur sanctaidd. A'm yr Apocripha, yr hyn a scrifennwyd trwy Yspryd dŷn, di a elli eu darllen wrth dy feddwl, a chredu iddynt cyn belled ac y maent hwy yn cydhuno a'r scrythur ganonical, yr hon a scryfennwyd trwy waith *yr Yspryd glân.*

Ond odid ty di a ddywedi na âd *dy negesau* i ti gymmaint o amser a gallael o honot ddarllen *pennod* bob borau &c.

O ddŷn, cofia nad yw 'r *bywyd hwn* ond *byrr*, ac nad yw dy holl drafferthion yma ond er mwyn y bywyd *byrr* hwn, eithr *iechydwriaeth neu ddamnedigaeth sydd dragywyddol.* Cyfod yn

foreuach

foreuach o hynny bob borau : Somma dy *gnawd pwdrllyd* o gymmaint a *hynny* o *gwscu*, na thwylla moth enaid a'm ei ymborth, na Duw am ei wasanaeth: Gwasanaetha yr hoil Alluog yn vnion tra fych yn cael iechyd ac amser.

Gwedi i ti (mal hyn) ddarllain dy bennod a bod yn barod i weddio, cosia, fod Duw yn *Dduw sancteiddrwydd*, am hyn y mae yn ein rhybuddio ni cyn fynyched, gan adrodd, *byddwch chwi yn sanctaidd fal yr wyf finnau yn sanctaidd.* A phan ddinistriodd ef *Nadab* ac *Abihu* a thân disymmwth am aberthu poeth offrwm â *thân dieithr* (megis y rhai yn y dyddiau hyn sy 'n aberthu gweddiau o galonnau llawn o dân llid a thrachwant) ni roddodd yr Arglwydd vn rheswm arall am ei farnedigaeth ond hyn : *mi a sancteiddir yn y rhai a nessânt attaf*. Mal pe buasai ef yn dywedyd, oni allaf fi gael fy sancteiddio *ynddynt hwy*, y rhai ydynt weision i mi, gan gael gwasanaeth â sancteiddrwydd pyrthynasol, mi fynnaf fy sancteiddio *arnynt hwy*, gan eu difa hwynt am barnedigaeth gyfiawn, yr hyn y mae eu hanwiredd hwy yn ei haeddu. Ni a'll Leuit.10.2.

all Duw gan hynny aros aflendid, neu anharddwch ewyllyſcar, yn y rhai a'i gwaſanaetho ef: yn gymmaint ac y gorchymynnodd ef i'r Iſraeliaed, pan fyddent yn y *maes* yn erbyn eu gelynnion, gloddio â *rhaw-ffon i guddio yr*
Deut.23. 13.14. *hyn a ddaethai oddiwrthynt:* ei reſwm ydyw: O *herwydd bod yr Arglwydd dy Dduw yn rhodio ym mhlith dy werſyllau, i'th waredu, ac i roddi dy elynion o'th flaen di; am hynny bydded dy werſyllau yn ſanctaidd; fel na welo ynot ti ddim brynti, a throi oddiwrthit.*

Os myn ef i wyr fod mor ſanctaidd yn amſer rhyfel yn y maes: pa faint mwy o ſancteiddrwydd, y mae ef yn ei ddiſgwyl a'r ein dwylaw ni yn amſer heddwch yn ein tai? Am hynny medd
Iob 11. 13. 14. *Zophar* yn *Iob: Os dydi a baratoi dy galon ac a eſtynni dy ddwylaw, at yr Arglwydd i weddio, os oes ddrygioni yn dy law, bwrw ef ymmaith ym mhell, ac na ddioddef i anwiredd drigo yn dy lueſtai.* Canys fel y mae *Eſay* yn dywedyd:
Eſa. 2.15 *O bydd dim aflendid yn ein dwylaw ni* (hynny yw: vn math a'r bechod, am yr hwn nid ydym yn edifeiriol) *er ini eſdyn ein dwylaw atto ef, a gwneuthur*

*llawer*

*llawer o weddiau, fe guddia 'r Arglwydd ei lygaid oddiwrthym, ac ni wrendy mo'n erfynniau.* Am hynny cyn i ti weddio, gad i Dduw weled dy galon yn gystuddiedig am dy bechod, a'th feddwl gwedi ei ymroi ollawl (trwy gynnorthwyad ei râd ef) i wellhau dy fuchedd. Ac yno gwedi ymolchi a thaclu dy gorph, â gwisc weddol i'th alwedigaeth, ac i ddelw Dduw, a'r lûn yr hon yr wyt yn ymdangos, cau ddôr dy stafell, discyn a'r dâl dy ddeulin wrth erchwyn dy wely, neu ryw fan gyfleus arall: ac mewn môdd anrhydeddus, derchafa dy galon ynghyd a'th ddwylaw, a'th lygaid, fel yngwydd Duw, yr hwn sydd yn gweled meddylfryd yr enaid o'i fewn. Offrymma i Dduw (o ddiar allor calon ddrylliedig, dy weddi yn aberth boreuol, trwy gyfryngdod Crist yn y geiriau hyn, neu 'r cyffelyb.

*Gweddi*

## *Gweddi y borau.*



Ollalluog a gogoneddus Dduw, gyflawn ddiymgyffred *Allu* a *Mawrhydi*, gogoniant yr hwn ni ddichon *nef y nefoedd ei*
1. Bren. 8. 27. *gynnwys*: Edrych i lawr o'r nefoedd arnaf fi dy was anheilwng, yr hwn wyf yma yn fy ymddarostwng fy hun, wrth *droedfaingc gorseddfa dy râd*, ac edrych arnaf (o Dâd) trwy *deilyngdod a chyfryngdod Iesu Grist*. dy anwyl Fâb *yn yr hwn yn unig i'th foddlonir*. O blegit honof fy hûn, nid wyf deilwng i sefyll
Dan. 9. 18 ger dy fron, neu i letaru am gwefusau aflan wrth y fâth Dduw sanctaidd ac ydwyt ti. Canys ti a wyddost, *mai mewn anwiredd i'm lluniwyd, ac mewn*
Psa. 51. 5. *pechod y beichiogodd fy mam arnaf*. A darfod i mi ollawr fyw mewn anwiredd: fal y torrais dy holl orchymynnion sanctaidd, trwy ddeisyfiadau pechadurus, meddyliau aflan, geiriau drygionus, a gweithredoedd diffaeth: gan adael heb wneuthur lawer o weithredon Duwioldeb, yr hyn yr

wyt

wyt yn ei erchi i'th wasanaeth, a gwneuthur llawer o'r drygioni, yr hyn a waharddaist tan boen cospedigaeth dy ddigofaint di.

[Yma y gelli di gyfaddef dy ddirgel bechodau wrth Dduw, y rhai sydd drymmaf ar dy gydwybod: a dangos y lle ar amser, ar sut ar modd y troseddaist, gan ddywedyd: *ond yn enwedig yr ydwyf fi yma yn cyffessu o ddyfnder calon wrthit.*] *&c.*

Ac am y pechodau hynny, (O Arglwydd) yr wyf yn sefyll yma yn euog o'th felldith, â holl drueni y bywyd hwn â thragwyddol gospedigaeth yn nhân uffern yn ôl y bywyd gresynus hwn, os ty di a deli i mi yn ôl fy haeddedigaethau. Ie Arglwydd yr wyf yn cyfaddef mai dy *drugaredd sydd yn parhau yn dragywydd ath tosturiaethau hyth ni phallant*: hynny yw 'r achos nas darfu am danaf er ysdyddiau. *Eithr gydâ thi* (O Arglwydd) *y mae trugaredd ac amlder o ymwared.* Gan hynny yn *amlder dy drugaredd* am cyfan ymddiriaid yn haeddedigaethau Crist yr wyf yn deisyf a'r dy dduwiol Fawrhydi, *naá elych i'r farn a'th was, ac na*

Galaru.3 22. Psa.130. 4.

*chraffa*

Psal. 143 2. *chraffa a'r fy anwiredd:* canys os gwnei ni *chyfiawnheir neb byw yn dy olwg*
Ezec. 3.6. 25. *di.* Eithr bydd drugarog wrthif a golch
1. Ioa. 1 9. ymmaith holl frynti fy mhechod, a haeddedigaethau y *gwerthfawrocaf waed yr hwn a dywalltodd Iesu Grist* drosof. A chan weled iddo ef oddef pwys y felldith, yr hon oedd ddyledus i'm pechodau i: O Arglwydd gwared fi oddiwrth fy mhechodau, ac oddiwrth yr holl farnedigaethau sydd goruwch fym mhen yn ddyledus i mi am
Psal. 103. 12. danynt: a phellhâ hwy *o'th olwg, cyn belled ac yw y dwyrain oddiwrth y gorllewin*: cladda hwynt ym medd Crist: fel na ffrwythont fyth i gyfodi yn f'erbyn, i'm cywilyddio yn y byd hwn, nac i'm heuog-farnu yn y *byd sydd ar ddyfod.* Ac nid wyf yn attolygu it yn vnig (O Arglwydd) olchi ymmaith fym mhechodau â gwaed dy oen di frycheulyd; eithr glanhau fynghalon hefyd oddiwrth bydrni fy llygredigaeth anianol. Fel y clywyf dy Ysyryd ar gynnydd yn lladd pechod ynof, wrth *allu ymarfer* o honaw. Fel y gallwyf a mwy rhydd-did meddwl ac ewyllys vfudd, dy wasanaethu di y tra-

tragwyddol Dduw, i mewn sancteidd-
rwydd *a chyfiawnder y dydd heddyw.* Luc. 74. 75.
Dyro i mi râs megis (t[illegible] y gy[illegible] yrfiad
yr Yspryd hwnnw y parhawyf i fod
yn wasanaethwr *ffyddlon a diffuant* [?] i ti
*hyd ddiwedd fy einioes:* Mai pan ddi-
benno y bywyd marwol hwn, y gall- Mat. 24. 13.
wyf fod yn gyfrannog o anfarwoldeb
a dedwyddwch tragwyddol yn dy
deyrnas nefol. Yn y cyfamser o Arg-
lwydd, tra byddo yn rhyngu bodd
i'th rhadlawn ewyllys, fod o honof fi
yn aros i dreilio, ac i ddibennu y *cyfrif
bychan* sydd yn ôl o'm dyddiau, yr hyn
a ordeiniaist i'm i fyw yn y dyffryn
*hwn o drueni: dysc i mi felly gyfrif fy
nyddiau, fel y dygwyf fy nghalon i ddo-* Psal. 90. 12.
*ethineb.* Ac fel y chwanegach di ddy-
ddiau at fy einioes; felly o Arglwydd
daionus chwanega edifeirwch a gw-
ellhâd at fy nyddiau; i fod megis yr
elwyf mewn blynyddoedd, yn cynny-
ddu mewn grâs a ffafr gyd â thi
a chyd a'th holl bobl. Ac er mwyn
hyn cynnyscaedda fi a'r holl radau a
wyddost eu bod yn ddiffygiol ynof, ac
yn angenrheidiol i mi; a phâr gynnydd ar
yr holl ddoniau da, â drefnaist i mi yn
barod:

barod: fel y gallwyf â mwy nerth ddilyn y cyfryw fywyd duwiol ac ymarweddiad bucheddol: ac y byddo dy enw di yn cael ei ogoneddu, eraill yn cymeryd athrawiaeth dda o ddiwrthif, am henaid yn cael ei ymborthi yn llawen â *thynghreddyf cydwybod*, ac yn *llawnach ô* orfoledd yr *Yspryd* glân. Ac yma (O Arglwydd) yn ol fy rhwymedig ddlêd, y talaf i't ddiolch o eigion calon ostyngedig, am yr holl fendithiau, y rhai o'th ddaioni a dywelldaist arnaf: yn enwedig, am ddarfod i't o'th cariad haelionus, yn ôl dy *ragluniaeth dragywyddol fy ethol i cyn seiliad y byd, fal y byddwn yn sanctaidd ynghrist Iesu*: Am ddarfod i ti fynghreu ar dy lûn dy hunan, a dechreu edfrydu ynof, yr hyn oedd ar goll yn fy hynafiaid: am ddarfod i ti fyngalw trwy waith dy *Yspryd* ym mregethaid yr *Efengyl* a derbyniad y *Sacramentau*: i wybodaeth dy râs cadwedigol, ac i vfydddod dy ewyllys bendigedig: Am ddarfod i ti fyn mhrynu am gwaredu o boenau vffern a chaethiwed Satan, a gwerthfawrocaf waed dy vnig-anedig Fab: am ddarfod i ti *trwy ffydd yng-Hrist*

*Hrist* fynghyfiawnhau i, yr hwn o herwydd natur ydwyf blentyn y digofaint: am ddarfod i ti fy sanctciddio i mewn mesur da, a'th *Ysbryd glân*, a rhoddi i mi gyhyd o amser i edifierhau, a hefyd *moddion* yr edifeirwch. Yr ydwyf yn diolch i ti hefyd, *Arglwydd daionus*, am fy mywyd, fy iechyd, fynghyfoeth, fy ymborth, fyngwisc, fy nhangneddyf, fy hawddfyd, am helaethrwydd; ac am ddarfod i ti fy ymddiffyn y nôs hon, oddiwrth oll niweidiau a pheryglon y corph a'r enaid, am cadw yn ddiangol hyd dechreu *y dydd heddyw*. Ac fel y darfu i ti ddeffroi fynghorph o gwsc, felly attolwg deffro fy enaid o bechod a diofalwch cnawdol: Ac fel y peraist i oleuni y dydd, lewyrchu yn fy llygaid corphorol: felly *O Arglwydd daionus*, pâr i oleuni dy air *a'th Yspryd sanctaidd ddiscleirio yn fynghalon:* Dyro i mi râs i rodio( *megis vn o blant y goleuni* ) mewn oll ostyngeiddrwydd y dydd hwn ger bron dy wyneb: fel y *gallwyf ymegnio i gadw ffydd â cydwybod lân yn wastadad tu ac attat ti a dynion*, yn fy holl feddyliau, geiriau a gweithredoedd. Luc.16.8 Phil.2.15

L Bendithia

Bendithia felly Arglwydd graslawn, fy holl fyfyriadau am *gorchwylion*, y rhai a gymmerwyf yn llaw y dydd heddyw, mal eu byddont yn tueddu at dy ogoniant di, daioni eraill, ac at ddiddanwch fy enaid am cydwybod fy hûn, yn y dydd ei bwyf yn rhoi y
2. Cor. 2. 5 cyfrif diwethaf *ger dy fron di*, am danynt. Oh fy Nuw cadw dy was na
10. wnelwyf ddim drwg i neb y dydd hwn: a rhyglydded bodd i'th ewyllys bendigedig, na allo 'r cythraul, nac un
Zac. 3. 2. o'i angelion melldigedig, nam gelynion llidiog wneuthur i mi ortrech ddrwg neu niwaid. Eithr bod o lygaid dy ragluniaeth i wilio drosof *am ddaioni*,
Psal. 91. 11. *ac nid am drwg*: A gorchymyn i'th Angelion *sanctaidd gastellu o'm hamgylch*, i'm hymddiffyn, a'm cadw i, yn fy mynediad allan, am dyfodiad i mewn, fel yr addewaist, eu caent wneuthur o amgylch yr rhai a ofnent dy enw. Canys i'th law di o Dâd y *gorchymynnaf fy enaid, fyngorchwylion, a chwbl oll a'r a feddaf* i gael eu cadw, eu hymddiffyn, a'i colleddu gennit: gan fod yn hyspus, na ddichon dim niwaid drwg ddigwyddo, i'r peth a gymmerych di yn dy gadwraeth.

dwraeth. Ac os digwydda i mi vn amser y dydd hwn trwy wendid dy angho-fio di, etto yr wyf yn attolwg i't, ( O fy Nuw ) yn dy drugaredd *fynghofio i.* Nehe.13.
Ac nid wyf ( rasol Dâd yn vnig yn gweddio drosof fy hûn, eithr yn dei-syf arnat fôd yn drugarog wrth dy holl Eglwys, a'th bobl etholedig, ple byn-nag y maent yn wascaredig yn byw ar wyneb y ddaiar. Cadw hwynt rhag llid, digofaint, a chreulondeb, y cythraul, y byd, a'r *Anghrist.* Dyro i'th Efengyl rwydd-deb rhydd a gor-foleddus trwy'r byd, er mwyn troad y rhai a berthynant i'th deyrnas, a'th etholedigaeth.

Bendithia yr Eglwysydd ar teyrnaso-edd (lle yr ydym ni yn byw) a *thyngk-neddyf, cyfiawnder*, a *chrefydd* dda. Ymddiffyn *Fawrhydi* y brenin, rhag ei holl elynion a channiadhâ iddo hir hoedl mewn iechyd, a dedwyddwch, i lywodraethu arnom. Bendithia y *Fren-hines*, y *tywysog Palatîn o Rhîn*, yr Ar-glwyddes rasusol *Elizabeth* ei wraig, a'i twysogawl heppil. Chwanega yn-ddynt, *ddonniau ardderchawg* a rhadau *Ysprydol*, fel eu byddont gymhesur i'r

llcodd a drefnaiſt iddynt. Hyfforddia holl Arglwyddi 'r cyngor, Eſcobion gweinidogion yr Eglwys, a ſwyddogion, i lywodraethu 'r bobl, mewn *gwirffydd, tangnheddyf, cyfiawnder*, ac *vfydddod*. Bydd drugarog wrth yr holl frodyr y rhai a'th ofnant ac a alwo ar dy enw. A chyſſura gynifer o honynt, ac ſydd yn glaf, neu yn ddigynnorthwy mewn corph neu feddwl: bydd gariadus yn enwedig, wrth yr holl rai ſy 'n goddef adfyd a chyſtudd er mwyn tyſtiolaeth i'th wirionedd, a'th Efyngyl ſanctaidd: A dyro iddynt ymwared graſuſol allan o'i holl flinderau, y ffordd y gwelo dy dduwiol ddoethineb fod yn orau: er gogoniant dy enw, helaethrwydd i'th wirionedd, ac er mwyn chwanegu eu cyſſur a'i diddanwch. Pryſura dy ddyfodiad o *Iachawdwr bendigedig*, a therfyna y dyddiau pe-
2.Cor.1.5 chadurus yma A dyro i mi râs i fod fel *morwyn ddoeth* yn barod, ac olew yn fy llusern, i'th cyfarfod *ti priodfab* fy enaid: pa vn bynnag ei delych a'i yn nydd marwolaeth a'i yn nydd y Farn: Ac yno *Arglwydd Ieſu tyred pan fynnych: ie Arglwydd Ieſu tyred*

*red ar frys.* Hyn a phob donniau e- Dad. 22. 20.
raill, a wyddost ti fod yn ddiffygiol ac yn angenrheidiol i mi, y dydd hwn ac yn dragywydd, yr wyf yn ymbil ac yn deisyf yn ostyngedig eu cael ar dy law (o Dâd grasusol:) Gan roddi i ti dy ogoniant, yn y ffurf ar weddi a ddyscodd Crist ei hûn i mi ddywedyd wrthit.

*Ein tâd yr hwn wyt yn y nefoedd sancteiddier dy enw, &c.*

*Myfyrdod i'n hannog i weddio y borau.*

OS bydd Satan (pan fyddych yn amcanu gweddio) yn dwyn ar ddeall i't fod dy weddiau yn rhyhir, ac am hynny fod yn well i ti, naill a'i eu gadael hwy heibio, a'i eu torri yn fyrrach: Myfyria, mai gweddi yw 'r aberth ysprydol a'r hon *y rhyngir bodd* Heb. 13. 15,10.
*Duw*: Ac am hynny y mae yn anfodloni y cythraul, ac mor wrthwynebus i'th cnawd. Plyg gan hynny dy chwantau (*byd mynnu bid peidio*) at y fâth ymarfer sanctaidd: Gan dy sicrhau dy hûn: fod hynny yn rhyngu bodd i

Dduw yn fwy, o gymaint ac y mae yn anfodloni dy gnawd ti.

2. Nac anghofia, fel y mae 'r Yspryd glân yn rhoi ar lawr megis yn brifnod ar golledigion: ni *alwant ar yr Arglwydd: ni alwasant ar Dduw*: A phan feddyliodd *Eliphaz ei Iob dorri ymmaith ofn Duw*, a darfod i Dduw ei fwrw ef allan o'i ffafr ef, y mae yn ei argyoeddi *am attal ei weddi ger bron Duw*: gan wneuthur y *naill* yn achos or *llall*. Or tu arall fe addawodd Duw: *Pwy bynnac a alwo ar enw 'r Arglwydd cadwedig fydd*. Y mae 'n ddiau y neb ni wnêl gydwybod o'i ddylêd i weddio, nad oes mo râd yr Yspryd glân ynddo ef. Canys Yspryd y *grâs* a *gweddi* ydyw yr vn, ac am hynny y mae grâs a gweddi yn myned ynghyd. Ond yr hwn a fedro (nos a borau) weddio at Dduw a chalon edifeiriol: diogel ei fod yn cael ei *fesur* o *râd* yn y byd hwn: ac y caiff ei ran o'r gogoniant yn y byd sydd i ddyfod.

Psal. 14. 4
Iob. 15. 4
Rhuf. 10. 13.
Zech. 12. 10.

3. Cofia mai fel y mae llysiant ar fwyd, a phoen wrth ddywedyd, yn ddau arwydd o gorph clwyfus: felly diffygiant mewn gweddi, pan fych yn

ymddiddan â Duw, a diofalwch yn gwrando, pan fo Duw drwy ei air yn llefaru wrthit tithau, ydynt ddau arwydd diammau o enaid clwyfus.

4. Galw i'th cof ddyfal grefydd y Cristianogion yn yr *Eglwys gynfydedig*, y rhai a dreilient lawer noswaith gyfan i wilio ac i weddio, er cael maddeuant am eu pechodau: Ac fel y byddent barod erbyn dyfodiad Crist. Ac megis nad oedd ddigon gan *Ddafydd* weddio nos â borau, â phrydnawn, eithr *fe godai i fynu hefyd hanner nos i weddio at Dduw.* Ac o darfu i Grist edliw a cheryddu eu ddiscyblion, am na wilient *un awr gyd ag* ef i weddio, Pa gerydd a haeddit ti, yr hwn wyt yn tybied fod pedwerydd ran awr yn rhyhir i'ti weddio? Os darfu i ti dreilio llawer awr yn edrych ar chwaryddiaeth ofer, ie diwrnodau a noswaithiau cyfan, yn chwarau disiau, a chardiau i fodloni dy gnawd; bydded cywilydd gennit dybied fod gweddi o hyd pedwaredd ran awr, yn *beth rhyhir* i'w hymarfer i wasanaethu Duw.

Psa. 55 16 17. Psa. 119. 62. Mat. 26. 40.

5. Ystyria, Os ydyw y Papisdiaid, yn eu hofergoel dywyll, mewn tafo-

 diaith

diaith anadnabyddus, am hynny *di adeiladaidd*, (yr hyn yn vnig a weddai i blant *Babilon ddirgelaidd fawr*) yn rhuo ac yn *mwrmlio* forau a hwyr nifer o *Aue Mariau*, a *Phater Nosterau*, a'r eu *Paderau*, a gweddiau i addoli delwau: Pa fodd y byddant hwy yn eu crefydd ofergoelaidd yn codi yn y farn yn d'erbyn di, yr hwn wyt yn addef dy fod dy hûn yn wir addolwr i Grist? Os wyt ti yn tybied fod y gweddiau hyn yn ormod tasc, y rhai o ran maint sydd fyrrach nai rhai hwynt, ac o ran ffrwyth o lawer yn fwy buddiol, yn vnig yn tueddu at ogoniant Duw, a'th ddaioni dithau, a chwedi eu cynnill ynghyd allan o ymadroddion yr scrythur lân, megis y gallech di lefaru wrth Dduw, yn gystal yn ei eiriau bendigedig ei hûn, ac yn dy dafodiaith gartrefol dithau. Bydded cywilydd gennit fod y Papisdiaid yn eu hofergoelion yn addoli y creaduriaid: Yn eu hymddangos eu hunain yn fwy crefyddol
Ioa.17.3 na thy di yn addoli y *gwir a'r vnig Dduw*: Ac mewn gwirionedd gweddi mewn crefydd neillduol, a ddylai fod yn ymadrodd parhaus, ac nid yn ddryllïedig

lliedig ddarnau.

6. Yn olaf, pan ddêl y fâth feddy-
liau yn dy ben, naill, a'i i'th cadw
oddiwrth weddio, a'i i beri i't abergofi
gweddio: cyfia mai y rheini ydynt yr Mat.13 4
*ehediaid a anfonodd yr vn drwg i ddifa* 19.
*'r hâd da, a chyrph dy aberthau yſpry-*
*dol:* eithr ymegnia *gyd a'g Abraham*
iw gwylltio hwynt ymmaith. Etto
er hynny o byddi di yn deall ar ryw
amſer, fod dy yſpryd yn ſyfrdan, a'th
feddwl yn *anghymmwys i weddio*, ac i
grefydd ſencteiddiol: na ymdrech or-
mod y pryd hynny; eithr tan dy y-
moſtwng dy hûn, wrth glywed dy
wendid a'th ſyfrdanrhwydd, gan wy- 1 Cor.8
bod fod Duw yn derbyn *y meddwl* 12.
*ewyllyſgar*, (er ei fod wedi ei orthrym-
mu gan fauch y cnawd) ymegnia amſer
arall i dalu ynghyfair dy anewyllyſga-
rwch yn awr, gan ddyblu dy Zêl; ac
am yr amſer preſennol gorchymmyn
dy enaid i Dduw yn y weddi ſerr-
yma, neu 'r cyfryw.

## *Gweddi foreuol arall sy ferrach.*

GWir rasusol Dduw a thrugaroccaf *Dâd*, my fi dy was anheilwng wyf yma yn cydnabod, mai fel i'm ganwyd mewn pechod, felly y bum fyw mewn anwiredd, ac a dorrais bob vn o'th orchmynnion mewn meddwl, gair, a gweithred; gan ddilyn deisyfiadau fy ewyllys fy hun, a thrachwantau *fy nghnawd*, heb ofal gennif am fy ymddwyn fy hun yn ol dy air a'th Ysbryd sanctaidd di: Ac am hynny yr wyf yn haeddu yn *gyfiawn* oll gywilydd a thrueni yn y byd hwn, a thragwyddol *ddamnedigaeth* yn *hân vffern* pe gwobrwyit fi yn ôl dy gyfiawnder di, am haeddedigaeth innau. O herwydd pa ham, o nefol Dâd, yr wyf yn attolygu i ti (er mwyn dy fab *Iesu Grist*, ac er *mwyn* teilyngdod y farwolaeth *chwerw* a'r *dioddefaint* creulon, yr hyn yr wyf yn ei gredu a ddioddefodd trosof) faddau a phardynu i mi fy holl bechodau, am gwaredu oddiwrth y cywilydd a'r dialedd,

dialedd, yr hyn ſydd ddyledus i mi o'i plegid. Ac anfon dy Yſpryd glân i'm calon; yr hwn a'm ſicrhao i o'th fod ti yn Dâd i mi, a minnau yn *fab* i ti-thau, a'th fod i'm caru a chariad di-gyfnewidiol: a gâd i'th vnrhyw Yſ-pryd fy nhywys i yn y gwirionedd, a chroeſhoelio fwyfwy y nof holl gnaw-dol a bydol drachwantau, fel y bo pechod fwyfwy yn marweiddio ynof: ac fel y gallwyf dy waſanaethu di, mewn diragrithiol gyfiawnder a ſancte-iddrwydd y dydd hwn, a holl ddy-ddiau fy mywyd: fel pan ddiweddo y bywyd marwol hwn, y gallwyf (drwy dy drugaredd Yng-Hriſt) fod yn gy-frannog o'th ogoniant tragwyddol yn dy nefol deyrnas. Ac yma O Arglwydd, yr wyf o eigiawn calon, yn diolch i ti, am yr holl fendithiau a dywelldaiſt a'r fy enaid a'm corph: am fy *ethol* i o'th *gariad*, *fyngwaredu* drwy dy *Fâb*, am ſancteiddio drwy dy Yſpryd glân, am fy ymddiffyn o'm ieuengtyd hyd y dydd hwn a'r awr breſennol, o'th ragluniaeth tra-graſuſol.

Yr wyf yn diolch i'ti yn bendifadden, am fy ymddiffyn y nos hon, oddiwrth bob

bob peryglon a niweidiau, am dwyn yn ddiangol hyd dechrau y dydd heddyw. Yr aw'rhon (O Arglwydd daionus (yr wyf yn attolwg i ti, cadw fi rhag llaw oddiwrth bob drwg niweidiol i mi, ac rhag syrthio i fewn vn math a'r bechod gorthrwm i ennyn dy ddigofaint di: gosod dy ofn o flaen fyngolygon, a'th Yspryd i reoli fynghalon megis y byddo y cwbl oll *a feddyliwyf, a ddywedwyf,* ac a *wnelwyf* y dydd heddyw, yn tueddu at dy ogoniant di, daioni eraill, a thangneddyf fynghydwybod fy hun. Ac er mwyn hynny, yr wyf yn fyngorchymmyn fy hun, fy llwybrau, am gweithredoedd, a chwbl a berthynant i mi, i'th rasusol hyfforddiad a'th cadwraeth di: gan ddeisyfu arnat eu cadw hwynt a minnau, rhag pob drwg: a rhoddi dy rad a'th fendith a'r eni holl lafur onest a'n amcanion bucheddol. Ymddiffyn yr holl Eglwys rhag creulondeb y byd, a'r Anghrist. Cadw ein *Brenin* grasol rhag pob *twyll* a *bradwriaeth*: cennadhâ iddo lywodraethu arnom yn, hir, ac yn ddedwyddol. Bendithia y *Frenhynes*, y *Tywysog* Palatin a'i rinweddol

weddol *Arglwyddes Elizabeth.* Cynysgaedda hwynt a'th nefol râd, a gwared hwy rhag pob drwg: Bendithia yr holl eglwyswyr a'r swyddogion a'r cyfryw ddonniau â rhadau ac a wyddost ti fod yn *angenrheidiol* iw lleodd. Synnia a'r bawb a'r a'th ofnant ac a grynant wrth glywed dy farnedigaethau. Cyssura bawb a'r sydd yn glwyfus, ac yn ddi ymwared. Arglwydd cadw fi mewn gwasdadol barodrwydd drwy ffydd ac edifeirwch, hyd fy niwedd: Fel pa yn bynnag a'i byw a'i marw fyddwyf, i'm ceir yn eiddot ti, i'th ogoniant di, a'm iechydwriaeth dragwyddol innau, trwy *Iesu Grist*, fy vnig Iachawdwr. Yn yr hwn enw bendigedig, yr wyf yn ersyn y trugareddau hyn a'r dy law, ac yn rhoddi i ti dy fawl a'th ogoniant yn y weddi a sancteiddiodd ef ai wefusau ei hûn, gan ddywedyd:

*Ein tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.*

*Ychwaneg*

*Ychwaneg o fyfyrdodau ein hannog ni i weddio y borau.*

NA thybia, fod negesau na thrafferth yn y byd (er maint a fyddont) yn escus gweddol i adael gweddi foreuol ymmaith, eithr myfyrria:

1. Mai pa fwyaf fô dy negesau, o ran hynny y mae i ti fwy achos i weddio am râd Duw a'i fendith arnynt: gan weled fod yn sicr *na lwydda dim heb ei fendith ef.*

2. Fod llawer dŷn pan fai yn ei dybied ei hûn ddiogelaf, yn cael ei wrthwynebu yn gyntaf o'r cwbl, felly y gelli dithau.

3. Fyned llawer dŷn allan o'i ddrws ac heb ddychwelyd byth yn ei ôl drachefn. Llawer dŷn a gôdodd yn iach lawen y borau, ac a gaed yn farw cyn y nos, felly y gall ddigwyddo i tithau. Ac o byddi mor ofalus (cyn dy fyned allan) i yfed, er mwyn cadw dy gorph rhag awyr ddiffaith; pa faint mwy gofalus y dylit ti fod i *weddio* i ymddiffyn dy enaid rhag profedigaethau neweidus?

4. Nad

4. Nad yw 'r amſer a dreuliaiſt ti yn gweddio, yn rhwyſtro dim, eithr yn hyfforddi, ac yn llwyddo dy waith a'th negeſau.

5. Mai, pan fyddych yn myned allan i drin y byd, dy fod yn myned i anialwch llawn o beryglon anadnabyddus: lle y cyfarfyddi a llawer *miaren* i ddryllio dy enw da: llawer o *faglau* i rwydo dy fywyd, a llawer o helwyr i ddifetha dy enaid. Maes ydyw: yn llawn o wellt rhywiog, eithr yn llawn o ſeirph gwenwynllyd. Na * anturia gan hynny fyned yn noeth, ym mhlîth y mieri hynny, cyn i ti ymbilâ Chriſt am dy *ddilladu* di a'i gyfiawnder ef: nac i fyned heibio i'r hoenynnau ar cyſgodau hynny: cyn i ti weddio am ragddarparwch Duw i fod i'th cyfarwyddo: nac i rodio yn droednoeth trwy 'r *maes* pryfedog hwn: nes i ti gael dy draed wedi *eu hymwiſgo ac eſgidiau paratoad Efengyl Tangnheddyf*: drwy weddio fod *y ſarph bres* yn gyſan yngolwg dy ffydd: i gael felly oni ddeui adref yn *ſancteiddiach*, y byddych ſicr, na bythych ddim *gwaeth* na 'r pryd yr aethoſt di allan or drws.

* *Hydeta.*

Am

Am hynny er maint a fyddo dy frŷs, neu er cymmaint a fyddo dy negessau, etto na ddos yn eu cylch, nac allan o'th dŷ, nes i ti or lleiaf ddywedyd y weddi ferr hon, neu 'r cyfryw.

*Boreuol weddi ferr.*



O Drugarog Dâd, er mwyn Iesu Grist, yr wyf yn attolygu i ti, faddeu i mi fy holl gyhoeddus a dirgeledig bechodau, y rhai ar *feddwl, gair,* a *gweithred* a wnaethym yn erbyn dy dduwiol Fawrhydi: A gwared fi oddiwrth yr holl farnedigaethau dyledus i mi am danynt, a sancteiddia fynghalon a'th lân Yspryd, fel y gallwyf o hyn allan arwain bywyd duwiolach a mwy bucheddol. Ac yma o Arglwydd, yr wyf yn aberthu moliant i'th *enw sanctaidd*, am ddarfod i ti fy niddanu i y nos hon a chymesurdeb o gwsg ac esmwythdra. Yr wyf yn attolwg i ti hefyd y dydd hwn, ymddiffyn fy enaid am corph rhag eu holl beryglon a niweidiau. Ac er mwyn hyn, yr wyf yn tyng-

fyngorchymyn fy hunan, a'm holl orchwylion i'th fendigedig gadwraeth a'th reoledigaeth; gan ddeisyf arnat, pa vn bynnag a wnelwyf a'i byw, a'i marw, i mi fyw, a marw, i'th ogoniant ti, ac i iechydwriaeth fy enaid truan, yr hwn a brynaist a'th *werthfawr waed.* Bendithia fi gan hynny, O Arglwydd, yn fy *mynediad* allan, a'm *dyfodiad* i mewn: A chennadhâ pa beth bynnag, a feddyliwyf, a *ddywedwyf* neu a *gymmerwyf* mewn llaw y dydd heddyw, ei fod yn tueddu at ogoniant dy enw di, at ddaioni eraill, a diddanwch fynghydwybod fy hun, pan ddelwyf ger dy fron di, i wneuthur *fynghyfrif diwaethaf.* Cennadhâ hyn o nefol Dâd ermwyn dy fab *Iesu Grist*, yn yr hwn enw bendigedig, yr wyf yn rhoddi i ti dy *ogoniant*, ac yn erfyn a'r dy ddwylaw, yr holl *rádau* eraill, a wyddost ti eu bod yn angenrheidiol i mi y dydd hwn ac yn dragywydd, yn y weddi a ddyscodd Crist ei hûn i mi, gan ddywedyd: *Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd &c.*

*My-*

*Myfyrdodau yn arwain Cristion, fel y gallo ef rodio yr holl ddiwrnod gyd â Duw mal Enoch.*

GWedi i ti ddechrau fal hyn, gwilia mor ddyfal ac ei gellych yr holl ddiwrnod yn ôl hynny: a'r dy feddyliau, geiriau, a gweithredoedd, yr hyn beth a elli di ei wneuthur yn hawdd, os ymbili am gynnorthwy Yspryd Duw, a synnied yr ychydig * reolau hyn.

* Dlosparthau.

Yn gyntaf, am dy feddyliau.

Psalm. 137.9. Esay. 5. 5. BYdd ofalus i ddodi heibio bob pechod yn y cynnwrf cyntaf. Taro i lawr *blant Babilon* wrth y meini (tra fythont yn ieuaingc) Sathra wyau yr * *Asp* (mewn pryd) rhag iddo dorri allan yn sarph. Bydded pechod yn ddieithr i'r galon, ac nid yn cyfanneddu ynddi. Gochel gwympo yn fynych i'r vnrhyw bechod, rhag i *arfer o bechu dynnu ymmaith gydwybod o bechu*, ac yno yr a'i mor *ddigywilydd fe!ldigedig*, na

* y lyndys

na wnelach di nac *ofni Duw* nac *anrhydeddu dŷn.*

Na âd i'th feddwl ymfodloni mewn nebryw feddylfryd, yr hwn a fyddo, naill, a'i *amhoſſibl* i ti ei gyflawni, a'i *anfuddiol* wedi ei wneuthur: eithr yn hytrach meddwl am *wagedd* y byd, iw ddiyſtyru: am *farwolaeth*, i ddiſgwyl am dani: am *farnedigaeth* iw gochelyd: am *uffern* i ddiangc rhagddi; ac am y *nefoedd* iw deiſyfu.

3. Na ddeiſyfia gyflawni dy feddwl ym mhob peth: eithr dyſc nacau i ti dy hun, y deiſyfiadau hynny (er daed y bônt yn rhyngu bodd i'th naturiaeth) y rhai pan eu ceffych a bair ogan i'th grefydd, a chaſineb i tithau. Yſtyrria y diwedd ym mhob peth cyn i ti ddechrau y weithred.

Chwilia beunydd fwyfwy i weled dy drueni dy hun, o achos anghredini-aeth, neillduol gariad, ac ewyllyſlawn dorriad cyfraith Dd*uw*: a gwêl ddiffyg trugaredd Dduw, trwy haeddedigaethau dioddefaint Criſt i fod yn gyfryw: fel pe gofynnid i ti *pa greadur waelaf ar y ddaiar*: y gallo dy gydwybod atteb; *My fi fy hûn o herwydd fy mhechodau*:

chodau: ac o'r tu arall pe gofynnid i ti, pa beth yr wyt ti yn ei gymmeryd yn beth mwyaf gwerthfawr yn y byd? bod o'th galon i'th atteb, *vn defnyn o waed Crist i olchi ymmaith fy mhechodau.* Ac fel yr wyt yn prisio yn iechydwriaeth dy enaid, na fydd fyw mewn vn mâth a'r bechod rhyfygus. O blegid *gwir* ffydd, a *bwriad i bechu*, byth ni chyttunant a'i gilydd.

5. Ymddangos dy fod yn wir wâs i Grist, nid yn vnig yn dy alwedigaeth gyffredinol, megis trwy y fynych arfer y *gair* a'r *Sacramentau:* eithr hefyd yn hynodol, gan wneuthur cydwybod i ochel pob pechod adnabyddus: ac i vfyddhau i Dduw ym mhob vn o'i orchymynnion: Mal *Iosias* yr hwn a drôdd at Dduw, *a'i holl galon yn ôl cyfraith Moeses. A Zachari ac Elizabeth*, y rhai a rodiasant yn holl orchymynnion a *deddfau 'r Arglwydd yn ddifeius.* Eithr o digwydda i't (O wendid) vn amser gwympo i ryw fâth a'r bechod, na orwedd ynddo, eithr ymgyfoda o honaw chwypyn drwy edifeirwch difrifol; gan weddio am faddeuant, nes i'th cydwybod gael ei heddychu, a'th

casineb

caſineb i bechod ei chawnegu, a'th *ſwriad i wellhau ei* gydſturſio yn hollawl.

6. Gochel ſod yn hoffi cael canmholiaeth wenhieithus gan y bobl: ni ddaw 'r diwedd o hynny ſyth i ddaioni. Ac er i ti gael mawl trwy haeddiant rhyglyddus, derbyn yn gall, rhag iddo briſio yn ſwy peryglus na diyſtyrwch. O blegid nid yw 'r *gwyr mawr* ond chwennych cadw yn iſel y rhai a lyſant hwy am eu haneilyngdod: a thorri ymmaith y rhai y bônt yn eu cynfigennu am eu mawredd. Hwnnw gan hynny ſydd wir ddyn gall, yr hwn (wrth yſtyried yr ymadrodd or blaen) ni byddo yn *hoffi* nag yn *llyfu* canmholiaeth. Eithr mogel er dim i feddwl anfodlongar letyſa ynot, canys ſe ddichon wneuthur mwy o alaeth nag a wyddoſt. Trugaredd hynod yw, ym myſg y lliaws o fendithiau a gefaiſt, gael rhai gwrthwynebion. Y mae Duw yn rhoddi i ti lawer o fendithion, rhag (a thithau yn blentyn iddo) trwy eiſiau, *i* ti anobeithio. Ac y mae ef yn danſon rhai gwrthwynebion, rhag mewn gormod llawnder (wrth ſod yn

ffôl) i ti ryfygu. Llawer o'r rhai a ymgyfodasant eu hunain i vchelfreintiau, a fuasent yn eu bodloni eu hunain a breintiau is pa gwybuasent eu mawrion beryglau? hoffa gan hynny gymmedroldeb o flaen mawredd, ac yn dy ewyllys bydded gennit olwg ar ewyllys Duw: rhag i'th weithred dy hûn ymchwelyd yn ddinistr i't dy hunan. Dedwyddol yw 'r dyn yr hwn yn y byd byrr yma, y mae 'r byd yn cael lleiaf cydnabod arno, am y byddo ef yn gwir adnabod *Duw* ac ef ei *hûn*. Pa wrthwyneb bynnag gan hynny a ddigwyddo i ti; cofia ei fod yn llai nac y mae dy bechodau yn ei haeddu. Cyfrif gan hynny Grist yn fwyaf llawenydd, a phechod yn fwyaf prudd-der i ti: na chyffelyba vn mâth ar eisiau, i eisiau grâs, nac vn mâth ar golled, i'r golled am ffafr Duw: ac yno yr anfodlonrhwydd oddiallan a orthrymma lai ar dy feddwl oddifewn. A chyn fynyched ac y cynnygio Satan wneuthur cynnwrf o anfodlonrhwydd yn dy feddylfryd: cofia athrawiaeth *Paul ni ddygasom ni ddim i'r byd, ac eglur yw,* na allwn *ni ddwyn dim allan chwaith.*

Am

*Am hynny o bydd genym, ymborth a dillad, ymfodlonwn ar hynny. Canys y rhai sydd yn ewyllysio ymgyfoethogi sydd yn syrthio i brofedigaeth, a magl, a llawer o chwantau ynfyd a neweidiol, y rhai sy 'n boddi dynion i ddinistr, a cholledigaeth. Gweddia gan hynny gyd ag Agur ddoeth: O Arglwydd na ddyro i mi na thylodi na chyfoeth, portha fi am digonedd o fara, rhag i mi ymlenwi a'th wadu di, a dywedyd, pwy yw 'r Arglwydd: a rhag i mi fyned yn dlawd a lledratta, a chymmeryd enw fy Nuw yn ofer.*

7. Na ddyro fwy o feddwl ar bethau bydol, nac sydd angenrhaid o ran cyflawni dy le, a chynheliaeth dy fywyd: ac yn wastad gofala fwy am bethau nefol, nac am bethau daiarol: a bydded mwy gofidus gennit, am yr ammarch a wnelir i Dduw, nac am y llwyrgam a gynnygier i ti dy hunan: ond os cam neillduol a gynnygir i ti, cyd-ddyga fel Cristion trwy ammynedd. Ni bu erioed vn diniwaid yn cael cam, os *cyd-ddygai* yn ddioddefgar, nâs *gorfyddai* yn y diwedd. Eithr y mae dy enw da (meddi di) yn y cyfamser yn cael anaf: cyd-ddyga hynny hefyd, yn

1.Tim.6. 7,8,9.
1.Tim.6. 8.9.
Gen.18.
Col.3.1.2
Phil.3.20
Iosu.7.9.
Psal.139.

'n ammyneddgar: Canys yr hwn yn y dydd olaf a rydd 'ith gorph di *adgyfodiad*, a gennadha yn ddiogel, mewn amser gweddol, *adgyfodiad* 'ith enw da. Os ty di a fyddi yn anoddefgar, yn ymwenwyno, ac yn ymofidio o achos bod yn cael cam, y briw yr wyt yn ei wneuthur it dy hun, sydd fwy na 'r hyn y mae dy wrthwynebwr yn ei wneuthur i ti. Ni elli chwaith moi lawenychu ef yn fwy, na chael o hono glywed fod hynny yn dy ofidio di trwyddot. Eithr o gelli ddangos ammynedd ar y ddaiar, fe ddengys Duw ei fod yntau yn gyfion yn y nefoedd Gweddia trosto ef; Canys os da wyt ti dy hun, ni elli na lawenychi, o gweli dy elyn pennaf, yn dyfod yn ddŷn da yntau. Eithr os ef ni ymwrthyd a'i dwyll, ac a'i falais, ymro di i weddio, gan dy orchymmyn dy hun a'r achos at *Farnwr cyfion* nef a daiar, a chan ddywedyd gyd â *Ieremi: O Arglwydd y*
Ier.11.20 *lluoedd barnwr cyfiawnder, a chwiliwr yr arennau a'r galon: dialedd sydd eiddot; i ti y datcuddiais fy nghwyn.* Yn y cyfamser gwilia (gyd â *Dafydd)* am yr Arglwydd: *bydd o gyssur da, a'c ef a ddi-*

*ddiddana dy galon.*

8. Pa fwyaf a ganmolo eraill arnat ti am ryw weithred odidog, bydd ditau fwyaf goſtyngedig yn dy feddylfryd dy hûn. Nac ymhoffa mewn gwâg ganmholiaeth dynion; yr oedd y forwyn Fendigedig mewn ymdrech meddwl, pan gafodd hi ei gwir ganmol gan yr Angel. Hwynt hwy a glodforir gan Angelion yn y nef: y rhai a ochelant gaumholiaeth dynion ar y ddaiar. Nid rhaid i ti chwaith mo'th cannol dy hûn; os da gwnei, di gei ddigon i gyhoeddi dy foliant. Na fydd ymofyngar i *wybod* gweithredoedd rhai eraill, eithr yn hytrach bydd ofalus, na wypo neb arall vn ganweithred o'th eiddo di.

9. Na chyfrif vn pechod yn *fychan*, canys y mae dial Duw yn ddyledus i'r lleiaf: ar lleiaf a'th fwriaſai di yn golledig, oni buaſai ei Fab Duw farw droſot. Bydded greſynus gennit (wrh hynny) drueni dy gyflwr dy hûn: ac fel y byddo 'r achos yn gofyn *galara* am anwiredd yr amſer, gweddia ar ei Dduw ei wellhau, ac na fydd di vn or rhai, a'i gwnelo yn *waeth.* Eze.9.4.

10. Yn ddiweddaf, mynych-fe-

ddwl *fyrred* yw dy enioes, a ſicred yw marwolaeth : a dymuna enioes *dda*, o flaen enioes *hir*; Canys fel y mae yn well vn diwrnod o enioes dŷn na'r oed hwyaf i garw neu i gigfran : felly vn dydd gwedi ei dreilio mewn dwywawl grefydd, ſydd werthfawrocach na holl fywyd dŷn a ddarfyddo yn halogedig.

Moes vnwaith gan hynny bob dydd, rifo dy ddyddiau, i dynnu ymmaith y rhai a ddarfuont (mal breuddwyd a ddiflannai) a thynnu ynghyd, y rhai ſydd i ddyfod, (gan fod y naill hanner iw cyſgu allan, ar hyn ſy 'n ôl yn helbulus, gan *orthrymderau* y byd, dy afiechyd dy hûn, a marwolaethau cynneſeifiaid) gan gyfrif yn vnig y dydd preſennol yn eiddot ti : yr hwn treilia fel pe bai heb fod i ti iw dreilio vn dydd ond hwnnw.

## Y*n ail, am dy eiriau.*

Mat.12.36. Diha.17.15. ar.10.19.

COfia fod yn rhaid i *ti roi cyfrif am bob gair ſegur* : a bod y gŵr doethaf wrth ſiarad gormod, yn myned tu hwnt iddo ei hûn. Gochel gan hynny bob anibennus a gwydn-ofer ſiarad, o'r

o'r hyn anfynych y daw *diddanwch*, a thra-mynych *edifeirwch*: yn enwedig mogel attebion byrbwyll, lle y mae y tafod yn rhedeg o flaen y meddwl, y gair oedd eiddot ti tra cedwaist ei mewn: y mae'n eiddo arall cyn gynted ac yr aeth allan. O gywilydd a gwarth, pan fyddo tafod dŷn ei hûn yn dyfod yn dŷst yn ei erbyn, i wradwyddo ei wyneb ei hûnan. Felly byдded dy eiriau yn an-aml, ac yn bwyllig: rhagfyfyria ydyw y peth yr wyt ar fedr ei ddywedyd, yn weddaidd iw ddywedyd: na wiria fwy nag a wypych ti ei fod yn wir, a dewis dewi o flaen siarad yn ddiffrwyth, neu chwedleua rhe swm di-ddenydd.

*edrych lle 'r aeth, pa drautben, ac wrth bwy y gair oth b:n: O G.*

2. Eled dy galon a'th dafod ynghyd mewn * honest-rwydd a gwirionedd, casha *ragrith a phob goganair mewn arall*, fficiddia ynot dy hun, *neu fo fficiddia Duw dy di am hynny*, O blegit y mae ef *yn casbau y dŷn celŵyddog, a'r cythraul ei Dâd ef vn ffunyd*. Os gwybyddir vnwaith dy fod heb wneuthur cydwybod o ddywedyd celwydd, ni choelia vn dŷn mo honot pan fyddych yn dywedyd y gwirionedd; eithr o

* *Symlrwydd.* 1. Pet. 2. 1.

Psal. 5. 2. *Os celwyddog i'th adwaenant pryd y traethech wir ni 'th coeliant.*

byddi yn caru y gwirionedd, fe a goel-lir i'th air di o flaen llvvf yn celwyddog. Mavvr yvv 'r meddiant ſydd gan Satan ar yr rhai a ymarfero ddyvvedyd celvvydd, megis na fedrant ond dyvvedyd celvvydd, er na byddo iddynt elw yn y byd oddivvrtho: ac er na bô neb arall yn peri iddynt ei ddyvvedyd. Na âd i'th ddigofaint barhau, wedi ei *dar-fyddo* 'r achos: gwêl byth ragoriaeth, rhwng yr hwn ſy 'n gwneuthur cam o herwydd ei wendid ( neu yn erbyn ei ewyllys) *ar hwn ſy 'n trawſedd yn ei llawnfryd yn faleiſus*: gâd i'r naill gael trugaredd, ac i'r llall gael cyfiawnder.

3. Cadw dy ymadrodd oddiwrth bob budreddi a serthrwydd, mor lân, ac y mynnit gadw dy fwyd oddiwrth wenwyn, a bydded *dy ymadrodd yn gyfryw ac a ſyddo da i adeiladu yn fuddiol,*
Eph. 4. 29 *ac yn peri grâs i'r gwrandawyr:* bydd mwy difrifol yn ſiarad am y grefydd, nac yn ſiarad am bethau bydol.

O Deelli i't gyfeiliorni, nag ymdro yn wargaled i aros yn dy fai; *gorfoledda wrth gael y gwirionedd a mawryga ef.* Myfyria gan hynny dri pheth, ddeall yn dda, ddywedyd yn dda, a gwneuthur

thur yn dda. A phan gyfarfyddych di â *phlant Duw*, bydd sicr o gynnili rhyw leshâd o ddiwrthynt, dysc ganddynt gwbl ac a ellych o ddaioni, a chyfranna ag hwynt yr holl bethau daionus a wyddost dithau. Pa fwyaf o ddaioni a ddyscch i *eraill, mwyaf a ddysc Duw i tithau.* Canys megis y mae *donniau dynion* wrth hir ymarfer o honynt, yn delwi ac yn darfod: felly y mae donniau Duw o'i hir ymarfer yn cynnyddu, ac ynchwanegu; *Megis ysteneid o olew y wraig weddw ddyledog, yr hwn pa fwyaf a dywalltai hi o honi. fwyfwy a fyddai ynddi.* Marc. 4. 24. 2. Bren. 4. 2.

4. Gochel gredu y cwbl a ddywedpwyd iti, ac na ddywed y cwbl a glywych di: Canys os gwnei, ni chei di hir feddu cyfeillion cywir, na byth eisiau blinderau trymmion. Am hynny, cyn cyhuddo neb, bydd yn gyntaf ddiogel o'r gwirionedd: yno barna. Ac fel yr wyt yn prisio geirda calon honest, na âd fyth i gasineb mewn drygnaws beri i ti adrodd, yr hyn a ddarfu, i gariad, mewn cymdeithas dy rwymo di (er ys hir o amser) iw gadw yn gyfrinachol. Eithr rhag ofn y fâch Prc. 3. 7.

wyniau, ſynnia ddau beth:

Yn gyntaf, er maint dy gydnabyddiaeth: na wna yr vn yn geſeillſrawd o'th cyfrinach, ond vn a fyddo yn gwir ofni Duw, y cyfryw nid rhaid i ti byth moi ofni. Canys pa rhoem i chwi ac amrafaelio mewn rhyw bethau neillduol, etto cariad griſtianogawl, prif ſail eich cyſeillach: ni chwympa allan byth, ac ni chynnwys ofn Duw iddo ef, wneuthur dihirdra â thydi.

Yn ail, na wna ddim yngŵydd dy gyfaill, am yr hyn ni elli fod yn ddiangol, oddieithr ei gadw yn gyfrinachol: nag vn peth (o daw achos) y byddo rhaid i ti ei ofni, os ef a brifia i fod yn elyn anafus i ti. O gwnaethoſt ti ddim ar ſai, gofyn faddauant i Dduw, a * pherſwadia dy di dy hûn, ac nid dy gyfaill, i gadw dy gyfrinach dy hûn. Canys bydd ddiogel pa gefeillach bynnag, a oſodir ar ſail amgen, nac ar wir grefydd; os yr *achos* o honi a fetha, y mae'r gyfeillach yn myned i'r gwellt: Ac yn hytrach o herwydd fel y mae Duw yn hau, gwirionedd, heddwch, a chymdeithas ymhlith dynion, megis y dylem ni fyw i wneuthur daioni y naill

* Dyg ar ddeall i'ti

naill i'r llall: felly y mae 'r cythraul beunydd yn hau celwydd, amraesael, a glynasdra, i beri (os gall ef) i'r cyfeillion anwylaf, y naill i ddifetha 'r llall.

5. Na wna goeg-ddigrifwch o wendid vn arall: cofia dy vn dy hunan. Ffeiddia synwyr gâs, a naturiaeth front y dŷn sydd (pan fo ei mennydd yn deall rhyw achos o watwor) yn trafaelio megis gwraig feichiog, nes cael ei ben yn rhydd oddiwrtho. Ie gwell ganddo golli ei gyfaill gorau, nai wawd dihiraf: eithr o byddi di wedi ymroi i fod yn llawen, cymmer ofal mawr am dri pheth. Yn gyntaf, na byddo dy ddigrifwch yn gwrthwynebu *iawn grefydd.*

Yn ail, na byddo yn erbyn *cariad perffaith.*

Yn drydydd, na byddo yn *erbyn diweirdeb.* Ac yno bydd mor llawen ac a fynnych, *yn vnig yn yr Arglwydd.*

6. Na fydded llawen gennit weled codwm i'th elyn, o blegit ni wyddost pa fodd y bydd dy ddiwedd dy hûn. Eithr gorfoleddda fwy wrth weled gwellhâd y dŷn dihiraf, nac wrth weled ei gospedigaeth. Na chasŵâ vn Phi. 4. 4.

Rhuf.5.8 10. dŷn, rhag ofn bod Crist yn ei garu: *yr hwn ni fyn i ti gasbau 'r hwn a garo ef.*
Eph.2.4. Yr oedd Crist yn dy garu di, pan oeddit *yn elyn* iddo; am hynny drwy haeddedigaethu ei waed, y *mae ef yn erfyn arnat er ei fwyn ef garu dy elyn:* nacâ ef (a thithau yn Gristion) os llyfesi. Nid yw ef yn gofyn ond maddeuant am faddeuant: maddeuant o gant o geniogau am faddeuant o ddeng-mil o da-
Mat. 25. 11, &c. lentau, trugain can-mil o goronau, am ddeg coron: Ychydig o faddeuant dŷn am anherfynol faddeuant yr holl *Alluog* Dduw, er i ti dybied, nad yw dy elyn yn haeddu maddeuant, etto y mae Crist yn deilwng i'w anrhydeddu.

7. Dywed y gwirionedd, ac na ofna wyneb dŷn: pan fyddo gogoniant Duw neu ddaioni dy gymydog yn ei ofyn ar dy lawer: wrth ynnill câs y Tywysog lawer gwaith yr ynnillir cariad Duw: ni cheiff gweniaith ond byr barhau mewn *cymmeriad*, na *gwirionedd* mor hir aros mewn *ammarch.*

8. Tybia ei fod ef yn gyfaill cywir ffyddlon, a ddywedo i ti dy feiau yn eglur mewn dirgelwch. Yr hwn sydd yn dy weled ti yn troseddu, ac heb ddy-

ddywedyd i ti dy fai: naill, a'i mai ef yn gwenhieithio i't am dy ffafr, neu ni feiddia ef rhag ofn, mo'th anfodloni. Gresynus ydyw cyflwr yr hwn, wrth ei raid ni feddo vn i'w gynghori. Argyoeddiad, bid gyfion bid anghyfion; pa vn bynnag a'i o enau cydymmaith, a'i o enau gelyn y delo, ni wna fyth niwaid i wr synhwyrol. O blegid os bydd hynny yn wir, dyna i ti rybydd i wellhau: os anwir, dyna ddangos i ti beth i'w ochelyd: felly ym mhob ffordd y mae yn gwneuthur gwr câll yn well, neu yn ddichlynnach. Ond oni elli aros dy * argyoeddi: na wna dithau ddim ochos o argyoeddiad.

* *Neu feioarnat*

9. Na chrybwylla Dduw, ond trwy ofn ac anrhydedd, megis yn ei glyw a'i olwg. Canys gan weled nad ydym ni deilwng i arferu ei enw sanctaidd yn ein geneuau: llai o lawer y dylem ni gamarfer ei enw bendigedig yn ofer, yn ein hymadroddion. Canys ei arfer beunydd, mewn ofer, byrbwyll, neu gau lyfon, sydd fein hynodol ac arwydd *diamheuus* o enaid ni wir. ofnodd Dduw erioed. Gweddia gan hynny gyd â Dafydd, pan fyddych i lefaru mewn rhyw

Psal.141. 3. achos a ddichon beri digofaint fel hyn:
*Gosod Arglwydd gadwraeth o flaen fyng-enau: cadw ddrws fyngwefusau.*

10. Yn olaf, bydd weddaidd yn canmol, yn wybodol yn cyfarch, yn gymdeithgar yn cynghori, yn drugarog yn maddeu, yn ffyddlon yn addo, yn hael yn gwobrwyo twrn da, heb wneuthur taledigaeth *rhinwedd*, yn wobrau ffafor.

*Yn drydydd am dy weithredoedd.*

NA wna ddrwg er gallael ei wneuthur: O blegid ni chynnwys Duw i'r pechod lleiaf (heb edifeirwch chwerwdôst) ddiangc yn ddigosp. Na âd vn daioni a'r a ellych heb ei wneuthur. Na wna ddim allan o'th alwedigaeth, nac yn dy alwedigaeth, cyn i ti yn
Psa. 119 101. gyntaf gymmeryd cyngor gen *air Duw*, i *wybod a fyddo y peth yn gyfreithlawn*, a'i na byddo, a gweddio am ei fendith ef, ar dy amcannion, ag yno gwna ef, yn *enw Duw*, â chalon lawn o gyssur, gan orchymmyn y rhâd a'r cynnydd iddo ef, yngallu yr hwn, y mae bendigo, a llwyddo pa orchwyl bynnag a ddarparwyd i'w ogoniant.

2. Pryd

2. Pryd ith arweinir i brofedigaeth, i wneuthur gweithred ddrwg, cofia fod Satan gyd a'i orchwyl ef. Na âd gan hynny i blentyn ei Dduw fod yn offer i aill cyn ddihired. Cashâ y *gorchwyl*, mal yr wyt yn ffieiddio yr *awdur*. ymofyn a'th cydwybod y ddau beth hyn: *a fynnwn i, i arall wneuthur fal hyn â mi?* Mat.7.12
*Pa ryw atteb a rof i Grist, yn nydd fynghyfrif*, Os fy fi *(yngwrthwyneb im gwybodaeth a'm cydwybod) a wnaf yr anwiredd a'r pechod hwn yn ei erbyn ef*. Cofia gyd â *Ioseph*, er nad oes vn dŷn yn gweled, etto y mae Duw yn gweled y cwbl. Ymâd gan hynny a'th holl bechodau (gyd â *Ioseph*) yn gystal y rhai ydynt gyfrinachol yngolwg Duw yn vnig, a'r rhai ydynt eglur yngolwg dynion. Oblegit Duw fel y mae yn gyfiawn, (oddieithr i't brysuro i edifarhau) a ddwg yr holl bechodau dirgeledig i oleuni cyhoeddus, megis y dygodd rai *Dafydd* gar bron *holl Israel, a char bron yr haul*. Bydded gan hynny pechodau dirgeledig mor ofnadwy gennit, ac yw cywilydd agored. A gochel hwynt oll yn gyffredin, mal na byddych yn cennadhau i't dy hûn vn

Luc.16.2
2.Cor.6.
Gen.39.9.11.

ncilidnoI

neillduoll bechod anwyl, yr hwn y mae llygredigaeth dy anian yn cyttuno yn orau ag efo, oblegit fe fedr y cythraul cyfrwys-ddrwg, ddala enaid dŷn ynglŷn, cyn dynned wrth vn, ac wrth lawer o bechodau: ac yn drymmach wrth vn a fyddo yn rhyngu bodd i ti, nac wrth yr holl rai y byddych yn dechrau eu casħau. Ac fel yr wyt yn chwennych ymadael ar pechod, felly bydd ofalus i ochelyd yr achos.

3. Er mwyn cwblhau gweithredoedd da o fewn dy alwedigaeth, nac ammeu ragluniaeth Duw, er ei ti weled y moddion naill, a'i 'n weinion, a'i 'n ddiffygiol, ac o bydd y moddion yn ymgynnig i ti bydd ddiogel eu bod hwynt yn gyfreithlon: a chwedi ei ceffych foddion cyfreithlon, gwilia hyderu mwy arnynt hwy, nac ar Dduw ei hun. Cymmeryd poen mewn galwedigaeth gyfreithlon, ydyw moddion cyffredinol Duw, drwy 'r rhai y mae Duw yn bendithio ei blant â phethau oddiallan. Gweddia gan hynny am fendith Duw ar ei foddion ef. Bydded gennit feddylfryd nefol mewn bydol a daiarol drafferth: Gwna dy egni

goreu

gorau a gorchymmyn y digwyddiadd (fel y perthyn) i ddoethineb y goruchaf Dduw. Na *feddwl gael llwyddiant ar y pethau a felldigodd Duw. Nid elw yn y diwedd yw, yr hyn a ynnillych wrth golli dy *enaid*. Yn mhob gweithredoedd a moddion gan hynny, *ymegnia* gyd â *Phaul* i gadw *cydwybod lân bob amser tu ac at Dduw, a dynion.*

*Ddisgwyl.

*O rau: cydwybod sy 'n gwaredu,*
*cydwybod sydd yn euog farnu.*
*Cydwybod garwnod, yn ol gwaith gwabair golli dŷn diffaith,* (*llus*
*Cydwybod mewn cyd obaith*
*a geidw dŷn gwedi ei daith.*

4. Câr bob pethau daionus, er mwyn Duw: a châr Dduw er ei fwyn ei hûn. Tra fyddych yn dal Duw yn gyfaill it, naid rhaid i ti ofni pwy a fyddo *gelyn* i ti: canys naill, a'i fe a wna Duw dy elyn i fod yn gyfaill i ti, a'i fe a'i ffrwyna ef, fel nas gallo wneuthur dim niweid i ti. Erioed ni orchfygwyd vn dŷn gan ei elyn, nes i'w bechod ef yn gyntaf gael y llaw 'n vchaf arno, a Duw ei adael ef iddo ei hûn. Yr hwn gan hynny a fynno fod yn gadwedig rhag ofn ei elynion, a byw yn, wastad

Rhu. 8.31
Diha. 16. 7.

yn ffafr Duw, *pryned* ynfydrwydd yr amser a aeth heibio ag edifeirwch diffiol: edryched ar *yr amser presennol* trwy fanyldra Duwiol grefydd, a gwilied yr amser sydd i ddyfod, trwy ragwybodaeth di-esceulus.

Psa.37.11 12,13.

5. Dyro i bob dŷn yr anrhydedd dyledus iw alwedigaeth, eithr anrhydedda ddŷn yn fwy am ei *ddaioni*, nac am ei *fawredd*. Ac ar law pwy bynnag y cefaist ti dwrn da, cofia (yn ol y gallu a roddes Duw i ti) fod yn ddiolchgar iddo. Cydnabydda hyn yn gariadus o flaen dynion, a gweddia trosto ar Dduw â chalon ewyllysgar, a chyfrif bob bendith a dderbynniaist oddiwrth Dduw, yn arwydd o'i dragwyddol gariad, i'th cymmell i dduwiol fywyd.

6. Na falchîa o achos dy olud bydol *oddiallan*, nac o achos dy ddoniau ysprydol *oddifewn*. *Nid o achos dy dda bydol oddiallan*, o blegit fel eu daethant yn ddiweddar, felly yr ânt ymmaith drachefn yn ddisymmwth, am hynny y golled o honynt nid yw beth i'w chwyno. *Nac am ddoniau oddifewn chwaith*: canys, fel y darfu i Dduw eu rhoi, felly yn agwedd efe a'i dwg hwynt

ym-

ymmaith: Os (gan anghofio y Rhoddwr) y camarferi di ei ddonniau, gan chwyddo dy galon â balchder o'th haeddedigaeth dy hûn, ac i ddiystyru eraill, er mwyn pa rai y darfu i'r Ollalluog Dduw dywallt y cyfryw ddonniau arnat. Oes gennit ti vn rhîn dda a bair i ti feddwl yn dda am danat dy hûn? y mae arnat titheu vgain o feiau a ddylai yn hytrach, dy beri yn gâs yn dy olwg dy hûn.

Bydd vn agwedd yngolwg Duw, yr hwn sydd yn gweled dy galon, ac yr wyt yn ymddangos yngolwg dynion, y rhai sydd yn gweled dy wyneb. Na ymfodlona mo honot dy hûn ag enw da *oddiallan*, pan fyddo dy gydwybod *oddifewn* yn dywedyd i ti, nad wyt yn ei haeddu, ac am hynny nid eiddo ti mo honaw. Enw da haeddedigol, am beth bynnag y byddo, oddieithr am *Dduwioldeb*, a bery *ychydig* a llai a dâl. Ni ddarllennais eroioed yn yr holl scrythyrau sanctaidd, o edifeirwch rhagrithiwr; ac nid rhyfedd: Canys yn ôl pechu * dychweliad ydyw yr vnig fodd sydd wedi ei adael i iachau pechaduriaid eraill, pa ryw fodd sydd i'w gael,

* edifeirwch.

i'w

i'w ddychwelyd ef, yr hwn a drô[i]
*droad* ei hûn yn bechod. Gwae ga[n]
hynny yr enaid nid yw, ac etto sy['n]
ymddangos yn sucheddol.

* Ddibenydd. 7. Dal sulw ar * ddiben ofnadwy
y dynion melldigedig hynodol, i ffie[i]-
ddio eu gweithredoedd drygionus; e[dry]-
drych ar *fywyd y duwiol*, fel y ge[l]-
llych ddyscu gwneuthur ar ei ôl, a[c ar]
Num. 23. 10. *ddiwedd bendigedig*, fel y gellych ga[el]
Psal. 37. 35, 36, 37 cyssur oddiwrtho. Gwna barch i'th
well, dal sulw ar y doeth, cynnal gym-
deithas y dyn gonest, a châr y dŷn
crefyddol. A chan weled fod natur ly-
gredig dŷn yn tueddu at *Ragrith*: go-
chel arferu crefydd yn ddibris ac yn
scoewan, heb na *gofal* na *chydwybod* i
gynnyddu yn dduwiolach a sancti-
ddiolach oddiwrthi. Ymwrando ga[n]
hynny pa fodd ei ymglywych (trwy
2. Cor. 1. 28. arferu *moddion* Duw beunydd) yn
marwhau dy lygredigaeth, ac yn cyn-
nyddu mewn sancteiddrwydd: Ac na
wna ddim llûn neu wâgfost i ym-
ddangos, yn sancteiddiach oddiallan,
nac wyt ti (yngolwg Duw) oddifewn
yn dy galon.

8. Cais lywodraethu y rhai sy 'n

byw

byw tan dy awdurdod trwy gariad, yn hytrach na thrwy ofn: Canys llywodraethu trwy gariad sydd hawdd a diogel, eithr gofal a dychryn a fydd byth yn canlyn *creulondeb.* Gortrechiad a bair i'r rhai a ortrechir ddisgwyl odfa i fyned oddi dan yr iau, yr hon nid ydynt fodlon iw ddwyn: Ni âd cyfiawnder Duw chwaith, i lywodraeth a seiliwyd ar *greulondeb* barhau yn hir. Cofia er eu bod trwy ddynol ordinhâd, yn dy wasanaethu di; etto trwy briodol drefn gyfiawnach, gweision i *Dduw* ydynt, ie a chan eu bod yn Gristianogion, nid megis dy weision, eithr vwchlaw gweision, *brodyr anwyl yn yr Arglwydd.* Rheôla gan hynny ar *Gristianogion* (gan dy fod yn gristion) mewn cariad, a thrugaredd fel Crist dy ben Athro. 1.Cor.9.5.

9. Cofia, mai o holl weithredoedd dyn, nad oes dim yn peri *Swyddog* yn debyccach i Dduw (rhaglaw i'r hwn yw ef) nac yw, gwneuthur vniondeb yn vnion: O ran cyflawni yr hyn beth mal y dylit:

Yn gyntaf, bydded gennit ti glust agored i wrando achwynion, cyfiawn

neu

neu anghyfiawn weithredoedd.

Yn ail, dod felly fenthyg vn glust i'r cyhuddwr, fel y bŷch yn cadw y llall i'r ymddiffynnwr : Canys yr hwn a farno o'r naill du, cyn gwrando y ddau er iddo farnu yn gyfiawn, y mae ef yn farnwr anghyfiawn.

Yn drydydd, wrth wrando'r ddeutu, na ogŵydda at y llaw ddehau o serch, nac at yr aswy o gasineb: megis i goelio *rhysymmau* o debygoliaeth gan gyfaill, o flaen *y gwirionedd* eglur gan gas-ddyn.

Yn bedwerydd, na ddyro nâg o gyfiawnder,(yr hyn yw *regia mensura, sef mesur brenhin*,) i'r deiliaid gwaelaf. Eithr gâd i achos y gwan, a'r anghênog, y cryf, ar cyfoethog, fod yn yr vnrhyw bwysau i gwastad. Os canfyddi o'r naill du mewn rhyw achos: *frynniau vchel o gyfrwysdra dichellgar*, ymbleidio *cedyrn*, ag erlid *haerllyg gortrech* ac o'r tu arall bannylau isel, tlodi, diniweidra, a gwendid di ymwaredol. Pantôa dy ffordd (fel y mae Duw yn gwneuthur ) i farnu, gan gyfodi pannylau, a thynnu i lawr frynniau, a rhoi *anghyffelybiaeth yn gyffelyb*. Fel y gosodych

sail

*ſail* dy farn *ar dir gwaſdad.* Mewn a-
chos o *uniondeb neu gam* rhwng plaid
a phlaid, bydded dy gydwybod yn o- 1. Cor. 4. 10.
ſalus: *ius dicere* i adrodd y gyfraith,
yr hon a wnaethpwyd, ſecundum * *alle-* * *Yn ol rheſwm a thyſtiolaeth.*
*gata et probata*; yn hytrach nag: *ius*
*dare* i wneuthur cyfraith dy hûn, yn ôl
dy awdurdod *ſic volo, ſic iubeo*, ſef,
felly yr wyf yn mynnu, felly yr wyf
yn gorchymmyn, gan ofni y felldith Deut. 27. 17.
hon: *Melldigedig yw 'r hwn a ſymmu-*
*do derfyn tir ei gymmydog.* Mewn a-
choſion am ſywyd neu farwolaeth, by-
dded Barnwyr yn gyffelyb i *Elohim*,
mewn *cyfiawnder* yn coſio *trugaredd*;
ac felly yn edrych a milain olwg Cyfi-
awnder ar y weithred, fel y byddo Hab. 3. 2.
toſturus olwg *Trugaredd* ar y *drwg*
*weithredwr.* Gan drechu ffafr y gyfra-
ith i fod yn ffafr o fywyd, lle byddo
grâs yn addo gwellhâd: eithr o bydd
cyfiawnder yn gofyn i un farw, rhag
marw undeb, a bod yn rhaid torri ymm-
maith aelod pydrllyd, rhag i'r holl
gorph wywo *fiat iuſtitia*; gwneler cy-
fiawnder. Eithr pan fych yn rhoddi y
farn ar arall, cofia fod dy farn dy hûn
yn crogi goruwch dy ben. Ym mhob
achos

achos gan hynny barna yn gyfiawn, e
blegid yr wyt ti yn sicr o gael Barnwr
cyfiawn, gar bron yr hwn y mae'r
rhaid i ti ar fyrder fyned i ymddangos
i gael dy farnu dy hûn: y pryd hynny
y gelli di adael i'th gyfaill hyn o Farw
nad yn dy ôl.

*Nuper eram Iudex, iam Iudic
ante Tribunal*
*Subsistens, paueo, iudicor ipse mo
do.*

Hynny yw:

*Barnwr doeth a fûm i gynt*
*yn cael yr helynt orau:*
*Ac yr awrhon ofnog ŵr*
*ger bron y Barnwr finnau.*

Llawer sydd (ni wn i o herwydd
pa ham) a ymofidiant o herwydd cy
fraith y deyrnas: Eithr y gwyr a fo do
eth, a ddichon atteb gyd a'r *Apost*
1.Tim.1.8 *Nos scimus bonam esse Legem, modò
Iudex ea legitimò vtatur; Nyni a wy
ddom mai da yw'r gyfraith, os arfer dy
bi yn gyfreithlawn.* Ac my fi a'i galwn
d

ef yn *Farnwr* cyfiawn, calon yr hwn ni ddichon llygredigaeth *gwobrau*, ofn gelynnion, na chariad cyfeillion ei dynnu oddiwrth ymarfer cydwybodus a'r gorchymynnion yma. Ac wrth yr anaml-fâth anrhydeddus Farnwr hwnnw, y dywedaf gyd â *Iehosaphat: ymwrôlwch, a gwnewch gyfiawnder, a'r Arglwydd fydd gyd a'r daionus.*

10. Yn ddiwaethaf, na wna yn difyrrwch yn arfer beunyddiol i ti. Nid yw yr ymarfer hwyaf o ddigrifwch ond byrr, eithr y *poenau* am *gamarfer* digrifwch ydynt *dragwyddol*. Arfer gan hynny o ddifyrrwch cyfreithlawn cynbelled, ac ei byddo i'th wneuthur yn dy gorph a'th feddwl yn *gymmesurach* a *chyfurach* i wneuthur gwasanaeth Duw, a'r dyledion perthynasol i'th alwedigaeth. Y mae dy waith yn fawr, nid yw dy amser ond byrr. Ac y mae 'r hwn sydd *yn talu gwobr i bob vn fel y byddo ei waith ef, yn sefyll wrth y drws.* Dad.12.
Meddwl pa waith sydd etto yn ol, mor araf y gweithiaist yr amser a aeth heibio; a pha gyfrif a fyddei gennit, pe bai dy Arglwydd yn dy alw ger ei fron y dydd heddyw. Bydd ofalus o hyn Iago.5.9

allan,

allan, i wneuthur yr elw gorau a ellyd o'r amser byrr sydd i ti yn ôl, fel y gwnai ddŷn o hên ammodau, a fai yn mron myned allan: A phan fych yn bwriadu *difyrru yr amser i't dy hun*, cofia leied yw amser dy enioes, ac am hynny na ellir difa llawer o hynny mewn *seguryd, digrifwch, chwaryddiaeth*, a gwag *oferedd*: Gan weled nad yw 'r cwbl ond yspaid byrr, iw dreilio yn gwneuthnr y daioni gorau ar a fedrych. O blegid ni chreuwyd dŷn er mwyn *ymddifyrru, ymddigrifo*, neu *chwareu*: eithr i wasanaethu Duw mewn *Crefydd* yn ddyfal, ac i wasanaethu ei gymydog yn gydwybodus yn ei alwedigaeth; ac felly iw sicrhau ei hûn o iechydwriaeth tragwyddol. Cyfrif gan hynny golli 'r amser, yn vn o'r colledion mwyaf. *Prŷn yr amser* yn ofalus, a bydd dradoeth iw dreilio, fel pan ddêl yr amser, yn yr hwn ni chei mor bod yn orchwyliwr mwyach ar y ddaiar, y byddo dy Arglwydd yn dy groesawu di a'g: *Euge bone serue sef, da was da*, ac yn rhoddi i ti le gwell yn y nefoedd, lle cai yn llawen *lawenychu* yn *llawenydd dy Arglwydd yn* dragywydd.

*Pryd-*

## *Prydnawnol fyfyrdod.*

*Yn yr hwyr, pan fyddych yn dy baratoi dy hûn i gymmeryd dy esmwythder, myfyrria ar yr ychydig byngciau hyn.*

1. GAn weled fod dy ddyddiau wedi eu cyfrif, ac vn ychwaneg or cyfrif wedi ei dreilio: dy fod yn negosach i'th ddiwedd o ddiwrnod.

2. Eistedd i lawr ennyd, cyn i ti fyned i'th wely, ac ystyria wrthit dy hûn, pa beth a welaist, a glywaist, neu a ddarllennaist, y dydd hwn a haeddai goffadwriaeth, mwy nac a welsit, a glywsit, neu a wyddit or blaen, a gwna y deunydd goreu a ellych o honynt; eithr yn enwedig galw i'th côf, pa bechod a wnaethost y dydd hwnnw, yn erbyn Duw neu ddŷn: a pha ddaioni a adewaist heb wneuthur: ac ymostwng dy hùn am y ddeubeth hynny. O thebygi i ti dy hùn wneuthur dim da, cydnabyddda mai rhâd Duw oedd hynny, a dyro iddo ef y gogoniant, a chyfrif y dydd hwnnw yn golledig,

lledig, yn yr hwn ni wnaethost ti ddim daioni.

3. Os gwyddost i ti wneuthur yn pechod gorthrwm, trwy wendid neu brofedigaeth gref: Na ryfyga gyfgu nes darfod i ti ar dy liniau wneuthur vndeb neillduol at Dduvv yng-Hrist am hynny: yn gystal drwy gyffessu dy fai, a thrvvy ddyfal vveddio am gael gollyngdod a maddeuant. Felly wrth vvneuthur dy gyfrif yn vnion â Christ bob nos, fe fydd i ti lai o dâsg, wrth vvneuthur y cyfrif divvaethaf, o flaen ei *Fawrhydi* yn Nydd y *Farn*.

4. Os digwydda i ti vn dydd fyrthio allan â neb, Na *fachluded yr haul ar dy*
Eph.4.26 *ddigofaint di* y noson honno. Os bydd dy gydwybod yn cyhuddo i ti wneuthur cam ag ef, cydnebydd ar bai, ac ymbil ag ef am faddeuant. Os efe a wnaeth gam a thy di, cynnyg ei gymmod iddo, ac oni chymmoda ef, etto maddeu di iddo o'th calon, *Math.* 5. 23. Mewn vn modd na ryfyga fod yn ddialwr drosot dy hûn. Canys felly yr wyt yn gwnuethur cam deublyg â Duw: yn gyntaf, am gynnyg dwyn cleddyf cyfiawnder o'i law ef, fel pe bai

bai ef heb fod yn gyfiawn : ac yntau wedi cadw *talu dial* yn ei law hun. Yn ail, am gamarfer awdurdod ar ei was ef, heb droi'r achos atto ef iw gwrando, ac iw barnu, yr hwn sydd yn Arglwydd ac yn Feistr i chwi 'ch deuwedd. Heb law hynny, yr wyt ti yn rhy * dueddol i fod yn ddialwr. O blegid pe bait ti i roi dial arnat dy hun, ti ai rhoddit yn rhy *yscafn*, ac ar dy elyn yn rhy *drwm*. Am hynny Duw piau dial, ditheu piau maddeu.

* *Tueddu or naill du.*

Ac yn dystiolaeth ddarfod i ti yn ollawl faddeu iddo ef, gweddia at Dduw am gael o hono faddeuant o'i fai, a gwellhâd o'i fuchedd: ac yn ôl hynny o daw achos (o bydd yn dy allu.) gwna iddo gymmwynas, a gorfoleddda yn ei wneuthur : Canys yr hwn sydd yn gwneuthur daioni iw elynion, sydd yn ei ymddangos ei hûn yn fab Duw, a'i wobr sydd gyd â Duw ei Dàd.

5. Nac arfera o gwsc megis *moddion* i fodloni dy swrthfudr bwdrgnawd. Eithr megis yn feddiginiaeth i adnewŷddu dy synwyrau, a'th aelodau blinion : Cymmedrolddeb o gyscu sydd yn escydhau y *meddwl*, ac yn byw-

hau y *corph*: eithr anfesurol gwsc sydd yn trymhau y naili, ac yn tewchu y llall.

6. Cofia fod llawer yn myned iw gwely, ac heb gyfodi byth drachefn, hyd oni ddeffroer, i adgyfodi wrth lais ofnadwy yr *udcorn diwaethaf*. eithr yr hwn sydd yn *cyscu* ac *yn deffro* gyd â gweddi, sydd yn cyscu ac yn deffro gyd â *Christ*. Os dymuni gan hynny gyscu yn ddiofal, ac yn ddiogel, ymddyro dy hun i ddwylaw Duw, tra byddych yn effro: Ac felly dôs i'th wely mewn anrhydedd i Fawrhydi Duw, dan ystyriaeth o'dy drueni dy hun, yr hyn a ellir ei *argraphu* yn dy galon mewn peth mesur, trwy 'r modd hyn, neu'r cyfryw fyfyrdod.

Darllain bennod yn yr unrhyw drefn ac a osodwyd ar lawr, i'w iw wneuthur yn y borau: a phan ddarfyddo i ti, gostwng i lawr ar dâl dy liniau wrth erchwyn dy wely, neu ryw le cyfleus arall yn dy stafell, a chan dderchafu dy galon, dy olygon, a'th ddwylaw, at dy Dâd nefol, yn enw a chyfryngdod ei sanctaidd *Fab Iesu*; gweddia atto ef, os oes genit y dawn i weddio.

1. Gan

1. Gan *gyfaddef* dy bechodau, yn enwedig y rhai a wanaethost y dydd hwnnw.

2. Gan *ymbil* yn ddifrifol er mwyn Crist am gael maddeuant, a rhyddhâd oddiwrthynt.

3. Gan *attolygu* ei Yspryd glân i'th rhagflaenu i wellhau dy fuchedd.

4. Gan *roddi diolch*, am yr holl ddoniau a dderbynniaist, yn enwedig, am dy gadwedigaeth y dwthwn hwnnw.

5. Gan *weddio* am lonyddwch, ac ymwared y noson honno.

*6.* Gan gofio stât yr Eglwys, y Brenin, ar hiliogaeth frenhinol, Gweinidodion gair Duw, a Swyddogion, a'n holl frodyr ymweledig neu erlidiedig.

7. Yn ddiwaethaf, gan dy orchymmyn dy hun a'th eiddo iw gadwraeth grasusol.

Hyn oll, a elli di ei wneuthur yn y geiriau hyn, neu 'r cyfryw.

## *Prydnawnol weddi.*



O Dra-grasusol Dduw a thrugarioccaf Dâd, yr hwn *wyt o amgylch, fyngwely, yn gwybod yn hyfbys fyngorweddfa am cyfodiad, ac wyt yn agos at y rhai oll â alwant arnat mewn gwirionedd a phurdeb.* My fi bechadur truan sy 'n attolwg i ti edrych arnaf, a golygon dy drugaredd, ac nid craffu arnaf fel yr ydwyf o honof fy hun: O blegid yno ni cheit weled ond creadur diffaith, aflân, *ac ammur, gwedi ei lunio mewn anwiredd, ac yn byw mewn pechod, fel y mae yn gywilydd gennif dderchafu fyngolwg tu ar nefoedd, gan wybod mor orthrwm y pechais yn erbyn y nefoedd, ac o'th flaen di.* O blegid (O Arglwydd) mi a droseddais dy holl orchymynnion a'th vnion ddeddfau, nid yn vnig, trwy esceulusdra a gwendid, eithr trwy ryfyg ewyllyscar yngwrthwyneb fyngwybodaeth fy hun; ie yn erbyn cymmwrf dy Yspryd sanctaidd, yr hwn oedd yn fyngalw i oddiwrthynt,

Psa.139.23.
Psal.45.8

Psa.51.9.
Heb.9.6.

ynt, fel y darſu i mi anafu fynghydwy-
bod, a digio dy Yſpryd glân, *trwy 'r* Eph.4.30.
*bwn i'm ſeliwyd hyd ddydd prynedigaeth.*
Tydi o gyſſegraiſt fy enaid a'm Corph
i fod yn *demlau* i'r *Yſpryd glân:* My fi
bechadur gwael, a halogais y ddau â
phob mâth a'r aflendid, a budreddi.
Fy llygaid wrth gymmeryd difyrrwch
i graffu ar *oferedd*, fynghluſtiau yn gw-
rando ammur ac aniwair ymadroddion,
fy nhafod yn cablu ac yn dywed yd cel-
wydd, fy nwylaw mor llawn o amhu-
redd, fel y mae 'n gywilydd gennif eu
codi attat:am traed yn fy nŵyn yn ôl fy
*llwybrau* fy hun: fy rheſwm am deall,y Rhu.3.15
rhai ſydd mor fywiol, mewn maſnach
fydol; ydynt ddall, ac aneallgar, pan
ddelwyf i ddadleu, neu i fyfyrio am
nefol ac yſprydol bethau: fynghôf, yr
hwn a ddylei fod yn dryſſordŷ pob
daioni, nid yw mor gymheſur a pharod
i gofio dim, ac yw i gofio gwagedd
ac ynfydrwydd. Ie Arglwydd trwy
wybodaeth alarus yr wyf yn canfod,
mai *naturiol gan oll fwriad meddylfryd*
*fynghalon fod yn ddrygionus bob amſer.*
*fymbechodau ydynt amlach na gwallt fy*
*mhen*, ac hwy a dyfaſant troſof megis

gwahanglwyf ffieiddiol, *fel nad oes o wadn y traed hyd y pen*, vn man na rhan
Esay 1.6. heb fod yn glwyfedig oddiwrthynt. Y maent hwy yn peri i mi ymddangos yn wael yn *tyngolwg fy hûn:* pa faint mwy ffiaidd ydwyf gan hynny yn dy wydd di? Ac y marfer o bechod gan mwyaf, a dynnodd ymmaith gydwybod am bechu, ac a luscodd ar fy vchaf y fâth fyndra o synwyr, a chaledwch calon, fel nad yw dy farnedigaethau (ban adrodder gan ffyddlon bregethwyr dy air yn erbyn pechodau) yn fy nychrynu, i ddychwelyd attat ti, trwy edifeirwch difrifol. A phe bai ti Arglwydd yn fyngwobrwyo, yn ol dy gyfiawnder di, am haeddedigaeth innau, mi gawn wradwydd a damnedigaeth yn dragywydd. Eithr gan weled, mai o'th trugaredd anfeidrol ei gwaredaist fi hyd yn hyn, ac wyt beunydd yn gwilio am fy edifeirwch: yr wyf yn ostyngedig yn deisyf arnat, (er mwyn y dirfawr Angau, ar Dioddefaint gwaedlyd, a ddioddefodd Iesu Grist drosof) faddeu a phardynu i mi fy holl
Ze.13.1. bechodau am hanwireddau: ac *agoryd i mi ffynnon* rydegog gwaed Crist, fel

yr

yr addewaist ei hagori tan y Testament Newydd i'r *edifeiriol o dŷ Dafydd:* mal y byddo fy holl bechodau am hafleoddid wedi eu trochi yn ei *waed*, eu claddu yn *ei farwolaeth*, a'i cuddio yn ei friwiau, fel na ddelent byth i gael eu gweled mwyach, i'm cywilyddio yn y byd hwn, nac i'm heuog farnu ger bron dy orseddfaingc yn y byd sydd i ddyfod. Ac yn gymmaint o Arglwydd ac y gwyddost *nad oes ym meddiant dyn droi ei galon, oni bydd i ti yn gyntaf roddi iddo râs i ymchwelyd:* a chan weled fod cyn hawsed i ti fyngwneuthur yn gyfion, ac yn sanctaidd, ac erchi i mi fod yn gyfryw ac ydwyf: O fy Nuw *dyro i mi râs i wneuthur â orchymynnaist, ac yna gorchymmyn a fynnych di*, ac ti am cei yn barod i wneuthur dy orchymmyn sanctaidd. Ac er mwyn hyn dyro i mi dy Yspryd glân, yr hyn a *addewaist* ei roi (*hyd ddiwedd y byd*) i'th holl etholedigion bobl; Agâd i'th vnrhyw Yspryd glân bureiddo fynghalon, iachau fy llygredigaeth, sancteiddio fy anian, a chyssegru fy enaid am corph, megis y byddont yn demlau yr Yspryd glân, *ith* Mat. 28. 20.

*wasanaethu di mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder holl ddyddiau fy mywyd:* fel pan orphennwyf (trwy gynnorthwy dy Yspryd sanctaidd di) *fyngyrfa yn y bywyd darfodedig hwn:* y gallwyf yn llawen adael y byd yma, a gorchymmyn fy enaid i'th ddwylaw Tadol, mewn diogel obaith o fwynhau y bywyd tragwyddol gyd â thi yn dy deyrnas nefol, yr hon *a ddarperaist i'th Seintiau etholedig, y rhai a garant yr Arglwydd Iesu*, ac a ddisgwyliant am ei ddyfodiad.

1.Tim.4.7.

Mat. 25.34.

Yn y cyfamser (o nefol Dâd) yr wyf yn attolwg, i'th lân Yspryd weithredu ynof y cyfryw edifeirwch difrifol, fel y byddwyf, trwy wylofain yn galaru am fy mhechodau a aethant heibio, trwy ofid calon yn ostyngedig am fy mhechodau presennol, ac am holl egni yn gwrthwynebu y cyfryw bechodau budron o hyn allan. A gâd i'th vnrhyw Yspryd glân, fynghadw hefyd yn vndeb yr Eglwys, fy nhywys yngwirionedd dy air, am ymddeffyn nad ysgogwyf byth oddiwrtho i *Babeidd-dra*, neu i ryw amryfusedd gwrthun arall, o gau addoliad. Agored dy

dy yſpryd fy llygaid ledlêd, *i weled pethau rhyfedd allan o'th gyfraith di.* Pſa. 119. 18.
Ac agor fyngwefuſau, fel y byddo fyngenau beunydd yn ymddiffyn dy *wirionedd, ac yn goſod allan dy Foliant.* Chwanega ynof yr holl ddoniau daionus, y rhai o'th trugaredd a ganniadhauaiſt i mi yn barod, a dyro i mi yſpryd dioddefgar, a chalon ddiwair, meddwl bodlonol, ſerch pur, ymddygiad gweddol, ar holl radau eraill, a wyddoſt ti fod yn anghenrhaid i mi, i lywodraethu fynghalon yn dy ofn, ac i vnioni fy mywyd yn dy ffafr: fel pa vn bynnag, a'i byw a'i marw a wnelwyf, y gallwyf fyw a marw i ti, yr hwn wyt fy Nuw am gwaredydd. Ac yma o Arglwydd, yn ôl fy rhymedig ddlêd, y rhoddaf i't ddiolch tramawr oddiar *Allor* calon oſtyngedig, am dy holl ddoniau, a'th fendithion, y rhai yn raſuſol ac yn helaeth a dywelltaiſt ar fy enaid am corph, tu ac at y bywyd hwn, a'r bywyd ſydd i ddyfod: yn bendifaddeu am fy *etholedigaeth, creadigaeth, prynydigaeth, galwedigaeth, cyfiawnhâd, ſancteiddiad, am hymddiffynniad o'm bieuengtid* hyd

y dydd ar awr breſennol yma: ac am y diogel obaith a roddaiſt i mi o'm *gogoneddiad.* Hefyd am fy iechyd, fyng-hyfoeth, fy ymborth, fyngwiſcoedd, am dedwyddfyd: ac yn enwedig, am ddarfod i ti fy ymddiffyn y dydd hwn aeth heibio, rhag pob peryglon a niweidiau, yn gyſtal fynghorph, am he-naid, gan fynghynyſcaeddu i ar holl bethau ydoedd angenrheidiol i mi. *Ac fel yr ordeinaiſt y dydd i ddŷn i lafu-rio ynddo, a'r nos i gymmeryd ei eſ-mwythdra.* Felly yr wyf yn attolwg i't, ſancteiddio i mi gwſc ac eſmwyth-der, y nos hon, fel y mwynhawyf hyn-ny megis cyſſur rhadlawn o'th fendith di: mal pan ddarfyddo im corph ſwrth, gael ei lonni a'i ddiflino a chymedrol-deb o gwſc a llonyddwch, y gallwyf a mwy nerth rodio gyd â thi, gan wneuthur y cyfryw weithredoedd da a orchymynnaiſt: pan ryngo bodd i'th ddwywawl allu fy neffroi y borau neſ-ſaf. A thra bwyf yn cyſcu: Bydd di *Cei-*
Pſa. 121.4 *dwad Iſrael yr hwn ni hûna, ac ni chwſc,* o'th ragluniaeth ſanctaidd i'm hymddi-ffyn rhag pob peryglon, fel na allo *Satan* nai *angelion drwg*, nac vn gelyn

arall

arall wneuthur *i mi ddim drwg neu niweid.* Ac i'r perwyl yma, gorchymmyn i'th Angelion Sanctaidd *Gastellu o'm hamgylch*, i'm cadw a'm gwaredu: fel yr addewaist y perit iddynt wneuthur *o amgylch* y rhai a ofnant dy enw. A chan wybod fod *dy enw yn dŵr cadarn, diogel i'r rhai a redant atto*; yr wyf yma yn fyngorchymmyn fy hûn (a chwbl a berthyn i mi) ith sanctaidd gadwraeth a'th ymddiffynniad. Os dy ewyllys bendigedig fydd alw am danaf om cwsc: O Arglwydd, er mwyn Iesu Grist cymmer drugaredd arnaf, a derbyn fy enaid i'th deyrnas nefol. Ac o rhynga bodd i't, chwanegu dyddiau at fy mywyd, o Arglwydd, chwanega wellhâd at fy nyddiau; a diddyfna fy meddwl oddiwrth serch *i'r byd*, ac i oferedd *bydol*, a phâr i mi gymmwyso fy ymarweddiad at y *nef a phethau nefol.* A pherffeithia ynof beunydd y gorchwyl da a ddechreuaist, i ogoniant dy enw, ac i iechydwriaeth fy enaid pechadurus. O Arglwydd yr wyf yn erfyn arnat am ymddiffyn, a chadw rhag pob neweid drwg neu berigl, dy holl Eglwys, maw-

Dad. 12 7
Psa. 34. 7
Dihar. 18. 10.

Mawrhydi y Brenin ar Frenhines, a'r Tywysog Palatin, a'i rinweddol Arglwyddes *Elizabeth*, ei wraig ef: Cadw hwynt yn mhurdeb dy wirionedd, a llwydda hwynt â phob grâs, a dedwyddwych. Bendithia yr holl Fonedd Gweinidogion a Swyddogion o'r, Eglwysi ar Teyrnasau hyn: Bawb o honynt â rhadau anghenrhaid iw lleoedd a'i galwedigaethu. A bydd di o Arglwydd, yn ddiddanwch ac yn gysur i'th holl bobl, y rhai a welaist ti yn dda eu gofwyo ag vn mâth ar glefyd, gwrthwyneb, neu gystudd. Prysura, o
Dad.6.10 Dad, ddyfodiad ein *Harglwydd ni Iesu*
11. *Grist*. Gwna i mi fod oHawr yn feddylgar am fy niwedd, ac am y cyfrif fydd raid i mi ei wneuthur i ti y pryd hynny: yn y cyfamser i *ganlyn Crist*
Mat.16. 28. *yn yr adenedigaeth*, mal y caffwyf gyd
Luc.14. 14. â Christ gyfran *yn adcyfodiad y rhai cyfiawn*, gwedi dibenno y bywyd marwol hwn. Y doniau hyn, a'r holl fendithiau eraill a wyddost ti (O Dâd) fod yn ddiffygiol ynof, ac yn angenrheidiol i mi, yr wyf yn ostyngedig yn ymbil, ac yn deisyfu eu cael ar dy ddwylaw, yn enw a chyfryngdod

*Iesu*

*Iesu Grist*, dy *Fab*, yn y ffurf ar weddi a ddyscodd ef ei hunan i mi iw ddywedyd wrthit.

*Ein Tâd yr hwn wyt. &c.*

## *Prydnawnol weddi arall sydd ferrach.*



Dragwyddol Dduw a nefol Dâd oni bai fy addyscu am sicrhau trwy addewidion dy Efengyl, ac esamplau *Petr*, *Magdelen*, *y Pwblican*, *y Mâb afradlon*, a llawer eraill o bechaduriad ediferiol, dy fod ti yn llawn *o drugarogrwydd*, ac yn barod i faddeu i'r pechaduriad trymmaf, *eu beichiau* o *bechod*, pa bryd *bynnac* y dychwelant attat ti, â chalonnau ediferiol, gan ymofidio am eu pechodau, a deisyfu da râs: mi fyddwn gwedi anobeithio om rhan fy hûn, heb ronyn cyssur ynof, i ryfygu dyfod o'th flaen di: wrth ystyried caledwch fyngha lon, afreoledigaeth fy serch, aflendid fy ymarweddiad, o herwydd pa ham y troseddais *dy holl gyfreithiau*, ac yr haeddais *dy felldith*, yr hyn â allai beri i'm

Luc.22.61.
Luc.7.47

i'm corph gael ei gystuddio a rhyw haint echrysson, am henaid ei nychu gan *farwolaeth pechod*, am enw da, gael eu soddi gan warth gwradwyddus, am cyflwr yn agored i bôb mâth ar wrthwynebion a damweiniau. Yr wyf yn cyfaddef O Arglwydd, *Mai dy drugaredd di yw 'r achos na ddarfu am danaf*. Eithr o fy Nuw, megis y darfu i'th trugaredd yn vnig attal dy farnedigaeth rhag descyn arnaf hyd yn hyn; felly yr wyf yn ostyngedig yn attolwyn i ti, yn ymyscaroedd trugareddau Iesu Grist, (*yn yr hwn yn vnig i'th fodlonir* :) *na thâl i mi yn ôl fy haeddedigaeth*, eithr maddau yn rhwydd ac yn rhâd i mi, fy holl bechodau, a'm hanwireddau: a golch fi yn lân oddiwrthynt â rhinwedd y gwerthfawroccaf waed, yr hwn a gollod *Iesu Grist*, trosof. Canys efe yw 'r vnig *physygwr*, a'i *waed ef* yw 'r vnig feddiginiaeth a ddichon iachau fy nolur. Ac efe yw'r wir *Sarph brês* a all fyngwneuthur yn iach oddiwrth y gwenwyn, a'r hwn y darfu ei *sarph danllyd* fy mhechodau frathu a gwenwyno fy mriwedig am clwyfedig enaid. Dyro i mi (yr wyf yn attolwgu

Galarn.3 22.
Mat.3.6.
Col.3.12
Mat.3.17

attolwgu i't) dy Yspryd glân, i'm sicr-
hau o'm *mabwysiad*, ac i gryfhau *fy* Gal.4.5.
*ffydd*, i chwanegu fy edifeirwch, i oleuo
fy neall, i buro fynghalon, i vnioni fy
ewyllys a'm deisyfiadau, i'm sanctei-
iddio trwof, *fel y cadwer gwbl oll om* 1. Thes.5
*hyspryd, fy enaid am corph, yn ddiargy-* 23.
*oedd yn nyfodiad ein Harglwydd Iesu*
*Grist*. Ac yr awr'hon O Arglwydd yr
wyf yn rhoddi i't ddiolch a moliant
ewyllyscar, a'm ddarfod i ti fyngwa-
redu y dydd hwn, oddiwrth bob pe-
ryglon a niweidiau, er dryced i'r hae-
ddwn, ac er maint fy anwiredd. Yr
wyf yn attolwg i ti hefyd fynghadw
y nos hon, rhag *y llew rhuadwy, yr* 1.Petr.5.
*hwn ddydd a nôs sy 'n rhodio oddi am-* 8.
*gylch gan geisio fy llyngcu*. Gwilia di O
Arglwydd trosof y nos hon, i'm gwa-
red rhag ei greulondeb a'i brofedigae-
thau: a gâd i'th trugaredd fod yn a-
chles a tharian i mi, rhag ei angymmo-
dol lid a'i aruthrol ddigofaint. Ac er
mwyn hyn, yr wyf yn fyngorchymm-
myn fy hûn i'th ddwylaw a'th gadw-
edigaeth di: gan attolygu i ti o fy
Arglwydd a'm Duw, na chynhwy-
sach i Satan, nac i'r vn o'i aelodau

diffaith

diffaith allu gwneuthur i mi ddim dir-dra neu niweid drŵg y nos heno. A chaniadha o Arglwydd daionus: *yn cyscu ac yn effro, yn byw, ac yn marw, i mi gyscu, a deffro, byw, a marw i ti*, ac i ogoniant dy enw, ac i iechydwriaeth fy enaid. Arglwydd bendithia a chadw dy etholedigion bobl ym mhob lle. Canniadha i'n Brenin hir a dedwyddol lywodraeth arnom, bendithia y frenhines Mari, y Tywysog Palatin a'i rinweddawl Arglwyddes *Elizabeth* ei wraig, a'i twysogawl heppil, a'r holl Swyddogion, a Gweinidogion dy Air. Cyffura bawb a'r y sydd mewn trueni, angen, neu glefyd: o Arglwydd daionus dyro i mi râs i fod yn vn o'r *morwynion call* fel *y paratôwyf fynghalon megis lamp yn llawn o olew ffydd, a discleirdeb gweithredoedd da*, i gyfarfod yr Arglwydd Iesu, *hyfryd briodfab fy enaid*, ar ei ail ddyfodiad disymmwth, yn ei ogoniant. Canniadha hyn o Dâd nefol, er mwyn *Crist Iesu*, fy vnig Iachawdwr am Cyfryngwr, yn yr hwn Enw bendigedig, ac yn ei *hynod* eiriau ei *hunan* y galwaf arnat fel i'm dyscodd. *Ein tâd yr hwn wyt yn y nefoedd &c.*

*Yn ôl hynny dywaid:*

DY râd O *Arglwydd Iesu Grist, dy serch o nefol Dâd, dy gymdeithas a'th ddiddanwch, o fendigedig a sancteiddlân Yspryd, a fo gyd â mysi ac a gyfanneddo yn fynghalon, y nos hon, ac yn dragywydd. Amen.*

Yno dan ymgyfodi trwy anrhydedd sancteiddiol, myfyria wrth dynnu dy ddillad oddi am danat.

*Pethau*

*Pethau i fyfyrio arnynt pan fydd-ych yn diosc oddi am danat.*

1. FOd y dydd yn dyfod, pryd i'th ddinoethier mor * noeth oddiwrth y cwbl a feddi di yn y byd, ac wyt ti yr aw'rhon oddiwrth dy ddillad: Nid oes gennit ti gan hynny yma ond benthyg yr holl bethau dros amser, megis *gorchwyliwr*, a hynny i roddi *cyfrif*. Am hynny tra yr ymddirieder i ti
Luc.16.2 am yr *orchwyliaeth hon* bydd *gall a ffyddlon*.

*Meddwl yr hên odl hon:*

* Nudus in hunc mundum veni, quoque nudus abibo.

sef:

*I'r byd dros ennyd draws anian daethym*
*I dithio 'n noeth aflan,*
*Hefyd o fyd yn y fan*
*Felly yr af fi allan.*

Mat.24.2 2. Pan ganfyddych dy wely, pared
Iob 17.13 hynny i ti feddwl am dy fedd: yr hwn sydd awrhon yn wely Crist. Canys Crist (gan roddi ei gorph sanctaidd dridiau a theirnos i orwedd yn y bedd) ai sancteiddiodd, ac (megis) a'i twymnodd

nodd ef i gyrph ei Seint, i orphywys, a huno ynddo, hyd forcuddydd yr *Adcyfodiad:* felly yr aw'rhon nid yw marwolaeth i'r ffyddlonniaid, ond hûn esmwyth, a'r bedd ond gwely Crist, lle y mae eu cyrph yn gorphywys ac yn cyscu mewn tangnedddyf: hyd *oni lewyrcho hyfryd foreuddydd yr Adcyfodiad iddynt.* Esay 26. 20.

*Cofia wrth weled dy wely:*
Vt somnus mortis, sic lectus imago sepulchri.

sef:
*Bydded cwsc sydd gyssur maeth*
*Yn ail marwolaeth cennyd:*
*A'r gwely gwêl yn ail i'r bedd*
*Lle rhaid i't orwedd hefyd.*

Byddcd gan hynny dillad dy wely, yn arwyddoccau i'ti bridd y ddaiar, yr hwn a'th oruwchguddia: a'th cynfasau dy amdo: dy gwsc dy farwolaeth: dy ddeffroad dy adgyfodiad. A phan orweddych yn dy wely a deall o honot fod * cyscu yn nesâu: *Dywaid, mewn heddwch y gorweddaf ac i'r hunaf,* canys *ti Arglwydd yn unig am cyfl·aist mewn diogelwch·* Fal hyn gan agoryd dy galon bob borau yn grefyddol, a'i Psal. 4. 8.

chau

chau drachefn bob nos â gair Duw ac â gweddi, megis â chlo ag egoriad: Ac felly gan ddechrau y dydd ag addoliant Duw, a myned rhagot yn ei ofn, a'i ddiweddu yn ei ffafr, di a fydd sicr o gael bendith Dduw ar dy holl orchwylion, a'th amcannion y dydd hwnnw: a'r noson, ti a elli dy sicrhau dy hûn, y cei gyscu yn ddiogel, ac yn hyfryd ym mreichiau *rhagluniaeth* dy Dâd nefol.

Hyd yn hyn am y Duwioldeb, yr hwn a ddylai bob Cristion ei arferu beunydd yn neulltuol. Yma y canlyn yr hyn sydd raid i Berchen tyaeth ei ymarfer gyd a'i deulu.

### *Myfyrdodau am dduwioldeb teuluaidd.*

OS dy alwedigaeth yw, cadw tŷ a thylwyth, na thybia fod yn ddigon abl i ti dy hùn weddio a gwasanaethu Duw yn vnion, eithr rhaid it beri i bawb a fyddo tan dy lywodraeth wneuthur yr vnrhyw gyd â thi. A'm gyflawni hyn o ddled, yr oedd Duw yn ymfodloni cystal yn *Abraham*, na chelai ef yr hyn a wnai rhagddo: *Canys*

(medd

(medd Duw *mi a'i hadwaen ef, y gorchymmyn ef iw blant, ac iw dylwyth ar* Gen 18.
*ei ôl, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd,* 17.
*gan wneuthur cyfiawnder a barn, fel y dygo'r Arglwydd ar Abraham, yr hyn a lefarodd efe am danaw. Ac yr oedd gan Abraham ddeunaw a thrychant o hyfforddus weision, a anesid yn ei dŷ ef; trwy nerth y rhai yr achubodd ef Lot ei nai* Gen.14.
*o ddwylaw ei elynion.* Ac y mae *Iosuah* 14.
dduwiolwych yn tystiolaethu ger bron yr holl bobl, er syrthio o honynt oll oddiwrth wir addoli Duw, etto *efe a'i dylwyth a wasanaethent yr Arglw-* Iosh.24.
*ydd.* Ac y mae Duw ei hûn yn gor- 15.
chymyn yn neillduol bob perchen tyaeth i athrawiaethu ei teulu yn ei Air, a'i dwyn eu fynu yn ei ofn a'i wa- Deu.6.7.
sanaeth. *Bydded y geiriau hyn yr ydwyf yn eu gorchymyn i ti heddyw, yn dy galon. Ac hyspyssa hwynt i'th plant, a chrybwyll am danynt pan eisteddych yn dy dŷ, a phan gerddych ar y ffordd, a phan orweddych i lawr, a phan gyfodych i fynu, &c. Ofna yr Arglwydd dy Dduw a gwasanaetha ef.* Yr oedd *Dafydd* gwedi trefnu ei dŷ yn ôl y gyfraith hon, *fel na chai ddyn twyllodrus drigo yn ei dŷ, eithr y*

*cyfryw*

Psal.101. *cyfryw a wasanaethai Dduw ac a rodia*
6.7. *mewn ffordd berffaith.* Yr oedd *Hes-*
Hest.4. *ber* dduwiol yn dyscu ei *llancesau*
26. wasanaethu Duw mewn *gweddi a*
*ympryd.* Ac (er mwyn hyfforddi dy
deulu mewn zêl wresog i grefydd v-
nion) hoffa yn swyaf y rhai a welych
yn ymroi yn orau i wir dduwioldeb
Hynny a fydd buddiol iti o herwydd
dwy achos. Yn gyntaf, fe a fendithia
Duw yn hytrach, ac lwyddianna, la-
fur, a gorchwyl dwylaw y cyfryw
Gen. 30. weision duwiol: Canys yr oedd *Laban*
27. yn gweled fod Duw *yn ei fendithio ob-*
*legit Iacob:* Ac yr oedd *Putiphar* yn
deall: *Fod yr Arglwydd gyd â Ioseph*
*yn llwyddo cwbl oll oedd tan ei law ef:* ie
Gen. 39. *pan daflwyd Ioseph yn wirion i'r carchar*
32. *yr oedd pennaeth y carchardŷ yn gwe-*
*led pa beth bynnac a'i wnai ef ei fod yn*
*llwyddo:* Ac am hynny y rhoddes pen-
naeth y carchardŷ yr holl garcha-
rorion tan law *Ioseph.* Yn ail, pa vn-
ionaf y gwasanaetho dŷn Dduw, ffy-
ddlonaf fydd ei wasanaeth i tithau.

2. Pe bai bob perchen teulu, fel hyn
yn ofalus (yn ôl ei rwymedig ddlêd)
i ddwyn i fynu ei blant a'i dylwyth

yn ofn Duw, a'i waſanaeth, yn ei dŷ ei hûn, yno y llenwid Tŷ Dduw yn well, ac i'r ymwelid a Bwrdd yr Arglwydd yn fynychach ar y dydd Sabboth; a llafur a phregethiad, y Bigeiliad a ddygai ffrwyth yn well, nac y mae. Ni byddai ſtrydoedd y trefi, a'r dinaſoedd, cyn llawned, o rai meddwon, anudonwyr puteinwyr, a gwatworwyr halogedig, gair Duw, a'i grefydd ſanctaidd, ni byddai *lys weſtminſter*, mor llawn o *ymryſonau* gwrthwynebus, *holion* cecrus, ac *amryfuſeddau* anghriſtianogawl; ac ni byddai 'r carchardai bob *Seſſiwn* mor llawn o ladron, ſpeilwyr ffyrdd fawr, bradwyr a llofruddion.

Eithr (och y ſywaeth) ni wna y rhan fwyaf o berchen tai fwy cyfrif o'i gweiſion nac o'i haniſeiliaid; am y caffont hwy eu cyrph i wneuthur eu gwaſanaeth, ni waeth ganddynt er i'w heneidiau waſanaethu 'r cythraul. Etto yr achwyn cyffredinol yw, fod gweiſion da a ffyddlon yn anhawdd ac yn anaml i'w cael. Gwir; eithr yr achos yw, fod cyn amled anuwiol ac halogedig *Feiſtred*: Canys eſampl ac athrawiaeth

wiaeth duwiol a bucheddol *feistr* a wn
*was da* a ffyddlon, fel y tystiolaetha e-
ſamphau o *Abraham, Ioſuah, Dafydd,*
*Cornelius, &c.* Y rhai oedd ganddyn
weiſion da o herwydd eu bod yn fei-
ſtred duwiol, a chyfryw rai oeddyn
ofalus i wneuthur eu gweiſion yn wei-
ſion i Dduw.

Prif laſur a gofal llawer ydyw, codi
ac ardderchafu eu tai; ac etto codant yn
forau, ac ânt yn hwyr i gyſcu, a bwy-
Pſal. 127. 1. tânt *fara gofalwch: ſe a'r cwbl yn ofer,*
*canys os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ,*
*(hynny yw codi y teuluoedd) ofer y lla-*
*furia ei adeiladwyr wrtho.* Canys duw
Ier. 10. 25 a ſeliodd hwn yn gyfammod digyfne-
Pſal. 52. 5 widiol, *y tywalit ei lid ar y teulnoedd*
*ni alwaſant ar ei enw ef:* ie Duw a dynn
y drygionus *allan o'i babell, ac a'i di-*
*wreiddia o dir y rhai byw.* Ie pan gy-
Levit. 18. 25. flawner eu hanwiredd, *y gwna ef i'r wlad*
*chwdu allan ei holl Canaaniteid.* Am
hynny gwir grefydd, a gwaſanaethu
Duw ymhlith teulu, ydyw 'r adeila-
orau ar ſcrifenadau diogelaf i ſicrhau tŷ
Eſa. 37. 29 a thir *ar ddyn a'i etifeddion.* *Canys y*
*cyfiawn a etifedda y ddaiar, ac a breſ-*
*ſwylia ynddi yn dragywydd.*

Os

Os dymuni gan hynny gael bendith Dduw arnat dy hûn, a'th teulu, naill, a'i cynt a'i gwedi dy neillduol weddi dy hûn, galw ynghyd bob borau i ryw stafell gyfleus, dy holl deulu; ac yn gyntaf, naill, a'i darllain dy hunan iddynt bennod yngair Duw, neu bair i vn arall a fedro ddarllain yn llawnllythyr. O chei ennyd di elli ddeongli iddynt brif adnodau daionus, ac yno gan fyned i lawr ar dy ddeulin gyd â hwynt, mewn modd anrhydeddus fel y dywetpwyd or blaen, cyd-weddiwch yn y modd hyn.

*Borenol weddi tros y teulu.*

O Arglwydd ein Duw a'n Tâd nefol, yr hwn wyt vnig creawdwr, a llywiawdwr, nef a daiar, a phob peth sydd o'i mewn: yr ydym ni yn cyfaddef, ein bod yn anheilwng i ymddangos ger dy fron di, gan ystyried yr aml bechodau a wnaethom yn erbyn y nefoedd, ac o'th flaen di, ac fel i'n ganwyd mewn pechod, ac beunydd yn torri dy gyfreithiau a'th orchymynnion sanctaidd, yngwrthwyneb yn

gwybodaeth a'n cydwybod; er i ni wybod mai ty di yw'r creawdwr yr hwn a'n gwnaeth, y gwaredydd, yr hwn a'n prynaiſt, â gwaed dy vnig anedig fâb; a'n diddanudd, yr hwn wyt yn rhoddi i ni yr holl ddaioni a rhâdau ſanctaidd a feddiannom yn ein heneidiau, a'n cyrph. A pha gwneit ti a nyni mal y mae ein hanwiredd a'n haniolchgarwch yn haeddu; pa beth arall O Arglwydd, a allwn ni ei ddiſgwil oddiwrthit, ond cywilydd, a gwarth yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw digofaint a damnedigaeth dragwyddol Etto o Arglwydd, yn vfydddod dy orchymyn, ac yn y diogel hyder ſydd genym yn anrhaethol ac anherfynol drugaredd dy Fab *Ieſu Griſt*, ein Iachawdwr: Nyni dy weiſion truain, gan chwennych ymwrthod a gorſeddfaingc dy gyfiawnder, (lle yr ydym yn gyfiawn gwedi ein euogfarnu) a dyfod ger bron gorſeddfaingc dy râd, (lle y mae trugaredd yn llywodraethu i faddau pechod cynnyrchiol:) ydym ô eigion ein calonnau yn oſtyngedig yn attolwg i ti ollwng heibio, a maddeui ni ein holl feiau a'n hanwireddau: fel

trwy

trwy rinwedd gwerthfawroccaf waed *Iesu Grist*, dy oen gwirion, ( yr hwn a dywalltodd yn dra helaeth er mwyn *tynnu ymmaith bechodau y byd* ) y gallo ein holl bechodau yn gystal gwreiddiol, a gwneuthurol, gael felly eu glanhau a'i golchi ymmaith, fel na byddont byth yn fauch arnom, ac na chyfodont yn y farn i'n herbyn. Ac nyni attolygwn i ti O Dâd daionus, er mwyn dirfawr Angau a dioddefaint *Crist*: Na chynnwys i'r felldith ofnadwy, ar dial echrys, yr hyn y mae dy gyfraith yn ei fygwth, a'n pechodau ninnau yn ei gyfion haeddu, syrthio arnom. Ac yngymmaint O Arglwydd, ac i'n dyscir gan dy air di, na chaiff *delw-addolwyr, godinebwyr, cybyddion, ymrysonwyr, meddwyr, glothinebwyr, ar cyfryw fywolion didrefn etifeddu teyrnas nefoedd*. Tywallt râd dy sanctaidd Yspryd ynom, fel y goleuo ein calonnau i ddirnad aflendid ein pechodau iw ffieiddio hwynt: Megis i'n cynhyrfer fwyfwy i fyw mewn newydd-deb buchedd, a chariad i'th *Fawrhydi*; fel y chwanego ynom beunydd, vfydd-dod i'th air a *gofal cydwybodus, a'n gadw dy orchy-*

*mynnion.* Ac yr aw'rhon O Arglwydd ni roddwn i't dramawr ddiolch o ddyfnder calonnau, a'm ddarfod i ti yn hethol, yn creu, yn gwaredu, yn galw, yn cyfiawnhau, a'n sanctciddio mewn rhyw fesur yn y bywyd hwn, ac am roddi i ni ddiogel obaith o ogoniant, yn dy deyrnas nefol pan ddiweddo 'r bywyd marwol hwn. Yr ydym yn diolch i't hefyd am ein bywyd, ein hiechyd, ein golud, ein rhydd-did, ein llwyddiant a'n heddwch; yn enwedig o Arglwydd am barhaus gymmorth dy Efengyl sanctaidd i'n plith, am ein herbed hyd yn hyn, a channiadhau i ni y cyfryw amser grasusol i *edifarhau.* Ni a'th folianwn yn agwedd, am yr holl drugareddau eraill a dywelltaist arnom, yn bendifaddeu am ein cadw a'n gwared y nos hon a aeth heibio, oddiwrth bob niweid a allai ddigwyddo i'n Cyrph a'n heneidiau. A chan i ti ein dywn yn ddiogel hyd dechrau y ddyd heddyw, ni attolygwn i ti ein hymddiffyn a'n hyfforddi ni ynddo. Bendithia a chadw ni yn ein *mynediad allan* a'n *dyfodiad i mewn* y dydd heddyw, ac yn dragywydd. Cysgoda

nyni

nyni o Arglwydd, rhag holl brofedigaethu y *fall*, a channiadha i ni, fod dy Angelion sanctaidd i'n cadw a'n gwaredu yn ein holl lwybrau.

Ac er mwyn hyn, yr ydym ni yn ein gorchymmyn ein hunain, a chwbl oll a byrthynant inni, ac sydd oddiwrthym, i'th ddwylaw di a'th gadwedigaeth galluoccaf. Arglwydd cadw hwynt rhag pob drwg, llwydda hwynt â phob rhadau, a llanw hwynt a'th ddaioni. Ymddiffyn nyni hefyd y dydd hwn, rhag cwympo i fewn vn gorthrwm bechod: yn enwedig i'r rhai y mae ein naturiaeth ni yn hylithr i dueddu attynt. Gosod wiliadwriaeth o flaen drws ein gwefusau, fal na ddigiommoth *Fawrhydi* ag vn mâth ar ffeilsion neu amhwyllog lyfau, neu â rhyw fâth ar ymadrodd diffaith neu gelŵyddog: Dyro i ni feddyliau dioddefgar, pur a diwair galonnau, a holl radau eraill dy lân Yspryd, a wyddost ti eu bod yn anghenrhaid i ni, fel y gallom dy wasanaethu di, mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder. A chan weled fod yn ofer holl lafur dŷn, heb dy fendith di: Bendithia bob vn o honom yn

ein lleoedd a'n galwedigaethau neilltuol, *Vniona di weithredoedd ein dwylaw arnom ni, ie llwydda ein gorchwylion; Canys oddieithr i ti ein harwain a'th râd, ni eill ein hamcannion ddibennu 'n dda.* A darpara i ni O Dâd, yr holl bethau a wyddost ti fod arnom eu heisiau, i'n heneidiau, a'n cyrph y dydd heddyw. A channiadha i ni fedru myned trwy bererindod y bywyd byrr hwn, fel gan fod heb osod ein calonnau ar ddim darfodedig, a gyfarfyddom yn y ffordd: y gallo ein heneidiau hiraethu am ein *cartref* yn dy deyrnas dragwyddol.

Ymddiffyn (hefyd O Arglwydd) holl stât yr eglwys, a phob aelod neilltuol o honi: yn enwedig ni a attolygwn i ti barhau tangneddyf a llwyddiant yr Eglwysi o'r teyrnasau hyn lle yr ydym yn byw. Cadw a gwared rhag pob drygau a pheryglon, ein grasusol Frenin *Charles*, y Frenhines *Mari*, y Tywysog *Palatin*, a'i rinweddol *gywely Elsabeth*, a'i tywysogawl heppil. Amlhâ eu dyddiau mewn hyfrydwch a hawddfyd: ac yn y diwedd corona hwynt, â gorfoledd a gogoniant

ant yn dragywydd. Bendithi 'r holl weinidogion dy air, a Swyddogion, a'r holl radau angenrheidiol i'w lleodd, a llywodraetha di hwynt fel y llywodraethont hwythau arnom ni, mewn *heddwch a duwioldeb.* Ac o'th trugaredd Arglwydd, cynnorthwya bawb o'n brodyr sydd yn gystuddiol, yn glwyfus, neu yn rhyw fodd arall yn ddigynnorthwy, yn enwedig y rhai a boenir, naill, a'i â chydwybod ddrwg, o blegit iddynt bechu yn erbyn dy *Air*, neu am eu cydwybod dda, O herwydd na phechant yn erbyn dy wirionedd. Pâr i'r rhai cyntaf wybod, nad oedd yn defnyn o waed *Crist*, yn ddefnyn o *ddialedd*, eithr oll yn ddefnynnau o *rhâd* grymmiol i beri maddeuant pechodau, i'r troseddwyr mwyaf yn yr hollfyd. Ac am y lleill O Arglwydd, na âd i'th hir *ddioddefgarwch*, nai rhoi hwynt allan o gyflur yn rhybell, na llawenychu gormod ar eu gelynnion, eithr canniadha iddynt ammynedd i oddef, a grasusol a buan ymwared, y ffordd y byddych yn ei gweled yn orau i'w cynnorthwy hwynt, ac i'th ogoniant dithau.

Dôd râs i bob vn o honom i fod bob amser yn gofgar am ei ddiben dywe-ddaf, ac i fod wedi ymbaratoi â ffydd ac a'g edifeirwch megis *â gwisc berio-das*, erbyn yr amser y gelwych arnom allan o'r byd pechadurus hwn. Ac yn y cyfamser y gallom ni ym mhob peth, ac o flaen pob peth, geisio dy ogoni-ant, fel pan ddarfyddo y bywyd mar-wol hwn, y byddom *gyfrannogion* o *anfarwoldeb* yn dy fendigedig a'th tra-ogoneddus deyrnas.

Y doniau hyn, a chwbl eraill O nefol Dâd, a wyddost eu bod yn anghenraid i ni, ac i'th holl Eglwys, yr ydym ni yn oftyngedig yn eu deifyfu a'i herfyn ar dy ddwylaw, gan derfynu ein amher-ffaith weddi yn yr odiaethol fodd ar weddi, yr hon a ddyfcodd *Crist* ei hu-nan i ni, gan ddywedyd:

*Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd &c.*

*Ar ôl gweddio aed pob vn o'r teulu ymmaith ( gwedi iddynt yn ofn Duw gymmeryd bwyd a'r boreuol ymborth a drefnodd Duw iddynt :) y plant i'r yscol, y gweifion at eu gwaith, pob vn at ei fwydd*, A Meiftr a Meiftres *y teulu at*

*eu*

*eu galwedigaethau, neu at ryw ymarfer buddiol iw diſyrru, fel y gwelont yn gymhesur.*

## *Yr ymarfer o dduwioldeb ar brydiau, a threfn yr ymborth.*

CYn ciniaw a Swpper, pan fyddo 'r *Bwrdd* gwedi ei hilio, meddylia wrthit dy hunan am y *Myſyrdodau* hyn; I weithredu ôl dyfnach yn dy galon o dadol ragluniaeth *Duw*, a'i *ddaioni* tu ac attat.

## *Myſyrdod o flaen ciniaw neu Swpper.*

MYfyria fod newyn yn debyg i'r clefyd â elwir y *Blaidd*, yr hwn oni phorthi di ef, fe a'th fwytŷ di ei gyd: Ac nad yw bwyd a diod ond *Phyſygwriaeth* neu foddion a drefnodd Duw i ddiddanu, ac i iachau dy *lygredigaeth anianol*. Arfer gan hynny o fwyta, ac yfed, o ran cynnal a chyſſuro gwendid dy anian; yn hytrach nac i gyflawni dymuniadau a thrachwantau dy gnawd. Bwyta gan hynny i fyw, eithr

na fydd fyw i fwyta. *Arlloeswr* yr hwn sydd a'i fywiolaeth i *garthu*, sydd well na 'r hwn sy 'n byw yn vnig i lenwi * geudai. Nid oes wasanaeth yn y byd mor wael i ddŷn, a bod yn aill caeth iw fol ei hûn, y mae 'r Apostol *Paul*, yn eu galw hwynt *Bol-dduwiau Phil.* 3. 19. Am hynny ni allwn yn hyf eu cyfenwi, fel y mae 'r scrythyrau yn galw delwau eraill *Gullulim* Tomdduwiau. *Heb.* 2. 18. 19. 2. *Brenhin.* 17. 12. Ac fel nad oes vn weithred (heb sôn am ordeinhad Duw) yn gvvneuthur dŷn yn debyccach i anifail, nac ydyvv bvvyta ac yfed: Felly camerfer neu ormodedd o fvvyta neu yfed, megis *meddwi*, neu *chwydu* a vvnaiff ddŷn yn vvaelach nec *anifail*.

* tachdai.

2. Myfyria am *ollalluogrwydd* y goruchaf Dduvv, yr hvvn a vvnaeth y creaduriaid hyn o *ddim*: am ei ddoethineb, yr hwn sydd yn porthi aneirif o greaduriaid trvvy 'r holl fyd, gan roddi cynheliaeth i bob perchen enioes ar a greavvdd: yr hyn sydd yn rhagori ar doethineb yr holl Angelion or nef: ac am ei *rywiogrwydd* ai *ddaioni*, yn porthi ei vvir elynnion.

3. My-

3. Mysyria pa nifer o rywiogaethau ar greaduriaid, sef bwystfiloedd, pyscod, adar, a gollasant eu bywyd, i fod yn llyniaeth i'th porthi di; ac fel y mae rhagddarpariad Duw o fannau anghysbell, yn trefnu i ti y pethau hyn, ynghyd ar dy fwrdd i'th ymborth. ac fel y mae ef a'r creaduriaid meirwon yma, yn dy gynnal di yn fyw mewn iechyd.

4. Mysyria, gen fod i ti gynnifer o wystlon o dadol haelioni Duw, o'i ddaioni, a'i drugaredd, tu ac attad, ac sydd o seigiau o fwydydd ar dy fwrdd: oh na chynnwys dithau yn y cyfryw le, y cyfryw Dduw grasusol i gael ei amherchi trwy *watworgerdd*, *serthedd*, neu dyngu:na'th gydfrawd, trwy absen, anair, neu enllib.

*Yr scrifen ar fwrdd St Awstin oedd hon:*

Quisquis amat dictis absentum rodere famam,
Hanc mensam vetitam nouerit esse sibi.

sef:

*Y neb a ddwedo air o'i ben*
*Drwg absen i'w gymydog:*
*Ymadawed ar bwrdd hwn*
*Enllibiwr twn celwyddog.*

5. My-

5. Myfyria, modd na fwytai dy Arglwydd *Iesu Grist*, ddim ymborth vn amser, nes iddo yn gyntaf fendigo y creaduriaid, a *rhoddi diolch* i'w Dâd nefol am danynt. Ac yn òl ei fwpper diweddaf, yr ydym yn darllain iddo ef ganu Psalm. Canys hyn oedd orchy-
Luc.22.19. Mat.14.16. myn Duw: *Pan fwytteych, a'th ddigoni, yna y bendithi 'r Arglwydd dy Dduw, &c.* hynny oedd arfer y Prophwydi: *canys ni fwytai y bobl ar eu*
1.Sam.9.13. *gwleddoedd, nes ei Samuel yn gyntaf fendithio eu bywd.* Ac y mae *Ioel* yn
Ioel 2.26. dywedyd wrth bobl Dduw. *Yna y bwyttewch gan fwytta ac ymddigoni, ac y moliennwch enw 'r Arglwydd eich Duw.* Hyn hefyd a ymarferai yr Apo-
Act.27. stolion: Canys yr oedd S^t *Paul* yn y llong yn *rhoddi diolch cyn bwyd* yn eu gŵydd hwynt oll. Gwna gan hynny yn y fâth fanctaidd weithred, ar ôl y fâth Feistr bendigedig, a dilyn y cyfryw nifer o athrawon teilwng, a'i canlynodd ef, ac a aethant o'th flaen di. Fe allai o herwydd nad arferaist erioed o dalu diolch ar brydiau, am hynny y bydd cywilydd gennit yr awrhon fyned i ddechrau. Na thybia yn gy-

gywilydd it wneuthur y peth a wnaeth Crist; eithr yn hytrach bydded cywilydd gennit ddarfod i ti esceuluso cyhyd y cyfryw ddyledus orchwyl Cristianogawl. Ac os rhoddodd Mâb Duw y fâth ddiolch i'w Dâd nefol, am y ciniaw *o fara haidd ac ychydig byscod*; pa fâth ddiolch a ddilai y fâth ddyn pechadurus ac wyt ti, dalu i Dduw am y cyfryw amlder o ddanteithion moethus? pa gynnifer o wir gristianogion, a lawenenent gael llenwi eu boliau a'r tammeidiau yr wyt ti yn eu gwrthod, ac sydd arnynt eisiau yr hyn yr wyt ti yn ei weddill? mor galed y mae rhai eraill yn gweithio, am eu hymborth, a thithau yn cael dy lyniaeth gwedi ei baratoi i't, heb arnat na phoen na gofal? i ddibennu, os oedd delw-addolwyr Paganaidd yn eu gwleddoedd, an arfer o foliannu eu gau dduwiau: Pa gywilydd ydyw i gristion, na folianna y Gwir Dduw (ar ei giniaw neu ei swpper) *yn yr hwn yr ydym ni yn byw, yn symmud ac yn bôd*:

Ioa 6. 9.

Act.17.28

6. Myfyria, mai rhaid i'r corph, yr hwn yr wyt ti yr awrhon mor foethus yn ei borthi, fod (ni wyddost pa

cyn

Iob 17.14 cyn gynted ) y'i fwyd i *bryfed*, lle y gelli ddywedyd wrth *lygredigaeth*, *ty di yw fy nhâd i ac wrth y pryf*, *ty di yw fy mam a'm chwaer*.

7. Mysyria, fel y mae bwrdd llawer dyn *wedi ei wneuthur yn fagl iddo*, megis trwy angymmedroldeb, neu anichwiegarwch, y mae y bwyd yr hwn a ddylai faethu ei gorph, yn ei ladd â gormodedd: yn gymmaint, a bod

Psal 69 mwy yn cael eu *difetha* gan y *fagl* hon, na chan y cleddyf. A chan weled *we-*

Leuit. 26. 26. *di 'r folldeb*, fod yr arfer o fwyd a diod (ac o'r holl greaduriaid yn agwedd) yn aflan i ni nes ei fancteiddio trwy air Duw a gweddi, ac *nad yw dŷn yn*

Mat. 4. 4. *byw yn vnig trwy fara*, *ond trwy bôb gair a ddaw allan o enau Duw*, *a'i tendith yr hyn a elwir ffon y bara*: Nac eistedd gan hynny i lawr i fwyta heb weddio, ac na chyfod, cyn i ti roddi diolch i Dduw. Ymbortha i ddigoni dy anian, a chyfyd â chwant arnat, a cofia dy gristianogawl frodyr tlodion, sy 'n goddef newyn, ac arnynt eisiau y pethau sydd i ti amlder o honynt.

1. Sam. 9. 13. *Gwr eglwysig.* *Gwedi i ti fyfyrio ar y pethau hyn*, *neu 'r cyfryw*, *oni bydd vn Samuel yn bre-*

*bresennol yn y lle, derchafa dy galon, dy ddwylaw, a'th olygon, trwy barch ac anrhydedd dyledus,* at y Creawdr mawr, a phorthwr *yr holl greaduriaid: a chyn bwyd gweddia atto fal hyn:*

## *Grâs cyn bwyd.*

O Dragrasusol Dduw ac anwyl Dâd, yr hwn wyt yn porthi yr holl greaduriaid bydol, y rhai sydd a'i goglyd ar dy dduwiol ragdd arparwch: ni attolygwn i ti sancteiddio y creaduriaid hyn, y rhai a drefnaist i ni: dyro iddynt rinwedd i faethu ein cyrph, mewn bywyd, ac iechyd: a dyro i ninnau râd iw derbyn yn llariaidd ddiolchgar, megis oth ddwylaw di, fel trwy nerth y rhai hyn, ac eraill o'th fendithion, y gallom rodio mewn vniondeb o'n calonnau, o flaen dy wyneb y dydd heddyw, a holl ddyddiau ein henioes trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

## *Neu fal hyn.*

TRagrafufol Dduw a thrugarog Dâd, ni a attolygwn i ti fanctei-ddio y creaduriaid hyn, i'n hymborth: gwna hwynt yn llyniaeth iachus i'n cyrph, a ninnau yn ddiolchgar am dy holl fendithiau, trwy Grist ein Harglwydd an hunig waredwr. *Amen.*

## *Grâs arall cyn bwyd.*

O Dragwyddol Dduw, *yn yr hwn, yr ydym ni yn byw, yn fymmud ac yn bod*, ni attolygwn i ti fendithio dy greaduriaid hyn i'th weifion, megis trwy eu nerth hwynt, y gallom fyw i osod allan dy foliant a'th ogoniant, trwy *Iesu Grist*, ein Harglwydd a'n hunig Iachawdwr Amen.

Bwyd. *Ar ol dy * ymborth, bydd mor ofalus amdanat dy hun a'th teulu, ac oedd Iob am dano ei hun a'i blant, Iob.* 1. 4. *rhag pan fyddwch yn llon wrth fwyta, neu yfed, ei rhyw ymadroddi lithro allan oth enau, a allo ddigio Duw, neu wnenthur*

*cam*

*cam a dŷn. Ac am hynny, trwy 'r vnrhyw fâth ymddygiad ac anrhydedd gweddol, dyro ddiolch i Dduw a gweddia mal hyn.*

BEndigedig fyddo dy enw di, O Arglwydd ein Duw, am dy ddoniau daionus hyn, a'r rhai y darfu i ti gyssuro a dadebru ein cyrph: O Arglwydd bydded gwiw gennit vn agwedd borthi ein eneidiau, ag ysprydol ymborth dy air, a'th *Yspryd sanctaidd* i fywyd tragwyddol. Arglwydd cadw ac ymddeffyn dy holl Eglwys: ein grasusol Frenin a'n Brenhines, y Tywysog Palatin, a'r Arglwyddes Elsabeth ei wraig a'i tywysogawl heppil. Maddeu i ni ein holl bechodau, a'n hanniolchgarwch, na chraffa ar ein haniananol aneirif lygredigaethu, pâr i ni oll feddwl am ein diwedd, ar cyfrif sydd raid i ni ei wneuthur y pryd hynny. Yn y cyfamser canniadha i ni iechyd, tanghneddyf, a gwirionedd, trwy *Iesu Grist* ein Harglwydd, a'n hunig Iachawdwr. *Amen.*

*Neu*

*Neu fel hyn.*

BEndigedig a fyddo dy enw sanctaidd (Oh Arglwydd am y doniau yma, a'r rhai y darfu i ti ein *llonni a'n llawenu* y pryd hyn. Arglwydd maddeu i ni ein holl bechodau, a'n esceulusdra: cadw a gwared yr holl *Eglwys*, y Brenin, y Frenhines, ar holl rywogaeth frenhinol, a Dôd i ni iechyd, heddwch a gwirionedd trwy Grist ein hunig Iachawdwr. Amen.

*Neu mal hyn.*

NI roddwn i ti ddiolch (O Dâd nefol) am borthi ein cyrph mor rasusol, a'th creaduriaid daionus, i'r bywyd amserol hwn, ni a attolygwn iti vn ffunyd borthi ein heneidiau a'th air sanctaidd, i fywyd tragwyddol. Cadw O Arglwydd dy holl *Eglwys* y Brenin, y Frenhines a'r hiliogaeth frenhinol. A pharhâ dy râd a'th trugaredd tu ac attom Yng-Hrist yn hunig Iachawdwr. Amen.

Ar-

## *Arferiad Duwioldeb yn yr* Hwyr.

*Yn yr Hwyr pan fo 'n amser cyfaddas i ddyfod i gyfannedd ac esmwythdra, galw yngbyd drachefn dy holl deulu. Darllain bennod yn yr un modd ac yr adroddwyd i't yn y Borau.* Y*no* (*er mwyn dilyn arfer sanctaidd ein Harglwydd a'i* ddiscyblion) cân *Psalm: Eithr wrth ganu* Psalmau *naill, a'i ar ôl Swpper, neu ryw amser arall, cadw y rheoledigaeth hon, sydd yn canlyn.*

Dosparth neu reoledigaeth iw synnied, *ai gadw, wrth ganu Psalmau.*

1. GOchel ganu y Psalmau bendigedig o ran difyrwch cyffredinol; megis y bydd rhai dynion o *ysprydau aflan*, y rhai a ganant y *Psalmau* sanctaidd ynghymmysc a *dirifau* halogedig. Geiriau Duw ydynt, na chymmer mo honynt yn dy enau yn *ofer.*

2. Cofia ganu *Psalmau Dafydd*, ac

Mat. 22. 43. Yspryd *Dafydd.*

3. Meddwl am Ddosparth St. *Paul,*
1. Cor. 14 15. sef, *mi ganaf a'r yspryd, ond mi ganaf a'r deall hefyd.*

4. Tra fyddoch yn canu, byddwch oll yn bennoethion, ac ymddygwch chwi eich hunein, mewn ymarweddiad anrhydeddus, megis o flaen Duw, gan ganu i Dduw yn ei eiriau ei hun: eithr byddwch ddiogel i'r peth hyn
Col. 3. 16 wneuthur mwy o ddiddanwch yn eich
Eph. 5. 16 *calonnau*: nac o gerddwriaeth yn eich *clustiau*: Canys y canu yn y galon trwy râs, ydyw 'r hyn y mae 'r *Arglwydd* yn ymhoffi ynddo, yn ôl yr hên odl yma:

*Non vox, sed votum, non musica chordula, sed cor.*
*Non clamans, sed amans, psallit in aure Dei.*

Nid peraidd lais cerddwriaeth crêd
Ond yr adduned hylwydd.
A chalon bur garedig lon,
Yw 'r gân ger bron yr Arglwydd

5. Ty di a elli o gweli di fod yn dda,
ganu

ganu yr holl *Pſalmau* troſtynt mewn trefn: o ran y maent eu gyd, yn dra hyfryd a chyſſurus. Eithr o mynni di ddewis rhyw *Pſalmau* neilltuol cyfaddas i ryw amſerau, ac achoſion: a'r cyfryw (wrth eu mynych arfer) y gallo dy ddynion yn hawſaf eu dal i'w cof.

*Yno cân.*

Yn y borau. *Pſal.* 3. 5. 16. 22. 144.
Yn yr hwyr, *Pſal.* 4. 127. 141.
Am drugaredd yn ôl gwneuthur pechod *Pſal.* 51. 103.
Mewn clefyd neu orthrymder *Pſal.* 91. 137. 146.
Ar ôl myned yn iach o glefyd, neu o bechod i'r iawn. *Pſal.* 30. 32.
Ar y dydd Sabboth, *Pſal.* 18. 92. 95.
Yn amſer llawenydd *Pſal.* 80. 98. 107. 136. 145.
O flaen Pregeth. *Pſal.* 1. 12. 147. y rhan gyntaf, a'r pummed, o'r 119.
Ar ôl Pregeth, y *Pſalm.* a fynnir ar a fyddo yn perthyn i deſtyn neu ragymadrodd y bregeth
Wrth dderbyn y Cymmun *Pſal.* 22. 23. 103. 111. 113.

Am ddiddanwch ysprydol, *Psa.* 15. 19. 25. 46. 67. 112. 1. 6.

Yn ôl cael cam neu wradwydd *Psa.* 42. 69. 70. 140. 1-4.

*Ar ôl y Psalm ymostynged pawb ar eu gliniau mewn modd anrhydeddus, fel yr adroddwyd or blaen, ac aed y penteulu* (neu y pennaf *ynoyn ei absen*) *i weddio mal hyn.*

## *Prydnawnol weddi tros y Teulu.*



O Dragwyddol Dduw a thrugarocaf Dâd, Nyni dy weision anheilwng a ymdarostyngwn ein hunain i lawr o flaen troedfaingc *ay râd*, gan gydnabod ein bod ni yn etifeddu llygredigaeth ein *Tadau*, a thorri o honom yn weithredol dy holl orchymynnion sanctaidd, ar feddwl, gair, a gweithred, fel nad oes dim daioni yn naturiol i gyfanneddu o[illegible]n. Canys y mae ein calonnau ni yn [illegible]n o falchder dirgeledig, [illegible] ddiefgarwch, rhagrith, celwydd, [illegible]chwant,

chwant, gwagedd, halogedigrwydd, anhyder, gormod cariad i ni ein hunain, ac i'r byd, rhy fychan o gariad i ti ac i'th Teyrnas, ac yn wag heb ddim ffydd, cariad, dioddefgarwch a'r cyfryw râd ysprydol. Pe bait ti gan hynny yn myned a nyni i'r Farn, ac yn chwilio ein anianol *lygredigaeth*, a dal sulw ar y ffrwythau ar effeithiau melldigedig a dyfodd o hono: Fe allai Satan ein cyfrif, a'n nodi yn vniawn yn ei eiddo ei hûn, ac ni allem ni ddisgwil dim arall oddiwrth dy Fawrhydi, ond dy *ddigofaint* ti, a'n *damnedigaeth* ninnau, yr hyn er ys hir o amser a haeddasom.

Eithr o Dâd daionus, er mwyn Iesu Grist dy anwyl fab, *yn yr hwn yn vnig i'th fodlonir*, ac er mwyn haeddedigaethau yr angau chwerwdôst, a'r dioddefaint gwaedlyd, yr hyn yr ydym yn ei gredu a oddefodd trosom ni: trugarha wrthym, maddau a deleua ein holl bechodau, a rhyddhâ ni oddiwrth y gwarth a'r cywilydd sydd ddyledus i ni am danynt, fel na allont fyth gyfwrdd a nyni, i'n gwradwyddo yn y byd hwn, nac i'n heuog-

farnu

farnu yn y byd sydd i ddyfod. Ac megis y creuaist ni i'th wasanaethu di, a'r holl greaduriaid eraill i'n gwasanaethu ninnau : felly ni attolygwn i ti anfon dy Yspryd glân i'n calonnau, fel trwy ei lewyrch a'i weithrediad ffrwythlon, y gwelom ac yr ymwrandawom a'n pechodau, ac a'n llygredigaethau anianol, megis na byddom gwedi ein *dallu* ynddynt, trwy ymarfer, fel y mae y colledigion : eithr bod o honom ni fwyfwy yn eu ffieiddio hwynt, ac o'n calonnau yn dra-ofidus am danynt, gan ymegnio i ymarfer pob moddion da iw gorchfygu, ac i fyned allan o honynt. Oh pâr i ni *glywed* gallu marwolaeth Crist yn llâdd pechod yn ein cyrph marwol; a rhinwedd ei adgyfodiad yn cyfodi ein heneidiau i newydd-deb buchedd. Ymchwel ein calonnau, gostwng ein trachwantau, adnewŷdda ein meddyliau, glanhâ ein *hanian; ac na chynnwys mo honom i soddi yn ein hanwireddau budron, ac yn nifyrrwch pechodlawn yr oes hon, yr hyn beth a ddygodd filoedd benrdia-mwnwgl i ddestryw tragwyddol: Eithr trefna ein *deunydd beunydd* fwyfwy

* *Natu-riaeth.*

fwy at agwedd a chyffelybiaeth dy Fab *Iesu Grist*, fel y gallom mewn cyfiawnder, a sancteiddrwydd, dy wasanaethu a'th ogoneddu, megis gan fyw yn dy ofn, a marw yn dy ffafr, y caffom (yn yr amser â osodaist ) gyfran o adgyfodiad y *cyfiawn*, i fywyd tragwyddol. Yn y cyfamser O Arglwydd, chwanega ynom ffydd yn addewidion hyfryd dy Efengyl, edifeirwch oddi wrth weithredoedd meirwon, diogelwch o'n gobaith yn dy addewidion, ofn dy enw, casineb ein pechodau, a chariad tu ac at dy blant di: yn enwedig tu ac at y rhai y gwyddom fod arnynt eisiau ein cymmorth a'n diddanwch: megis trwy ffrwythau duwioldeb a bywyd cyfiawn, y byddom sicr o fod dy Yspryd sanctaidd yn aros ynom, a'n bod yn blant i ti trwy *fabwys a rhâd*. A channiadhâ i ni o Dâd daionus, lwyddiant o iechyd, tanghneddyf, a chynhaliaeth, a'r holl bethau eraill oddiallan, cyn belled, ac y gwelo dy Ddwywawl Ddoethineb fod yn addas, ac yn angenrhaid, i bob vn o honom.

Ac yma O Arglwydd, yn ôl ein

rhwymedig ddlêd, yr ydym yn cyfaddef dy fod yn dra-thrugarog wrthym, mewn holl bethau y bywyd hwn: eithr yn drugarog anfeidrol, mewn pethau o fywyd gwell, ac am hynny yr ydym o eigion ein henêidiau yn rhoddi i ti holl ddiolch ewyllyscar o galonnau gostyngedig, am yr holl fendithiau a doniau a dywelltaist ar ein heneidiau, a'n cyrph: gan gydnabod mai tydi
Iac.1.17. yw *Tâd y goleuni oddiwrth ba vn y discyn pôb rhoddiad daionus, a phôb rhodd berffaith*; ac i ti yn vnig, y traddodwn oll ogoniant, anrhydedd, a moliant am danynt, yr awr hon ac yn dragywydd. Eithr yn bendifaddeu yr ydym ni yn clodfori dy dduwiol Fawrhydi, am ein cadw y dydd hwn yn ddiangol oddiwrth bob peryglon, a neweidiau: mal na ddarfu i'r vn o'r barnedigaethau (y rhai yr oedd ein pechodau yn eu haeddu) ddigwyddo i'r vn o honom. O Arglwydd daionus, maddeu i ni y pechodau a wnaethom y dydd hwn, yn erbyn dy dduwiol Fawrhydi, ac yn erbyn ein cydfrodyr: ac er mwyn *Iesu Grist*, dyro ein cymmod i ni am danynt. Ac yr ydym yn

attolygu

attolygu iti vn agwedd, o'th vnrhyw anfeidrol ddaioni a'th trugaredd, ein cadw a'n ymdiffyn, a chwbl a berthynant i ni y nos hon, rhag pob perigl tân, yſpail, dychryn Angelion drwg, neu ryw ofn neu niwaid arall, yr hyn o herwydd ein pechodau â allai yn gyfion ddigwyddo i ni. Ac fel y gallom fod yn gadwedig *dan gyſcod dy aſcell di,* yr ydym ni yma yn gorchymyn ein cyrph, a'n heneidiau, a chwbl oll ac a feddom, i'th ollalluog gadwedigaeth. Arglwydd bendithia ac ymddeffyn, yn gyſtal hwy a ninnau, oddiwrth bôb drwg. A thra fyddom yn cyſgu bydd di o Dâd, yr hwn nid *wyt yn cyſgu nac yn huno* yn gwilied dros dy blant, a dyro orchymmyn i'th Angelion ſanctaidd i *werſyllu o amgylch* ein tŷ a'n trigfa, i'n ymdiſtyn rhag pob niweidiau: megis gan gyſcu gyd â thi, y gallom y borau neſſaf gael ein deffro gennit ti, ac felly gwedi ein cyſſuro a'n dadebru â chymedroldeb o gwſc, y byddom yn gymmeſurach i oſod allan dy ogyniant fel y pyrthynai i'n galwedigaethau. Pſa. 91.4.

Achefyd ny ni a attolygwn i't (o

Arglwydd) fod yn drugarog wrth dy holl Eglwys, a channiadhâ dy byrhaus danghneddyf i'r teyrnasau yma lle yr ydym ni yn byw, gan droi oddiwrthym yr holl gystuddiau, y rhai y mae *pechodau* y genedlaeth hon yn *llefain* am danynt.

Ymddiffyn ein bucheddol Frenin *Charles*, rhag pob bradwriaeth a niwaid, bendithia ein Brenhines Mari, y Tywysog Pallsgraf o Rhên a'i rinweddol Dywysoges Elsabeth ei anwyl wraig, a'i tywysogawl heppil. Bendithia ein holl swyddogion a gweinidogion dy air, a'r holl rai a'th ofnant di ac â alwant ar dy enw, a'n holl frodyr, a'n chwaiorydd Cristianogawl, a'r y sydd yn glwyfus, neu mewn rhyw fodd arall yn orthrymedig: yn enwedig y rhai sydd yn dioddef adfyd er mwyn dy Efengyl sanctaidd, Canniadhâ iddynt amynedd i oddef dy gerydd, ac ymwared y pryd ar modd y gwelo dy dduwiol ddoethineb fod yn orau. Ac na chynnwys i ni bych o Arglwydd anghofio ein dibe[n] diwaethaf, ar cyfrif sydd raid i ni ei roddi y pryd hynny. Yn ein hiechyd

chyd

chyd a'n hawddfyd, pâr i ni feddwl
am glefyd ac adfyd, *fel na allo y pe-*
*thau hyn ddyfod ar ein gwartha.* Eithr Luc.21. 35.
bod o honom (mewn mesur da, megis
morwynion call, wedi ein paratoi ein
hunain erbyn dyfodiad *Crist anwyl*
*briodfab ein heneidiau.* Ac yr awrhon Mat.25. 5,&c.
o Arglwydd tra-chyfiawn a sanctaidd,
yr ydym yn cyfaddef, nad oes vn achos y dylit ti (yr hwn sydd yn casau pechod gymmaint) wrando eirchion pechaduriaid; ond yn vnig er ei fwyn ef, yr hwn a ddioddefodd am bechod ac ni phechodd. Gan hynny yn vnig gyfryngdod dy *dragwyddol Fab Iesu Grist*, ein Harglwydd, a'n Hiachawdwr, yr ydym yn ostyngedig yn ymbil am y rhai hyn, a'r holl ddonau eraill â wyddost ti eu bod yn angenrheidiol i ni, gan gloi ein erfyniau amherffaith hyn, yn y wir sanctaidd weddi a ddyscodd *Crist* ei hunan i ni i ddywedyd wrthit. *Ein Tâd &c.*

*Dy râd O Arglwydd Iesu Grist, dy serch o nefol Dâd, dy gymdeithas a'th ddiddanwch, O sanctaidd a bendigedig lân Yspryd, a fyddo gyd â nyni ac a*

*drigo yn ein plith y nos hon, ac yn dragywydd. Amen.*

Yno wedi ymgyfarch y naill y llall, fel y perthyn i Griſtianogion, y rhai ydynt *leſtri y grâs* a themlau yr Yſpryd glân, ymadawant yn ofn Duw, bob vn iw eſmwythdra: gan arfer peth o'r myfyrdod neilltuol a oſodwyd o'r blaen, am *brydnawn.*

Hyn yma am gyhoeddus *Arfer O Dduwioldeb* perchen tyaeth, efo a'i deulu bob dydd, weithian *y canlyn ei Arfer ef o Dduwioldeb gyd a'r Eglwys ar y dydd Sabboth.*

### *Myſyrdod am yr vnion ſodd o Arfer Duwioldeb, ar y dydd Sabboth.*

EF a fyn yr hollalluog Dduw gael ei addoli, nid yn vnig mewn modd neilltuol, gan ddynion a theulu neilltuol: eithr hefyd mewn trefn fwy cyhoeddus, gan yr holl rai duwiol wedi eu hymgynnill ynghyd mewn Eglwys weledig: megis trwy y moddion hyn yr adnabydder ef, nid yn vnig i fod yn dduw ac Arglwydd i bob neilltuol

ddŷn;

ddŷn, eithr hefyd i greaduriaid yr holl fyd cyffredinol.

*Holi.* Eithr pa ham nad ydym ni *Gristianogion* tan y *Testament newydd*, yn cadw y Sabboth ar yn va seithfed dydd ac yr oeddyd yn ei gadw tan yr *hen?* Question.

Mi attebaf: Oblegit i'n *Harglwydd Iesu*, yr hwn yw Arglwydd y Sabboth, (a'r hwn y mae y gyfraith ei hûn yn gorchymyn i ni ei wrando) ei newid o'r seithfed dydd, i'r dydd cyntaf o'r wythnos, ar yr hwn yr ydym ni yn cadw ein Sabboth. Canys y mae 'r Efengylwr Sanctaidd yn rhoi ar lawr: ddyfod o'n *Harglwydd* i ganol y gynnulleidfa sanctaidd, ar y ddau ddydd cyntaf o'r ddwy wythnos gyntaf yn ôl ei Adcyfodiad, ac yno y bendigodd ef yr Eglwys, ac yr anadlodd ef yr Yspryd glân ar ei Apostolion, ac a roddes iddynt yr *agoriadu gweinidogawl*, a'r gallu i rwymo ac i ryddhau pechodau. Ac y mae yn eglur iw goelio, ddarfod iddo ef mewn defod barchedig wneuthur felly, bob dydd cyntaf o'r wythnos, tros y deugain niwrnod y bu ef ar y ddaiar, rhwng ei adcyfodiad ai dder- Ans. Ioa. 20. 22.

dderchafiad (Canys y degfed diwrnod a deugain ar ol hynny, yr hwn oedd y dydd cyntaf o'r wythnos, yr ymgynnullodd yr Apostolion ynghyd) yn yr hwn amser, y rhoddes orchymynnion iw Apostolion, *ac y dywedodd iddynt y pethau a berthynent i deyrnas Dduw*, hynny yw, efe a roes athrawiaeth iddynt y modd y dylent hwy trwy 'r holl Eglwysi (y rhai oeddynt iw troi) newidio y Sabboth yn *ddydd yr Arglwydd*: a chorphorol aberthau o anifeiliaid, i Ysprydol aberth o foliant, gweddi, a chalonnau ediferiol; offeiriadaeth *Lefi* tan y ddeddf, i gristianogawl weinidogaeth yr Efengyl: temlau a Synagogau yr Iuddewon, i Eglwysi a thai gweddi: Yr hên Sacramentau sef *enwaediad* a'r oen *pasc*, i *fedydd* a *Swpper* yr Arglwydd &c. Fel yr ymddengys wrth yr vnrhyw ymadrodd, *Act*. 19. 8. *Act*. 28. 23. *Col*. 4. 11. Wedi ei roddi ar lawr am yr holl gwbl o athrawiaeth *Paul*, trwy 'r hon y gweithredwyd yr holl gyfnewidiau hyn, lle y dygai ffrwyth. felly megis y bu *Grist*, ddeugain nhiwrnod yn athrawiaethu *Moeses* ym mynydd *Sinai*, ac

Act. 1. 3. Bull: Caesar. Jul. Hist. 1. pa. 58.

yn

yn dangos iddo y modd y dyſcai, ac y llywodraethai yr Eglwys tan y ddeddf: felly ef â arhoſodd ddeugain niwrnod i ddyſcu ei ddiſcyblion yn *Sion*, pa beth a bregethent, a pha fodd y rheolent yr Eglwys tan yr Efengyl. A chan weled fod yn dra eglur, mai o fewn y deugain niwrnod hynny, yr hyſpyſodd *Criſt*, beth a ddylei gweinidogion y gair ei *athrawiaethu*, a pha wedd y dylent *lywodraethu* yr Eglwys hyd ddiwedd y byd; nid rhaid ammeu, na ddarfu iddo ef, o fewn y deugain nhiwrnod hynny hefyd, oſod ar lawr ar ba ddiwrnod y dylent gadw eu Sabboth, a gwneuthur cyffredinol orchwyl eu gwenidogaeth, yn enwedig, gan weled fod Duw tan yr hên *Deſtament*, yn ei ymddangos ei hûn mor ofalus yn ei ddeddf *Ddefodol*, ai ddeddf *Ceremoniaidd*, i lunio yn gyſtal yr amſer a'r modd iw addoli ef. Nid ydyw hefyd beth iw anghofio, fel y darfu i'r Arglwydd (yr hwn ſydd a'r *amſeroedd* a'r *prydiau* yn ei feddiant ei hûn) y dydd cyntaf o'r wythnos, ddanfon i lawr o'r nef yr Yſpryd glân, ar yr Apoſtolion, ac mal y

Eph.4. 11, 12.

 dechreu-

dechreuasant yn gyntaf ar y dydd hwnnw, ac y parhausant byth yn ôl hynny, i arfer ar gyhoedd eu gweinidogaeth i bregethu y gair, a chyfrannu y Sacramentau, ac i roi gollyngdod o'i pechodau i'r pechaduriaid edifeiriol. Ar y sail hon a'r cyffelyb, y mae *Athenasius* yn tystiolaethu ddarfod i'r Arglwydd ei hûn gyfnewid y dydd Sabboth.

Act. 2.1.4. 3.8.42. 31.36.

Megis gan hynny y gelwir y Cymmun swpper yr Arglwydd, o herwydd i'r Arglwydd ei * ordeinio yn goffadwriaeth o'i Angau: felly Sabboth Cristianogion, a gyfenwir *dydd yr Arglwydd*, o herwydd i'r Arglwydd ei ordeinio, er coffadwriaeth oi' *Adcyfodiad.* Ac megis y mae enw yr Arglwydd yn anrhydedd i'r naill, felly y mae yn ag wedd i'r llall. Megis hefyd yr oedd Arglwydd y Sabboth o herwydd ei ragorfaint ardderchawg, a'i awdurdod goruchel yn gallael; felly yr oedd iddo achos hefyd i newid y Sabboth sanctaidd o'r seithfed dydd, i'r dydd ar yr hwn yr ydym ni yn ei gadw. Canys, am y Sabboth hwnnw oedd yn canlyn y chwe' diwrnod y

* Drefnu.

*Swpper yr Arglwydd, yn lle oen pasc, a Sabboth yr A[illegible] yn lle Sabboth yr Iuddewon*

bu

bu Dduw yn gorphen y *Creadigaeth*, nid oedd mor cyfryw ddi-ail osodiad, neu achos reidiol iw sancteiddio yn dragwyddol, na allai yr vn awdurdod (mewn achosion mwy, neu resvvm a fai well) ei gyfnewid a'i droi i'r ryw ddydd seithfed arall. Canys nid yw 'r gorchymmyn yn dywedyd: Cofia gadw y seithfed *dydd nessaf yn ebrwydd yn canlyn ychweched dydd o'r Creadigaeth*, neu 'r seithfed yma neu 'r seithfed accw: Eithr yn * anhynod, cofia gadw seithfed dydd yn sanctaidd. Ac i ddywedyd yn * briodol, megis yr ydym ni yn cymmeryd y diwrnod i fod yn wahanrediad yr amser, sef: yr hwn a elwir naill, a'i dydd *naturiol* yn cynnwys 24, o orriau, neu ddydd *ceisyddydol* yn cynnwys 12, o orriau, sef o godiad haul hyd ei fachludiad: a chyd â hynny ystyried, sefyll o'r haul a'r brydnawngwaith yn amser *Iosua*, tros ddiwrnod cyfan: a myned o'r haul yn ei ôl ddeg o raddau (sef pum' awr, agos i hanner diwrnod ceisyddydol) yn amser *Ezechias*: ni allai yr Iddewon eu hunain gadw eu Sabboth ar yr amser pennodol, a gwahanredol, a elwid

* *Anhersynol.*

* *Vniex.*

Ios. 10. 12, 13.

yn y cyntaf y seithfed dydd oddiwrth y creadigaeth.

A chyd â hynny, o herwydd amryw brydnawnau, neu *meridianau, a rhagoriaeth yr amser o godiad neu fachludiad yr haul yn y naill fan rhagor y llall, megis mewn rhyw fan y bydd pedwaredd ran, mewn man arall yr hanner, mewn man arall y dydd cyfan o * ymrafael rhyngddynt: Am hynny seithfed dydd yr Iddewon, ni ellir moi gadw yn ollawl yr vnrhyw amser ym mhob man yn y byd.

*hanner dydd.

*Rhagoriaeth.

Yr awrhon ein Harglwydd Iesu Grist, gan fod iddo ef Awdurdod megis i'r Arglwydd ar y Sabboth, yr oedd iddo ef yr awrhon vn agwedd fwy rheswm ac achos i droi y Sabboth o seithfed dydd yr Iddewon, i'r seithfed dydd, ar yr hwn y mae y Cristianogion yn cadw eu Sabboth.

*Yn gyntaf*

1. O herwydd bod ei Adcyfodiad ef oddiwrth y meirw, yno yn gweithredu newydd greadigaeth ysprydol o'r bŷd: heb yr hwn y buasai holl hiliogaeth *Adda* yn caei eu taflu i'r dinistr tragwyddol. Ac ni buasai holl orchestol orchwyl y creadigaeth yn diwygio

mo'n

mo'n drygau, nac yn peri dim diddanwch i ni.

2. Ac o herwydd y newydd greadigaeth yſprydol hwn, y mae 'r ſcrythur yn dywedyd, *yr hên bethau a aethant heibio, wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd: Creaduriaid newydd, pobl newydd, dynion newyddion, gwybodaeth newydd, Teſtament newydd, gorchymmyn newydd, henwau newyddion, ffordd newydd, caniad newydd, gwiſc newydd, gwin newydd, coſtrelau newyddion, Ierusalem newydd, nef newydd a daiar newydd.* Ac am hynny anghenrhaid yw, fod dydd Sabboth newydd yn lle 'r hên, i anrhydeddu a moliannu ein Gwaredydd, i fyfyrio ar orchwyl ein iechydwriaeth, ac i ddangos newydd gyfnewid yr hên Deſtament.

*Yn ail.* 2.Cor.5.17 1 Pet.1.10. Eph.4.24 Gal.6.15 1.Petr.2.10. Eph.4.24 Col.3.10 Mat.20.28.

3. O herwydd mai ar y dydd hwn y gorphywyſodd Criſt oddiwrth holl boenau ei ddioddefaint, ac y gorphennodd anrhydeddus weithred ein prynedigaeth. Os oedd gan hynny *dibenniad gwaith y creadigaeth cyntaf*, trwy 'r hyn yr oedd Duw yn ei ymddangos ei hûn yn ollalluog iw greaduriaid, yn haeddu Sabboth i ddwyn coffadwriaeth

eth am y cyfryw orchwyl, er anrhy-
Esay 58. 13. dedd i'r gweithredydd, ac am hynny
y mae yn ei alw *fy Nydd sanctaidd:*
gwell o lawer y mae' *creadigaeth ne-
wydd y byd*, a wnaed trwy adcyfod-
iad Crist (*yn yr hyn yr eglurwyd ei fod
Rhu. 1. 4. yn fab Duw*) yn haeddu Sabboth er
mwyn tragwyddol goffadwriaeth i an-
Dan. 1. 10 Jer. 27. 7, 8. rhydeddu Crist, am hynny y gelwir
yn deilwng *Dydd yr Arglwydd:* Ca-
nys megis yr oedd yr ymwared allan
o gaethiwed *Babylon*, gan ei fod yn
fwyaf, yn tynnu ymmaith enw yr ym-
wared allan o wlad yr *Aipht:* felly y
dydd ar yr hwn y darfu i Grist or-
phen prynedigaeth y byd, a haeddodd
yn deilyngach, gael Sabboth iw gadw
arno, na 'r dydd ar yr hwn y gorphy-
wysodd Duw yn ôl *Creadigaeth* y byd.
Megis gan hynny yn y *Creadigaeth*,
y dydd cyntaf ar yr hwn y gorphennw-
yd, a gyssegrwyd yn Sabboth: felly
yn amser y *Prynedigaeth*, y dydd cyn-
taf ar yr hwn y perffeithiwyd, sydd
raid ei gadw yn orphywwysfa sanctaidd:
fel y cadwer y seithfed yn oestad yn
ôl *Moddol* orchymmyn Duw. Yr oedd
yr Iddewon yn cadw y dydd olaf o'r

wythnos, gan ddechrau eu Sabboth gyd a'r nos y gorphywyſodd Duw: eithr y mae Criſtianogion yn anrhydeddu 'r Arglwydd yn well, gan ddechrau eu Sabboth a'r y dydd cyntaf o'r wythnos, ſef ar y dydd y cyfododd yr Arglwydd. Yr oeddynt hwy yn cynnal eu Sabboth, er dwyn coffadwriaeth o greadigaeth y byd: eithr y mae Criſtianogion yn ei gadw i ddwyn ar gôf brynedigaeth y byd: iê, dydd i yr Arglwydd, gan ei fod yn gyntaf or Creadigaeth a'r Prynedig[illegible] bâr i ni gofio'yn gyſtal am wne[illegible] yr *hên* ac am waredu 'r byd *newydd*.

Megis gan hynny yr oedd Duw tan yr hên Deſtament yn dangos ei ogoniant *yn y ſaith o ganhwyllbrennau, a'r chwech o geingciau &c.* gan eu rhoi i feddwl am greadigaeth y goleuni, a gorphywyſfa y Sabboth: felly tan y Teſtament newydd y mae Criſt gwir oleuni y byd, yn dyfod ynghanol y *ſaith ganhwyllbren aur*, i beri i ni feddwl am anrhydeddu ein gwaredydd, ac am orphywyſfa ſeithfed dydd yr Arglwydd, *yngoleuni* yr Efengyl. A chan weled fod y prynedigaeth, yn gyſtal o Exod.25. 31.

tan

ran *gallu* a *thrugaredd* yn rhagori ar y Creadigaeth cyn belled; yr oedd yn ſefyll gyd â rheſwm da, mai 'r gwaith mwyaf * a ddygai anrhydedd y diwrnod. Ac nid yw yr anrhydeddus *enw: dydd yr Arglwydd* yn lleihau gogoniant y Sabboth: eithr yn hytrach wedi ei roddi atto, y mae yn chwanegu ei urddiniant: megis y mae 'r enw Iſrael wedi ei roi at Iacob, yn peri y Patriarch yn fwy anrhydeddus.

* *A gai 'r enw.*

Y Rheſwm, a gymmerir o eſampl gorphywyſfa Duw oddiwrth weithred creadigaeth y byd, a byrhâodd mewn ffrwyth, hyd oni orphywyſodd Mâb Duw oddiwrth weithred prynedigaeth y byd, ac yno y cyntaf a roddes le i'r olaf.

*Yn bedwerydd.*
Pſa. 110. 3.

4. O herwydd fe ragddywedpwyd yn yr hen Deſtament y cedwid y Sabboth (tan y Teſtament newydd) ar y dydd cyntaf o'r wythnos. Canys yn gyntaf, yn y 110. *Pſalm*, yr hwn ſydd brophwydoliaeth am *Griſt*, ai deyrnas; yr ydis yn adrodd yn eglur, y byddai ymgyfarfod, yn yr hwn y byddai bobl *Griſt yn ewyllyſcar* yn dyfod ynghyd mewn *harddwch ſanc-*

*eiddrwydd*

*eiddrwydd, yn gymmaint, ac ni byddai ddim glaw* tanghneddyf, *ar y sawl o deuluoedd y* ddaiar nid elai *i fynu i Ierusalem* (sef i'r Eglwys) *i addoli y Brenin, Arglwydd y lluoedd.* Yr awrhon, ar ba ddiwrnod y mae cadw y Gwyl sanctaidd a'r cyfarfod hwn, y mae *Dafydd* yn dangos yn oleu yn y *Psalm* 118. Yr hon oedd brophwydoliaeth am *Grist*, fel yr ymddengys yn *Mat.* 21. 42. *Act.* 4. 11. *Eph.* 2. 20. Hefyd trwy gyfundeb yr holl Iddewon, megis y mae *Hierom* yn tystiolaethu. Gan ddangos ymlaen llaw trwy farwolaeth gywilwyddus *Crist*, y byddai *y maen a wrthododd yr adeiladwyr*, (sef, prif lywodraethwyr Iudea) trwy ei adcyfodiad gogoneddus, *yn ben i'r gongl*: y mae ef yn deisyf i'r holl Eglwys gadw yn sanctaidd y dydd, ar yr hwn y gorphennodd *Crist*, y gorchwyl rhyfeddol hwn, gan ddywedyd: *Dyma 'r dydd a wnaeth yr Arglwydd, gorfoleddwn, a llawenychwn ynddo.* A chan weled mai ar y dydd hwn y mae yn eglur fod yn wir, yr hyn a ddywedodd *Petr* am *Grist*: sef, ddarfod ei Dduw ei *wnenthur* yn

Zac.23. 27. (margin, beside "Brenin, Arglwydd y lluoedd")

Psa.118. 24. (margin, beside "Arglwydd, gorfoleddwn")

*Arglwydd*

*Arglwydd ac yn Grist.* *Act.* 2. 36. Ac am hynny y mae 'n rhaid i'r holl Eglwys tan y *Testament newydd* gadw yn sanctaidd ddydd adcyfodiad Crist. Yr oedd *Rabbi Rachay* yn gweled hefyd trwy gwymp *Addaf* a'r y chweched dydd, mai ar y dydd *hwnnw*, *y gorphennai y Messias weithred prynedigaeth dyn.* A chan fwrw at ymadrodd *Boaz* wrth *Ruth*, cwsg hyd y borau, y gorphywysai y *Messias* yn ei fedd tros eu holl Sabboth hwynt. Y mae yn casclu oddiwrth yr ymadrodd yn *Gen.* 1. sef, ar y dydd cyntaf *bydded goleuni*, y cyfodai y *Messias* ar y dydd cyntaf o'r wythnos o farwolaeth i fywyd, ac y gwnai efe i oleuni ysprydol yr Efengyl, oleuo i'r bŷd, yr hwn oedd yn sefyll mewn *tywyllwch a chysgod angau.* Yr Awdur o'r llyfr Hebre-acc a elwir. *Sedar, Olam, Rabba*, pennod. 7. a gofia lawer o bethau anrhydeddus a wnaethpwyd ar y dydd cyntaf o'r wythnos, megis cynifer o arwyddion, neu frudiau y byddai addoliad Duw ( tan y Testament newydd) iw gyssegru ar y dydd hwn. Megis *ar y dydd hwn y bu gwmmwl*

Zohar ar Gen. Dalen.24

*voes ar lawr.*

*Mawr-*

*Mawrhydi Duw yn goruwchguddio ei bobl.* * Aaron ai feibion *a ddechreuasant wasanaethu swydd eu hoffeiriadaeth.* Y darfu i Dduw yn gyntaf fendithio ei bobl. *Tywysogion y bobl a aberthasant yn gyntaf i Dduw.* Y *dydd cyntaf ar yr hwn y discynnodd tân o'r nef.* Y *dydd cyntaf o'r byd, o'r flwyddyn, o'r misoedd, o'r wythnos &c.* Ar cwbl oll yn pennodi y byddai ef yn ddydd cyntaf, ac yn brif ŵyl sanctaidd o'r Testament newydd. Y mae S[t] *Augustin* yn profi allan o amryw *fannau, a rhesymmau, o'r Scrythur sanctaidd fod y Tadau, a'r holl brophwydi, yn rhagweled, ac yn gwybod fod yr wythfed dydd o Enwaediad tan y Testament hên, yn arwyddocau dydd yr Arglwydd. Ac y cyfnewidid y Sabboth o'r seithfed dydd i'r wythfed, neu i'r dydd cyntaf o'r wythnos. Ac y mae Iunius allan o Cyprian yn dywedyd, fod yr Enwaediad wedi ei orchymmyn ar yr wythfed dydd, ar yr hwn ddydd y cyfodai Grist, oddiwrth y meirw.* Y mae y gymanfa *Foro-Iuliense yn mynegi fod Esay yn prophwydo y cedwid y Sabboth ar y dydd cyntaf o'r wythnos.*

* Sef ar y dydd hwn.

Leuit. 9.

Os

Os oedd y dirgelwch hwn i'w weled mor amlwg, gan y Tadau, tan gysgodau yr hên Destament: diogel ddarfod ei Dduw y byd hwn, ddallu yn dôst feddyliau y rhai ni allant weled y gwirionedd o hynny, tan oleu-ddisclaer lewyrch yr Efengyl. Am hynny y cyfnewid hwn ar y dydd Sabboth tan y *Newydd*, nid ydoedd ddim ond cyflawni yr hyn oedd wedi ei ffurfio a'i rag-brophwydo tan yr *hên* Destament.

5. Yr oedd yr Apostolion yn yr holl Eglwysi Cristianogawl, (y rhai a blannasent hwy) yn ôl meddwl a gorchymmyn ei Harglwydd, ac hyfforddiad yr *Yspryd glân*, yr hwn oedd bob amser yn ei cymmorthwyo: yn ordeinio, i'r Cristianogion gadw y Sabboth sanctaidd, ar y seithfed dydd hwnnw, sef, y cyntaf o'r wythnos; Hefyd am y gasgl i'r Sainct, megis *yr* 1.Cor.16 1,2. *ordeiniais i Eglwysi Galatia*, *felly gwnewch chwithau. Pob dydd cyntaf o'r wythnos &c. Pan ddeloch yngh yd yn yr Eglwys* (ar ddydd yr Arglwydd) *i fwyta Swpper yr Arglwydd, i ddangos ac i ddwyn ar gôf marwolaeth yr Arglwydd hyd oni ddêl &c.* Yn yr rhain

eiriau

eiriau gwelwch:

1. Ddarfod i'r Apostolion ordeinio y dydd hwn iw gadw yn sanctaidd: am hynny ordeinhâd ddwywawl a defod oruchel.

2 fod y dydd hwnnw yn cael ei enwi y dydd cyntaf o'r wythnos, am hynny nid seithfed yr Iuddewon, nac vn arall.

3 *Pob dydd cyntaf o'r wythnos:* yr hyn sydd yn dangos tragwyddoldeb.

4 Ddarfod ei ordeinio yn holl Eglwysi *Galatia*, yn gystal ac yn *Corinth* a gosod o hono *ef holl eglwysi y Sainct* yn vndrefn mewn tangneddyf: am hynny yr oedd yn *gyffredinol.* 1. Cor. 14. 33.

5. Mai gorchwylion y dydd hwn, ydoedd casglu i'r tlawd (yr hyn sydd eglur yn *Act.* 2. 42. Acyn nhystiolaeth *Iustin Martyr* Apolog. 2.) gan y rhai a fyddant wedi ymgynnull ynghyd yn y gynnulleidfa sanctaidd, a'r ôl Gweddiau, Pregethiad y gair, a chyfrannu y *Sacramentau*: am hynny yr oedd yn *Ysprydol.*

6 Y mynnai ef symmud y pryd i gasglu (er ei fod yn angheraid) erbyn ei ddyfodiad ef, rhag i hynny

rwystro

rwystro ei waith ef yn pregetthu: eithr
nid symmud eu cyfarfod sanctaidd
hwy ar ddydd yr Arglwydd; O herwydd hwnnw oedd yr amser gosodedig i addoli 'r Arglwydd yn gyhoeddus, yr hyn sydd yn dangos angenrheidrwydd.

1.Cor.22 3. ar.15.12.

Ac yn yr vnrhyw Epistol y mae St. *Paul* yn rhag-dystiolaethu, na roddes ef iddynt hwy vn ordeinhâd nac athrawiaeth arall, *ond yr hyn a dderbynniodd ef gan yr Arglwydd.* Yn gymmaint ac y mae ef yn eu gorchymmyn hwy fel hyn, os oes *neb yn tybied ei fod ei hûn yn brophwyd, neu yn ysprydol, cydnabydded y pethau y'r wyf yn eu scrifennu attoch. mai gorchymynnion yr Arglwydd ydynt.* Eithr efe a scrifennodd attynt hwy, ac a ordeiniodd yn eu plith, gadw 'r Sabboth ar y dydd cyntaf o'r wythnos: am hynny cadw y Sabboth ar y dydd hwnnw ydyw gwir *orchymmyn* yr Arglwydd. A pha fodd y dichon ef fod, naill, a'i yn wir brophwyd, neu fod iddo ddim o râd yspryd Duw yn ei galon, yr hwn gan weled mor eglur, fod dydd yr Arglwydd

1.Cor.14 37.

glwydd wedi ei drefnu a'i ordeinio gan yr Apostolion, na chydnebydd, mai gorchymmyn yr Arglwydd ydyw, cadw yn sanctaidd ddydd yr Arglwydd? Y mae 'r Iddewon yn cyfaddef mai yr Apostolion a wnaeth y gyfnewid hon ar y Sabboth, *Peter Alphon, in Dialog. contra Iudeos. Tit.* 12. Y maent hwy gan hynny yn ddallach, ac yn waeth nac Iddewon, y rai a wadant hynny yn halogedig.

Yn Troas yr vn agwedd yr oedd St. *Paul* gyd â saith o brif Efangylwyr yr *Eglwys*, sef, *Sopater*, *Aristarchus*, *Secundus*, *Gaius*, *Timotheus*, â *Trophimus*, a'r holl Gristianogion oedd yno, yn cadw y Sabboth Sanctaidd ar y dydd cyntaf o'r wythnos, yn gweddio, yn pegethu, ac yn derbyn y Cymmun. Act. 20. 5, 6.

Ac fel y mae yn beth i'w ddyfal synnied nad yw *Luc* yn dywedyd, fod y discyblion wedi eu hanfon i wrando ar *Paul* yn pregethu, *eithr wedi i'r Discyblion ddyfod ynghyd i dorri bara y dydd cyntaf o'r wythnos*, hynny yw, i fod yn gyfrannogion o'r Cymmun

sancta-

ſanctaidd, ar yr amſer y danghoſid ma
wolaeth yr Arglwydd, trwy y bregeth
ad y gair, 1. Cor. 11.26. *Paul a breg*
*thodd iddynt hwy &c.* Ac nid oedd ne
yn cadw y cyfarfod hwnnw ond
Criſtianogion, y rhai yn vnig a elw
yn ddiſcyblion. Act. 11.26. Eithr y
*Philippi* lle nid ydoedd * etto yr v
diſcybl, yr ydis yn dywedyd i *Paul* fy
ned a'r eu dydd Sabboth hwy i'r ſa
lle 'r oedd yr Iddewon a'i *Proſelitiai*
yn arfer o weddio, ac yno y pregethodd
ef iddynt. Act. 16. 12, 13. felly y mae
mor olau a'r Haul, mai defod ac arfer y
Criſtianogiō ydoedd, adael heibio ſeith-
fed dydd yr Iddewon, a chadw y Sab-
both, a'i hymgyfarfod ſanctaidd ar y
dydd cyntaf o'r wythnos. A pha ham y
mae S[t] *Ioan* yn galw hwn yn *ddydd*
*yr Arglwydd*, ond o herwydd ei fod yn
ddydd hyſbys ym mhlith pawb iw
ſancteiddio yn gyhoeddus, er anrhy-
dedd i'r Arglwydd Ieſu, (yr hwn a gy-
fododd i fywyd o farwolaeth ar y dydd
hwnnw) trwy 'r holl Eglwyſi a blanna-
ſai yr Apoſtolion ? yr hwn y mae S[t]
*Ioan* yn ei alw dydd yr Arglwydd; er
mwyn cynhyrfu Criſtianogion yn hy-
trach

** Y pryd hynny.*

trach i roi coffadwriaeth diolchgar am eu prynedigaeth, trwy adcyfodiad Crist oddiwrth y meirw. A chyd a'r dydd, y trôed hefyd fendith y Sabboth, i *ddydd yr Arglwydd, o blegid bod yr holl Sanctei-ddrwydd* perthynol i'r *byd newydd hwn, yng-Hrist*, ac oddiwrtho ef yn llifeirio i Gristianogion. Ac o herwydd na ddichon ddyfod Awdurdod mwy na 'r Awdurdod honno oedd gen Grist a'i Apostolion; nac achos debyg i *greadigaeth newydd* y byd: Am hynny ni ellir byth cyfnewidio 'r dydd hwn i ddydd arall, tra byddo 'r bŷd yn sefyll. Ychwanega at hyn, fel y mae 'r Scrythur yn dangos na wnaethpwyd dim wrth osod a phlannu yr Eglwys yn y cyntaf, ond trwy unig drefn ac hyfforddiad neillduol yr Apostolion, 1. *Cor*. 11. 34. 1. *Cor*. 14. 36, 37. *Titus* 1. 5. *Act*. 15. 6. 24. Ac ni wnaeth yr Apostolion ddim, heb eu harddal oddiwrth Grist, 1. *Cor*. 11. 23.

Heb. 2. 5. Heb. 2 11 ar. 5 9.

Sancteiddio 'r Sabboth ar y seithfed dydd nid yw yn diddymmu y Ddeddf *ceremoniaidd*, eithr yn cyflawni a pherffeithio y gyfraith * Ddefodol yn dragywydd. Felly yr vnrhiw orchymmyn tragwyddol, yr hwn oedd yn rhwymo yr

* *Foesol*.

Iddewon i gadw y Sabboth ar y seithfed dydd hwnnw, er mwyn sanctaidd anrhydedd i greadigaeth y byd, sydd yn rhwymo Cristianogion i gadw yn hybarch y Sabboth ar y seithfed dydd, er coffadwriaeth o brynedigaeth y byd: canys y pedwerydd orchymmyn, yr hwn sydd gyfraith *ddefodol*, sydd yn erchi cadw y seithfed dydd yn sanctaidd yn dragywydd. A chyffredinrhwydd y gorchymmyn hwn, megis am y lleill eu gyd, a ddylem ni ei arferu yn fwy crefyddol tan yr *Efengyl*, nac yr arferai yr Iddewon tan y *gyfraith*, yn gymmaint a darfod i ni (yn y Bedydd) wneuthur *cyfammod hynodach â* Duw i gadw ei orchymynnion: a darfod i Dduw wneuthur ammod a ninnau, i'n rhyddhau oddiwrth y *felldith*, a'n cynnorthwyo a'i Y*spryd*, i gadw ei gyfreithiau. A bod y gorchymmyn hwn am y Sabboth, yn gystal a'r naw eraill yn gyffredin wrth gyfraith *foesau*, ac yn dragwyddol, fe ymddengys yn eglur wrth y rhesymmau hyn sydd yn canlyn:

Dê

*Dêg o reſymmau yn dangos fod y gorchymmyn y Sabboth yn ddeſodol.*

1. O Herwydd bod yr holl reſymmau am y gorchymmyn hwn yn deuluaidd ac yn dragwyddol: a darfod ei Dduw ein *rhwymo* ni i vfydd-dod y *Gorchymmyn hwn*, â rheſymmau ffrwythlonach, nac i'r vn o'r lleill. Yn gyntaf, am ei fod ef yn rhagweled, naill, a'i yr eſceuluſai ddynion anghrefyddol, megis o ddiofalwch, neu eu torrent hwy y *gorchymmyn hwn*, yn hyſach nac yr vn o'r lleill. Yn ail, o blegîd mai, yn ymarfer a chyflawni y gorchymmyn hwn, y mae cadw yr holl rai eraill yn ſefyll: yr hyn ſydd yn peri ei Dduw achwyn cyn fynyched, fod ei addoliad ef wedi ei eſceuluſo, neu ei roi i lawr: pan fyddo 'r Sabboth, naill, a'i gwedi *ei eſceuluſo*, *a'i* ei droſeddu. Fe allai beri i ddŷn ſynnu (medd Mr *Caluin*) Yſtyried, mor fynych, mor grefyddol, ac mor ddifrif y mae Duw yn erchi (i'r rhai a fynnant fod yn bobl iddo ef) ſancteiddio y ſeithfed dydd. Ac fel y mae Duw 'r *drugaredd*,

yn anrhugarog yn cospi â marwolaeth
erwin y sawl a dorro y gorchymmyn
hwn, megis pe bai hyn yn gwbl oll o
gyfan anrhydedd a'i wasanaeth.

Ac y mae yn ddiogel, am yr hwn n
wnêl gydwybod o dorri 'r *Sabboth*, n
wna ef (i wasanaethu ei dro) gyd
wybod o dorri yr vn o'r gorchymyn
nion craill, am y gallo ef wneuthu
hynny heb *amharch* iw gorph, n
*chwmmwl* i'w eirda, ac allan o beryg
cyfraith dŷn. Am hynny y gysodod
Duw y gorchymmyn hwn ynghano
y ddwy * lêch, O herwydd fod ei gadw
ef yn gynnorthwy mawr i gadw '
lleill eu gyd. Anrhydedd cydwybo-
dus i'r *Sabboth*, ydyw Mam yr hol
grefydd a'r athrawiaeth dda yn y
Eglwys. Tynnwch ymmaith y *Sabboth*
a gwasanaethed pob dŷn Dduw pa
fynno, a pha beth a ddaw ar fyrr
1.Cor.14 33. *grefydd*, a thangneddyf, ac o'r drefn y
hon a fyn Duw ei gadw yn ei Eglw
ys? Y *dydd Sabboth ydyw dydd march*
*nad Duw* am *barodrwydd* yr wyth
nos, yn yr hwn y myn ef i ni ddyfo
atto, a phrynu ganddo heb *aur na*
*arian*, *Fara yr* Angelion a *Dwfr* y by
wyd

* Y ddau dabl.

wyd, *Gwîn* y Sacramentau, a *llaeth* y Esa. 55.
*Gair*, i borthi ein heneidiau: *aur wedi ei* 1. 2.
*buro*, i gyfoethogi ein ffydd: gwerth- Dad. 3.
fawr *eli llygaid*, i iachau ein dallineb 18.
ysprydol: a gwisco *dillad gwynion, o*
*gyfiawnder Crist, fel nad ymddangoso*
*gwarth ein noethder ni.* Nid yw *ef bell*
oddiwrth wir Dduwioldeb, yr hwn a
wnel gydwybod o gadw y dydd *Sab-*
*both*: eithr yr hwn sydd yn *cyd-adw-*
*yn* ai gydwybod, i dorri y *Sabboth* er
mwyn ei elw a'i ddifyrrwch ei hûn, ni
ystyriodd ac ni wybu ei galon ef erio-
ed, pa beth yr oedd ofn Duw, neu wir
Grefydd yn ei *feddwl*. Canys, am y
Gorchymmyn hwn y gellir gwirio y-
madrodd St Iaco: *yr hwn a ballo mewn* Iac 2. 10.
*vn, sydd yn euog o'r cwbl.* Am hynny
gan weled ddarfod ei Dduw, gau o
amgylch y gorchymmyn hwn, â chy-
nifer o rysymmau defodawl, y mae yn
dra eglur fod y gorchymmyn ei hûn yn
ddefodawl.

2. O Herwydd gorchymmyn o Dduw i *Adda* yn ei *ddiniweidrwydd*: (pryd yr oedd ef yn dal ei ddedwŷddwch, nid trwy ffydd yn haeddedigaethau Crist, ond trwy vfydd-dod i

gyfraith Dduw) heb arno eisiau vn *Ceremoni*, i arwyddocau y Pryncdigaeth a wnai Grist. Ni eill gan hynny Sabboth o'r seithfed dydd fod yn *Ceremoni* syml, eithr yn rhan hanfodol o addoliad Duw, gorchymynnedig i ddŷn, pryd nad oedd ond vn
Gen. 2. 3. cyflwr i ddynion. Ac os oedd yn anghenrhaid i'n *cynteidiau* gael dydd *Sabboth* i wasanaethu Duw, yn eu perffeithrwydd, rheittiach o lawer iw hiliogaeth hwy gadw *Sabboth*, ynghyflwr eu llygredigaeth. A chan weled ei Dduw ei hûn, gadw y dydd hwn yn sanctaidd, pa fodd y dichon y dŷn hwnnw fod yn sanctaidd, a fyddo o wirfodd ei galon yn ei halogi ef?

3 O blegid ei fod yn vn o'r Gorchymynnion a lefarodd Duw o'i enau ei hûn, ac a scrifennodd ddwywaith
Exod. 34. 1, &c. a'i fysedd ei hûn ar *Lechau o gerrig*, i ddangos eu hawdurdod, a'i parhâd. Yr holl orchymynnion a scrifennodd
* Iosephus. Ben. 4. 13. Duw oeddynt * *ddefodol* a *thragwyddol*, a'r rheini a gyfrifir yn *ddêg*: Pe byddai hon yn Ceremoni iw diddymmu, yno ni byddai ond *naw o Orchy-*
Deut. 4. 4 *mynnion*. Y *Ceremoniaidd* orchymynnion

oedd

oedd iw diddymmu *trwy Grist*, a scri-
fennasit eugyd o waith *Moeses* : 1.Bren 8. 9.
eithr hwn o'r *Sabboth*, gyd a'r naw
eraill, oedd wedi ei scrifennu a llaw Heb.9.3.
Dduw ei hûn, ac a roddasid yn yr
Arch, lle na roddesid dim o'r gyfraith
*Ceremoniaidd* : I ddangos y byddent
yn rheoledigaeth tragwyddol i'r Eglw-
ys, etto y cyfryw na allai neb yn *olla-
wll* eu *cyflawni* a'i *cadw*, ond *Crist*,
yn unig.

4 O blegid fod *Crist*. yn tystiola-
ethu na ddaeth *efe i dorri y gyfraith* Mat.5.17
*ddefodol:* ac na ddiddymmid y lleiaf o
honynt yn ei deyrnas ef, tan y *Testa-
ment newydd*. Yn gymmaint: a bod
pwy bynnag a dorro *un o'r gorchymyn-
nion lleiaf hyn, ac a ddysco i ddynion
felly: lleiaf y gelwir ef yn nheyrnas ne-
foedd:* hynny yw, ni chai ef ddim lle Mat.5.19
yn ei Eglwys. Yr awrhon y mae y
gyfraith *ddefodol* yn gorchymmyn un
dydd o'r saith iw gadw yn sanctaidd
yn dragywydd. Ac y mae *Crist*, ei
hûn yn coffhau yn eglur gadw *Sabboth*
ym mhlith ei Gristianogion, wrth ddi-
nistriad *Ierusalem*, ynghylch 42. o
flynyddoedd yn ôl ei adcyfodiad. Yr

amser yr oedd holl *Ceremoniau Moeses* (oddieithr bwyta gwaed a phethau a degid) trwy * osodiad cyhoeddus a chyfundeb yr holl Apostolion, wedi
*Farn.
Act. 15. 20, 21, 24. 28. eu rhoi heibio *a'i diddymmu* yn yr Eglwys Cristianogawl. Ac am hynny yr oedd *Crist*, yn cynghori ei ddisgyblion
Mat. 24. 20. i weddio, na byddai *eu ffoedigaeth hwy yn y gauaf, nac ar y dydd Sabboth. Nid yn y gauaf*; am y byddai (o herwydd brynti y ffyrdd a'r tywydd) eu ffoedigaeth hwy yn fwy poenus a thrafferthus iddynt: Nid *ar y dydd Sabboth*, o herwydd y byddai hynny yn fwy gofidus i'w calonnau, treilio y dydd hwnnw yn gweini i achub ei bywyd, yr hwn a orchymynnasai Dduw ei dreilio mewn gorchwylion ac *arferion sanctaidd*, i ddiddanu eu heneidiau. Yr awrhon pe byddai sancteiddiad y *Sabboth* ar y dydd hwn, heb fod ond *Ceremoni*; ni buasai ddim gofid iddynt orfod ffo ar y dydd hwn, mwy nac ar ddydd arall o'r wythnos. Eithr lle y mae *Crist*, yn gweled ei fod yn beth ofnadwy, a gofidus, *orfod iddynt ffo ar y dydd Sabboth*: ac am hynny y mae yn dymuno, ar ei eddo

ef weddio at Dduw, na byddai y cyfryw achos: y mae 'n eglur yn dangos, nad ydyw cadw y *Sabboth* yn *Ceremoni* wedi ei diddymmu, eithr yn orchymmyn Dèfodol, wedi ei Grist ei osod a'r lawr a'i gydffurfio ym mhlith Cristianogion. O Mynnwch chwi wybod y diwrnod, ar yr hwn yr ordeiniodd *Crist*, i Gristianogion gadw y *Sabboth*; ef a ddywed S[t] *Ioan* i chwi mai ar *ddydd yr Arglwydd, Dadc.* 1. 10. O mynnwch chwi wybod pa ryw ddydd o'r wythnos oedd hwnnw, S[t] *Paul*, a ddywed i chwi mai *pob dydd cyntaf o'r wythnos ydoedd.* 1.*Cor*.16.2.

Megis y cynghorodd Crist felly y mae Cristianogion yn gweddio, ac yn ôl eu gweddiau (fe ddarfu ei Dduw (ychydig cyn dechrau y rhyfel) trwy araith ddewciniol, rybuddio yr holl Gristianogion yn Ierusalem i ymadel oddiyno ac i fyned i *Pela, tref fechan* tu hwnt ir Irddonen: ac felly i ochel digofaint Duw, yr hwn a ddiscynnai ar y ddinas a'r genhedlaeth. Gan na ddichon Cristion (felly) heb ofid calon ddiangc i achub ei fywyd ar y dydd *Euseb. hist. l.* 3. *cap.* 5.

Sabboth: pa fâth orfoledd a diddanwch, a eill fod i wir Griſtion a eſceuluſo orchwylion ſanctaidd o addoliad Duw yn yr Eglwys, i dreilio y rhan fwyaf o ddydd yr Arglwydd, mewn chwaryddiath gnawdol, neu drafferthion halogedig? A chan weled fod diniſtraid *Ieruſalem*, yn gyſtal yn arwyddocau, ac yn ſicrhau, diniſtriad y byd: pwy ni wŷl fod yn rhaid i'r Sabboth ſanctaidd barhau mewn anrhydedd, hyd ddiwedd y byd?

5. O blegid bod yr holl gyfraith * ceremoniaidd wedi ei gorchymmyn i'r Iddewon yn vnig, ac nid i'r Cenedloedd: eithr y gorchymmyn hwn o'r Sabboth ſanctaidd, (megis periodas) a ordeiniodd Duw ynghyflwr *diniweidrwydd*, pryd nad oedd ond vn cyflwr i ddynion oll, ac am hynny wedi ei orchymmyn i'r Cenedloedd, yn gyſtal ac i'r Iddewon. Fel yr oedd yr holl ſwyddogion, a pherchen tai tan orchymmyn i beri i'r holl ddieithriaid (yn gyſtal a'i teuluoedd, a'i deiliaid eu hunain) gadw y Sabboth ſanctaidd, megis yr ymddengys wrth y pedwerydd gorchymmyn, ac ymarfer *Nehe-*

* *Deddſ. Moeſes.*

*miah.*

*miab.* Yr holl Ceremoniau *oedd ganolfur o wahaniaeth* rhwng yr *Iddewon* ar *Cenedloedd.* Eithr gan weled fod y Cenedloedd yngyſtal a'r Iddewon, yn rhwym i gadw y gorchymmyn hwn, y mae yn eglur nad yw ef Ceremoni Iddewaidd. A chan weled fod yr vnrhyw awdurdod am y Sabboth, ac ſydd am briodas: fe ddichon dŷn ddywedyd, nad yw periodas ond cyfraith Ceremoniaidd, yngyſtal a'r *Sabboth.* A chofia, lle nad ydis yn galw periodas ond vnwaith yn gyfammod Duw, o herwydd ei Dduw ei hordeinio yn y dechreuad: felly y gelwir y *Sabboth* ym mhob lle, *Sabboth yr Arglwydd* dy Dduw, o ran ei Dduw ei ordeinio, yn yr vn dechreuad, vn amſer, vn râdd, ac vnrhyw dragwyddoldeb, Am hynny nid *Ceremoniaidd* ydyw.

Neh. 13. 13.
Eph. 2 14

Y mae llygredigaeth ein hanian, yr hyn a ganfyddir yngwrthwynebiad cyhoeddus dynion drwg, ac mewn cyfrinachol anewyllyſcarwch dynion da, i ſancteiddio y Sabboth yn bur, yn dangos yn ddigon eglur fod gorchymmyn y Sabboth yn *Yſprydol* ac yn *Ddefodol.*

7. O

7. O blegid, megis y darfu ei Dduw trwy ddeddf dragwyddol, wneuthur yr Haul, ar lleuad, a'r goleuadau yn y ffurfafen, nid yn vnig i vvahanu rhwng y dydd a'r nos, eithr i fod hefyd yn arwyddion, am dymmorau, am ddyddiau, ac am flynyddoedd: felly yr ordeiniodd efe yn yr Eglwys a'r y ddaiar, y Sabboth fanctaidd i fod, nid yn vnig yn dymmor gosodedig i'w addoli ef yn barchedig: ond hefyd yn ddosparth tragwyddol, a *mesur ar yr amser:* megis y mae *saith ddiwrnod* yn gwneuthur *wythnos*, pedair wythnos *mis*, a deuddengmis yn gwnenthur *blwyddyn:* felly saith o flynyddoedd a wna Sabboth o flynyddoedd, saith *Sabbothau* o *flynyddodd*, a wna ** Iubili*, neu 80. *Iubili*, neu 4000. o flynyddoedd, neu ar ôl *Ezechiel*, 4000. o gufuddau, sef holl amser y *Testament hên*, hyd oni ddaeth Crist trwy ei *fedydd* a'i *bregethiad*, i ddechrau cyflwr y Testament newydd. Ni allai chwaith fyned ym mlaen yma heb ryfeddu, fel y parhâodd *Sacrament* yr *Enwaedidad* yn yr Eglwys 37. o *Iubiliau* sef, o amser *Abraham*, it hwn y rhoddasid yn gyntaf, hyd *Bedydd*

* *Blwyddyn Iyfiydwch.*

*dydd* Crist yn yr *Irddonen:* yr hyn oedd yn vnion gymnifer o *Iubiliau* (yn ôl cyfrif *Bucholcerus*) ac a barhausai y byd o *Adda* i enedigaeth *Abraham*. *Moeses* a ddechreuodd ei weinidogaeth yn yr 80. flwyddyn o'i enioes. Crist a gymmerai ei swydd yn llaw, yn y 80. *Iubili* o oedran y byd. Yr oedd *Ioseph* yn ddêg a'r hugain, pan ddechreuodd ef lywodraethu ar yr *Aipht*, Gen. 41. 49. A'r *Leuitiaid* a ddechreuent wasanaethu yn y *babell*, pan fyddent ddêg a'r hugain oed: felly *Crist* vn agwedd, i gyfatteb y dull ar arwyddion hynny, a ddechreuodd ei *Weinidogaeth* yn y degfed a'r hugain Iubili a'r ôl *Moeses*, a'r pryd yr oedd ef yn *cerdded* ar ei ddêg ar hugain oed, Luc. 2. 23. ynghanol wythnos ddiwaethaf *Daniel:* ac felly (gan barhau yn ei weinidogaeth ar y ddaiar tros dair blynedd a hanner) a orphennodd ein *prynedigaeth*, a *thrangcedigaeth Daniel*, trwy ei *farwolaeth* wirion, ar y Groes. Y rhan fwyaf o'r holl gyfnewidiadau mawrion, a'r digwyddiadau dieithrol, yr rhai a gwympodd allan yn yr Eglwys, a ddigwyddodd naill a'i yn y flwyddyn *Sabbothaidd*,

*thaidd*, a'i yn y flwyddyn *Iubili:* Megis i ddwyn eſampl; Deg wythnos a thrugain *Daniel* oeddynt yn dechrau yn y flwyddyn gyntaf ei *Cirus*, a'r 3439. flwyddyn o oedran y bŷd, a gynhwyſant ynddynt yr vnrhif o flynyddoedd, ac yr oedd y byd yn ei gynnwys o *wythnoſau* o *flynyddoedd*, hyd y pryd hynny: a chyniſer o *wythnoſau* o *flynyddoedd*; ac a barhauſai y byd o Iubiliau. Dég wythnos a thrugain o flynyddoedd *Daniel*, a gynhwyſant bedwar cant a dêg a phedwar vgain o flynyddoedd aethent or blaen; 490. *wythnoſau*, neu *Sabbothau* o flynyddoedd. *Diwedd* 70. wythnoſau *Daniel* oedd 70. *Iubili* a'r byd: felly i gyſſuro 'r Eglwys am 70. o flynyddoedd o gaethiwed, yr hyn a ddarfuaſai iddynt eu ddioddef yn Babilon megis y phophwydodd *Ierimi*, y mae *Gabriel* yn dywedyd i *Daniel*, mai yn niwedd 70. o wythnoſau, neu *Sabbothau* o flynyddoedd, hynny yw, dêg a thrugeinwaith ſaith-waith o flynyddoedd, neu bumcant onid dêg o flynyddoedd, y gweithredid eu hymwarediad tragywyddol, trwy farwolaeth

Ier. 15.

*Criſt*,

*Crist*, cyn * gypled ac eu cawsent yr awrhon, eu gwaredu allan o *gaethiwed Babilon*. Y *Diben terfynedig hwn* gan *Daniel*, oedd yn cynnwys 70. o *Sabbothau* neu 10 *Iubili* o flynyddoedd, yw dechrau yn y rhydd-did cyntaf a ganniadhaodd *Cirus* i'r Iuddewon, y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad ef a'r y *Babiloniaid*, yr hyn a grybwyllir yn Hez. 1. 1. ac yn diweddu yn vnion yr amser y bu farw *Crist* ar y groes. O farwolaeth *Crist*, neu ddiwedd olaf wythnosau *Daniel*, hyd yr vnfed ar ddêg a thrugain ei Grist, y mesurir y byd wrth y *saith sêl*, neu saith *Sabboth* o flynyddoedd, yn gwneuthur vn *Iubili* gyfan. Ar ôl diwedd y saith selau hynny, y mesurir y byd hyd ei ddiwedd wrth y *saith o vdcyrn*, pob vn yn cynnwys, 245. o flynyddoedd (megis y mae rhai yn tybied, ynghylch pen 440. o flynyddoedd i'r ymddengys y gwirionedd:) *Enoch* y seithfed yn ôl *Addaf*, gwedi iddo fyw gymaint o flynyddoed ac sydd o ddyddiau yn y flwyddyn sef, 365. a gafas ei gyfnewidiad gan DDVW yn y flwyddyn Sabbothaidd, *Moeses* y seithfed oddiwrth *Abraham*, megis ail *Enoch*,

Dan. 9. 27.

Dad. 5.
Dad 8. 2 9. a c 1.

*noch, a gladdwyd gan Dduw*, ac a ene-
ſid yn y flwyddyn Sabbothaidd o'r
byd, ſef, 2373. ac yn 777. ar ôl y
diluw (ar ol cyfrif *Broughton*) a wa-
reded, megis *Noah* newydd mewn
*Arch* o gyrs, ac a fu fyw yn adeila-
dydd i'r Eglwys, cyhyd ac ei bu *Noah*
yn adeiladu 'r *Arch* ſef, 120. o fly-
nyddoedd. Yr addewid i *Abraham*, a
wnaethpwyd yn y flwyddyn Sabbo-
thaidd, yr hon oedd, 2023. o'r byd. Y
chweched flwyddyn ei *Ioſuah* yr hon
oedd 2500. o flynyddoedd yn ôl crea-
digaeth y byd, yn yr hon y meddian-
nwyd, ac ei rhannwyd y tîr rhwng
*meibion Iſrael*, oedd flwyddyn Sab-
bothaidd, a'r 50. *Iubili* yn ôl creadi-
gaeth y byd. A'r y flwyddyn hon, y
dechreuodd *Moſes* ei *Iubili*, trwy 'r
hon (megis a chadwyn o ddêg a'r
hugain o ddarnau) y rhwymodd ef
ranniad *meddiant Gwlad Canaan i'r Iſ-
raeliaid, trwy Ioſuah*, ac *agori teyrnas
nefoedd* i bawb a gredai, trwy *Ieſu*. Ac
felly, y mae 'n dwyn *Eglwys* yr Iudde-
won, megis gyd â ffrwd hyfryd o Iu-
*Dull. bilau, oddiwrth yr **arwyddocad* i'r
*ſylwedd*, o *Canaan* i'r *nefoedd*. O *Ioſu-
ab*

*ab* i'r *Iesu*: Canys Crist a'r ddiwedd y degfed ar hugain Iubili ei *Moses*, ac ar ddechreuad y degfed ar hugain flwyddyn o'i oedran, wrth ei Fedydd, a agorodd deyrnas nefoedd, ac a roddes y weledigaeth egluraf o'r *Drindod sendigedig*, ar a welsid er dechreuad y byd. A thrwy arianllais *udcorn* ei Efengyl, y mae yn cyhoeddi, yn ôl prophwydoliaeth *Esay*. iechydwriaeth tragywyddol i bawb a edifarhant, ac a gredant ynddo ef. Esa.61. Luc.4.

A blwyddyn genedigaeth ein Iachawdwr Crist, yr hon oedd y 3948, o oedran y byd, oedd a'r ddiwedd blwyddyn *Sabbothaidd*: ar 564 seithweithiad o'r byd: y mae *Moeses* yn gwneuthur oedran cyffredinol pob dŷn, i fod yn *ddêg saith*, *Psalm* 60. ac yn gyffredinol o fewn pob saith mhlynedd, y digwydd rhyw gyfnewid neu dramgwydd hynodol i gorph dŷn; Ac nid rhyfedd, canys fel y mae *Hippocrates* yn mynegi, fod i'r plentyn yn y groth, ar y seithfed dydd ar ôl ei * ymddwyn, ei holl aelodau gwedi eu gorphen, ac o'r dydd hwnnw allan, yn cynnyddu iw berffaith enedigaeth: yr hyn a fydd

** Pont. yr oes clas or byd dysodedig pag. 12.13.1.*

** Ynnill nen em gael.*

a fydd yn oeſtadol, naill a'i yn y nawfed, a'i yn y ſeithfed *Fîs*. Yn ei ſeithmlwyd oed, y mae 'r *plentyn* yn bwrw ei ddannedd, a rhai newydd yn tyfu yn ei lle. A phob ſaith mhlynedd yn ôl hynny, y mae rhyw gyfnewid, neu ddigwyddiad, ym mywyd dŷn; yn enwedig yn naw-gwaith ſaith, ſef y flwyddyn *Climactericol*, yr hon a welir yn dynghedfen drangcedig, i lawer o'r gwyr dyſcedig, a fuont yn llewyrch i'r byd Ac os hwynt hwy a ddiangent rhag y flwyddyn honno, etto y rhan fwyaf o honynt a ymadawſant a'r byd hwn yn ei *ſeithwaithflwydd*. *Lamech* a fu farw yn y 777 o'i einioes. *Methuſalem* yr oeſwr hwyaf o feibion dynion, a fu farw yn nechreuad ei 900 a 70 o flynyddoedd. *Abraham* a fu farw, gwedi iddo fwy bum ar hugeinwaith ſaith o flynyddoedd. *Iacob* gwedi iddo fyw vn a'r hugeinwaith ſaith o flynyddoedd. *Dafydd* gwedi iddo fyw ddengwaith ſaith o flynyddoedd. felly y gwnaeth *Galen*, felly y gwnaeth *Petrarch*, yr hwn (megis y mae *Bodin* yn ſcrifennu) a fu farw ar yr vn dydd or flwyddyn, ac y ganeſid. Felly y gwnaeth

eth * *Elizabeth forwynaidd Frenhines*, o frendigedig anfarwol goffadwriaeth, yr hon a ddaeth i'r byd hwn *nofwyl genedigaeth y Fair Forwyn*, ac aeth o'r byd a'r nofwyl Cennadwri *Mair Forwyn*. *Hypocrates* a fu farw yn y 15, *feithweithflwydd*. *Hierom* ac *Ifocrates* yn y 13. *Plini*, *Bartolus*, a *Cæfar* yn yr 8. *feithweithflwydd*. A *Iohannes de temporibus*, yr hwn a fu fyw 361, o flynyddoedd, a fu farw yn y 53. *feithweithflwydd* o'i enioes. Y cyffelyb a ellid ei ddeongl, a'i adrodd, am aneirif o rai eraill. Ac mewn gwirionedd, y mae holl fywyd dŷn wedi ei fefur wrth y Sabboth: Canys pa nifer bynnag a fyddo dŷn fyw yma o flynyddoedd, etto nid yw ei fywyd, ond bywyd o *faith o ddiddiau*, gweddi eu hamlhau: felly yn y rhif faith y mae cyflawnder dirgelaidd, yr hyn ni ddichon ein dealltwriaeth moi amgyffred.

Yr holl ragluniaethau goruchel o'r pethau rhyfeddol hyn, digwyddedig cyn fynyched *bob faith*, a'n rhybuddia ni, i ddyfal *fyfyrio* am y feithfed *dydd Sabboth* bendigedig, i adnabod ac i addoli Duw yn y bywyd hwn: megis

gis

* *Hi fu gynt y mae hi'r awrhon (dyna ddwedyd ichwi ddigon:) ar y ddaiar hon yn mhlaenaf, a'r ail Forwyn o'r nef uchaf.*

*Bodin.*
*Bucho l.*

gis o *Sabboth* i *Sabboth*, y gallom ni gael ein cyfnewidio i'r tragywyddol *Sabboth* gogoneddus o hyfrydwch, a dedwyddwch, yn y bywyd sydd i ddyfod.

Wrth ystyriaeth yr hyn beth, hawdd y dichon vn dŷn ar a edrycho yn yr *Histori Sanctaidd*, ddeall fod holl yrfa a rhôd y byd, yn cael ei lywodraethu, a'i ddarparu, megis mewn cadwyn o ragluniaeth Duw, yr hwn sydd yn trefnu pob peth mewn *rhif. mesur, a phwys.* Yr holl amseroedd gan hynny, a fesurir wrth y *Sabboth*: mal na eill *amser* a'r *Sabboth* byth gael moi gwahanu, na'i neillduo: Ac y mae 'r Angel yn tyngu y caiff y mesur hwn or amser

Dad. 10. 6. bythau, hyd na *byddo amser mwyach*: Ac megis y cafas y *Sabboth* ei *osodiad cyntaf*, yn y *llyfr cyntaf* o'r Scrythyrau, felly y cafas ei ffurfiad yn yr *olaf*: ac megis y mae y llyfr hwn yn ** awdur*

* Gwrandu'r. o'r dydd; felly y mae 'r dydd hwn yn vrddo y llyfr: yn gymmaint, a dadcuddio yr achos o hono a'r ddiwrnod mor sanctaidd, *dadcuddiad yr Ar-*

Dad. 1. 10. *glwydd ar ddydd yr Arglwydd*. Cyn hawsed iddynt gan hynny, dynnu'r

Haul

Haul, neu'r lleuad, a'r sêr allan o'r ne-
foedd, a deleu *Sabboth* sanctaidd yr
Arglwydd allan o'r Eglwys: gan we-
led ordeinio y Sabboth yn yr Eglwys
(yn gystal ar haul ar lleuad yn y ffurfa-
fen) er mwyn gwahanieth yr amser.

8. O blegid i'r holl Eglwys trwy
gyttundeb cyhoeddus, er yn amser yr
Apostolion yn gyfan gadw gorchymm-
myn y Sabboth, i fod yn *Ddefodol* ac
yn dragwyddol gyfraith Dduw, a bod
cadw y Sabboth ar y dydd cyntaf o'r
wythnos yn osodiad Crist a'i Aposto-
lion.

Y Gymanfa a elwid *Synodus Colo-
niensis* sy'n mynegi, fod dydd yr Ar-
glwydd yn barchedig yn yr *Eglwys*
ollawr er amser yr Apostolion. *Igna-
tius Escob Antioch* (yr hwn oedd yn
byw yn amser S^t. *Ioan*) a ddywed:
(*adwed pob vn ar a garo Grist, ddydd
sanctaidd yr Arglwydd*, yr hwn sydd
ogoneddus o herwydd ei adcyfodiad
ef, brenin y dyddiau, yn yr hwn y
gorchfygwyd Angau, ac i'r adcyfo-
dodd bywyd i ni yng-Hrist. *Iustin
Martin*, yr hwn oedd yn byw ychy-
dig ar ei ôl yntau, sydd yn dangos fod

y

y Cristianogion yn cadw eu *Salboth*, ar ddydd yr Arglwydd, megis yr ydym ninnau. *Origen*, yr hwn oedd yn byw 180. ar ôl *Crist* sydd yn dangos yr achos y cyfnewidiwyd y *Sabboth* i *ddydd* yr *Arglwydd*. Y mae *Augustin* yn dywedyd, draddodi dydd yr Arglwydd i'r Eglwys trwy adcyfodiad yr Arglwydd ar y dydd hwnnw. *Et ex illo cæpit habere festivitatem suam*, sef o hynny y dechreuodd gael bod yn wyl, a *Christ* a ordeiniodd yn gyntaf, ei gadw yn sanctaidd. Ac mewn *man arall*, *y mae'r Apostolion yn erchi cadw dydd yr Arglwydd*, *trwy barch*, *ac anrhydedd crefyddol*, *o blegid ar y dydd hwnnw*, *y cyfododd ein Iachawdwr oddiwrth y meirw*, *yr* hwn hefyd o'r achos honno, a elwir *dydd yr Arglwydd*.

*Orig. Homi. 7. super Exo.*

*Aug. de tem. serm.* 251.

Megis gan hynny ei dywed *Dafydd* am *ddinas Duw*, felly y gallaf finnau ddywedyd am *ddydd* yr *Arglwydd*, *Gogoneddus bethau a ddywedir am danat ti o ddydd yr Arglwydd.* Canys yr oedd yn ddydd *genedigaeth* y byd, y dydd cyntaf yn yr hwn y dechreuodd creaduriaid gael eu bod. Ynddo ef, ei tyn-

Psal. 87. 3

tynnwyd y *Goleuni* allan o *dywyllwch.* Ynddo ef, ei rhoddwyd y gyfraith ar fynydd *Sinai.* Ynddo ef, y cyfododd yr Arglwydd o farwolaeth i fywyd. Ynddo ef, y cododd y Seinctiau allan ou beddau, gan ſicrhau, mai arno ef, y cyfodai Criſtianogion i *newydd-deb buchedd.* Ynddo ef y diſcynnodd yr Yſpryd glân, ar yr Apoſtolion. Ac y mae yn ddigon cyffelybus, mai ar y ſeithfed dydd, pan *vdcano 'r ſaith vdcorn*, y cwympa *Iericho* felldigedig y byd hwn, ac a rhydd ein gwir *Ieſu* i ni, y meddiant addewidiol o wlad *Canaan* nefol.

Y neb a fynno weled cyfundeb yr hên amſeroedd, ag arfer yr *Eglwys* o'r cynfyd yn hyn o beth, darllenned *Hiſtori* eglwyſig *Euſebius Lib.* 4. *Cap.* 14. *Tertul. Lib. de Idolalatria Cap.* 14. *Chryſ. ſerm.* 5. *de reſurrectione. Conſtitut. Apoſtol. Lib.* 7. *Cap.* 37. *Cyril in Iohan. Lib.* 12. *Cap.* 58. *o'r meddwl hwn y mae 'r holl ſcrifennyddion newyddion, naddiad buraf: Edrych Fox ar Apoc.* 1. 10. *Bucer in Mat.* 12. 11. *Gualt. in Malach.* 3. *Hom.* 23. *Fulk ar Teſtament Rhem. Apoc.* 1. 10. *Chem Exam.*

*Exam. Con. Trid. Par. 4. De diebus festis. Wolph. Chronol. Lib. 2. Cap. 2. Armin. Thes. in 4. praecept. Ac aneirif o rai eraill. Iunius ddyscedig a gaiff ddywedyd* tros y cwbl. *Quamobrem cum dies Dominicus. &c, Am hynny gan weled fod dydd yr Arglwydd yn gystal trwy waith Crist, (sef trwy ei adcyfodiad, ai fynych ymddanghosiad iw ddiscyblion ar y dydd hwnnw) trwy esampl a gosodiad yr Apostolion, a thrwy arfer beunyddiol yr hên brif-Eglwys, a hefyd trwy dystiolaeth yr Scrythyrau,* wedi ei gadw a'i osod yn lle 'r Sabboth Iuddewaidd, inepte faciunt, *y maent hwy yn gwneuthur yn ynfyd, y rhai a ddywedant mai o draddodiad yr ydis yn cynnal dydd yr Arglwydd, ac nid o'r Scrythur, megis y galiont hwy yn y modd hwnnw, osod ar lawr a ffurfio traddodiadau dynion :* Ac eilwaith, achos y cyfnewid hwn, oedd adcyfodiad *Crist*, a dawn adferu 'r Eglwys trwy Grist. *Coffadwriaeth yr hwn ddawn a ddaeth yn lle coffadwriaeth y creadigaeth,* Non humana traditione, sed *Christi* ipsius obseruatione & instituto : *nid trwy draddodiad dŷn, ond trwy osodiad*

*fodiad ac archiad Crist*, *yr hwn yn gystal, ar ddydd ei adcyfodiad, ac ar bob wythfed dydd ar ol hynny, hyd oni dderchafodd i'r nef, a ymddanghosodd i'w ddiscyblion ac a ddaeth* ym mhlith eu torfeydd.

9. O blegid fod yr Arglwydd ei hûn yn * deongli fod y diben neu'r achos o'r *Sabboth* yn *arwydd ac yn athrawiaeth dragywyddol rhyngddo ef a'i bobl*, mai efe yw 'r *Iehouah* trwy 'r hwn y Sanctéiddir hwynt, ac am hynny rhaid iddo ef yn vnig, gael ei addoli ganddynt: a than boen cospedigaeth marwolaeth, y mae 'n gorchymmyn ei bobl yn dragywydd, i gadw hyn o goffadwriaeth yn ddi-halog. Eithr y defnydd, a'r diwedd hwn sydd ddefodol a thragwyddol: Am hyny y mae 'r *Sabboth* yn ddefodol ac yn dragywydd. y peth a sanctéiddiodd *Duw yn dragywyddol, na ryfyged vn dŷn ei wneuthur yn gyffredin, neu yn halogedig*. Ar y sail hon, y mae 'r gorchymmyn yn galw y dydd hwn, *Sabboth yr Arglwydd dy Dduw*, ac y mae Duw ei hûn yn ei alw *ei ddydd sanctaidd*. Ac ar yr vnrhyw sail hefyd, y

* *Exponitio.*

cyssegrodd yr hên *Destament* ei holl Sabbothau, a'i ddyddiau gwylion, i addoli, ac anrhydeddu Duw yn vnig. I osod *Sabboth* gan hynny er anrhydedd i nebryw greadur, sydd bechod gorthrwm a ffiaidd *ddelw-addoliad.* Canys y mae 'r *llech gyntaf* yn ei wneuthur yn rhan o addoliad Duw, fod *Sabboth i'w anrhydeddu ef :* Felly yn *Leuit.* 23. 3. 37. 38. *&c.* Ac yn *Ezec.* 20. 20. *Neh.* 9. 14 Y *Sabbotha roddir* ar lawr *am addoliad Duw.* Ac y mae ein Iachawdwr yn dyscu fod yn rhaid i ni *addoli yr Arglwydd Dduw yn vnig, Mat.* 4. Am hynny cadw *Sabboth* er anrhydedd ei Dduw yn vnig. Y mae 'r Yspryd glân yn adrodd ei fod yn vn o bechodau mwyaf *Ieroboam:* ddarfod iddo *orchymmyn vchelwyl yn ol dychymyg ei galon ei hun.* 1. *Bren.* 12. 33. Ac y mae Duw yn bygwth ymweled ag *Israel a'm gadw dyddiau Baalim* : hynny yw, *Arglwyddi*, megis y papistiaid am eu Seinctiau, *Hos.* 2. 13. Ac yn *sy anghofio i mi* *medd yr Arglwydd.* Ac mewn Gwirionedd nid oes neb lai ei gofal i gadw *Sabboth* yr *Arglwydd* : a 'r rhai sydd

fwyaf

swyaf eu hofergoclion i gadw gwyliau a dyddiau dynion. Am hynny mai Eglwys Rufain yn arferu gorthrwm ddelw-addoliad.

Yn gyntaf, yn cymmeryd arni ordeinio *Sabboth*, yr hyn sydd yn perthyn yn vnig i Arglwydd y *Sabboth*, ei wneuthur.

Yn ail, yn gosod ar lawr *y dyddiau gwylion* hynny, i anrhydeddu creaduriaid, yr hyn sydd gymmainr a'i gwneuthur hwy yn dduwiau *sanctiddiedig*.

Yn drydydd, yn rhwymo wrth y dyddiau hynny, *addoliad Duw, gweddiau, ympryd, a baeddedigaeth*.

Yn bedwerydd, yn casglu ac yn pentyrru am ben y dyddiau hynny a *ddychymygodd* dŷn, *fwy o* barch, ac anrhydedd, nac ar ddydd yr Arglwydd, y rhwn a orchymynnod Dduw, yr hyn beth sydd o vn effaith a chlodfori *Ang-hrist* oflaen *Crist*. Ein Heglwys ni a ddiddymmodd, ac a rodd heibio yn gyfiawn, holl ddelwaddolaidd ac ofergoclaidd wyliau: ac y mae hi yn vnig yn cadw ychydig ddyddiau Gwylion, er anrhydedd i Dduw ei hûn, ac o ran *esmwythaer i wasanaethyddion*.

*Deut.* 5. 24. Er bod defod er ys hir amser, yn ein trechu ni i arfer yr hen henwau er mwyn gwahaniaeth *dinasol?* megis yr arferodd S[t] *Luc* o enwau halogedig *Castor a Phollux*, *Act.* 28. 11. *a'r Cristianogion o Fortunatus* 1. *Cor.* 16. 17. *Mercurius*, *Rhuf.* 16. 14. a'r Iuddewon o ddydd *Mordichem* 2. *Macab.* 15. 17.

10. Yn ddiwaethaf, esamplau o farnedigaethau Duw ar drawseddwyr y *Sabboth*, â allai yn ollawl selio, a dwyn ar ddeall i'r rhai sydd a'i calonnau heb galedu, mor greulon y mae yr holl Alluog Dduw yn digio wrth yr rhai a halogant ddydd yr Arglwydd yn ewyllysllawn.

Yr Arglwydd (yr hwn sydd hefyd yn Dduw'r drugaredd) a orchymynnodd labyddio i farwolaeth, yr hwn Num.32. &c (o'i feddwl *rhyfygus*) oedd *yn cynnutta ar y dydd Sabboth.* Nid oedd y weithred ond bechan; gwir, ond yr oedd ei bechod yn fwy, am iddo (ar achos cyn lleied) ryfygu torri y fath orchymmyn tramawr.

*Nicanor* am iddo ryfygu ymladd yn erbyn yr Iuddewon, ar y dydd

*Sabboth*

*Sabboth*, a laddwyd ei hûn a 35000. o'i wyr.

* Llafurwr wrth falu ei ŷd ar ddydd yr Arglwydd, a gafas ei flawd wedi ei losci yn vlw. *Cant mag. del.* 12. *Ca.* 6. * *Husmon.*

Vn arall, yn dwyn ei ŷd ar y dydd hwn, a gafas ei yscubor a'r holl ŷd oedd ynddi, wedi ei llosci gan dân o'r nefoedd, y nosson nessaf ar ol hynny. *Disp. de tempore sermo.* 1. 17. *Thom. cantibra lib.* 2.

Hefyd rhyw wr ardderchawg, (yr hwn oedd yn halogi y *Sabboth* yn arfer helwriaeth) a gafas fab o'i wraig, ac iddo ben yn debyg i ben ci, ac â chlustiau â gweflau, yn vdo fel bytheiad.

Gwraig chwannog i'r byd, yn nyddu llin yn *Cingstat*, yn *Ffraingc*, oedran *Crist*, 1559. wrth arfer gyd a'i morwynion ei chylfyddyd o weithio ar ddydd yr Arglwydd, fe a ymddanghosodd megis tân iddynt yn ennyn yn y llin, eithr heb wneuthur dim niweid: yr ail *Sabboth*, ei llin a gymmerodd dân, ond fe a'i diffoddwyd yn hawdd: eithr y hi, heb gymmeryd

rhybudd er hynny, y trydydd Sabboth ei cymmerodd dân am y da, ac a loſcodd y tŷ, a'r *wraig chwannog* a dau o'i phlant, fel y buont feirw drannoeth: eithr trwy drugaredd yr Arglwydd, vn plentyn a achubwyd yn ei gryd, ac a dynnwyd allan o'r tân heb loſci.

Ar y 13. o *Ionawr*, oedran yr Arglwydd 1582, ar ddydd yr Arglwydd yn *Mharis Garden yn llundain*, yr yſcaffaldiau a gwympodd dan y gynnulleidfa, wrth ymarthlygu a'r Arth, fel eu lladdwyd wyth yn ddiſymmwth, ac aneirif a friwyd ac a anafwyd. Rhybudd i'r cyfryw rai, a fyddo'n cymmeryd mwy diſyrrwch ar *ddydd yr Arglwydd*, o fod mewn chwaryddfâu, yn gweled digrifwch cnawdol, na bod yn yr *Eglwys* yn gwaſanaethu Duw ag yſprydol weithredoedd Duwioldeb.

Llawer o eſamplau ofnadwy o farnedigaethau Duw o waith tân, yn ein dyddiau ni, a ddigwyddodd i lawer o drefi lle 'r ydoedd *halogedigaeth dydd yr Arglwydd* yn cael ei groeſawu.

*Stratfford ar Avon* a ddifawyd gan mwyaf, ddwywaith gan dân; bob

gwaith

gwaith ar ddydd yr Arglwydd, sef ar
y naill sul, fel pettau heddyw, ac ar gy-
fein ir vn dydd, ym mhen y flwyddyn
drachefn, ar brif-achos oedd; halogi-
dydd yr Arglwyd, a diystyru ei Air
yngenau ei weinidogion.

*Teuerton* tref yn *Defonsir* (cystu-
dwriaeth yr hon a bair im calon wy-
lo o dosturi) oedd yn cael ei rhybu-
ddio yn fynych gan ei Bigail buche-
ddol, y danfonai Dduw ryw ddialedd
trwm arni, am ffieiddsudr halogi *dydd*
yr *Arglwydd*, yr hyn a ddigwyddai yn
bendant o achos bod ei marchnad ar y
dydd oedd yn canlyn. Cyn pen hir o
amser ar ol ei *farwolaeth ef*, ar y try-
dydd dydd o *Ebrill*, yn oed. yr Ar-
glwyd 1598 y darfu ei Dduw, (mewn
llai na hanner awr) ddifa â thân dif-
ymmwth dychrynadwy, yr holl dref
oddieithr yr *Eglwys*, y *Dadleudy* a'r *Elu-
sendai*, neu ychydig o anneddau tlodi-
on, lle gallasai ddyn weled pedwar-
cant o dai cyfanneddol, ar unwaith yn
llosci, a mwy na dêg a deugain o ddy-
nion wedi'r llosci eu difa. Ac yr awr-
hon eilwaith gwedi rhoi y llyfr hwn
allan gyntaf, ar y pumed dydd o fis

Awst, 1612. (pedair blynedd ar ddêg ar ôl y waith gyntaf) yr enynnodd tân yn yr holl dref eilwaith, ac ei difawyd, oddieithr dêg ar hugain o dai rhai tlodion, yr *ysgol* ar *clusendai*. Y maent hwy yn waeth na deillion, y rhai ni chanfyddant fod bŷs Duw yn hyn o beth. Canniadhaed Duw iddynt ei rás y pryd yr adeiladont hi nessaf, i newid ei dydd marchnad, ac i symmud pob achosion o halogi *dydd* yr *Arglwydd*. Cofied trefi eraill *dŵr Siloe: Luc*. 13. 4. a chymmerant rybudd wrth weled cospedigaeth eu cymmydogion. *Ofnant fygythiau Duw Ier*. 17. 17. a choeliant brophwydi Duw os mynnant lwyddo. 2. *Chro*. 20. llawer o esemplau eraill o farnedigaethau Duw, a ellir eu hadrodd, eithr onid yw hyn yn ddigon, i ddychrynu dy galon rhag halogi yn ewyllysgar *ddydd* yr *Arglwydd*, dos rhagot yn dy halogedigaeth, fe a allai ei gwnaiff yr *Arglwydd* dydi yn esampl *nessaf*, i ddyscu eraill i gadw y *Sabboth* yn well.

Y mae ef yn cospi rhai yn y bywyd hwn, i ddangos ei rhydd ef ei ddialedd yn y dydd diweddaf ar yr holl rai a

drawsceddo

drawseddo ei Sabboth yn ewyllysfawn.

Fel hyn y dangosasom yn eglur, fod gorchymmyn y Sabboth yn ddefodol, a bod ei newid ef, o'r seithfed dydd i'r dydd cyntaf o'r wythnos, wedi ei osod trwy awdurdod *Crist* a'i *Apostolion.* Eithr wrth gyhoeddi 'r gyfraith, lle 'r ydoedd llawer o Ceremoniau, gosodedig i'r Iuddewon yn neillduol, i beri i'r bobl hyny fod yn fwy gofalus i gyflawni 'r gyfraith : megis wrth y gorchymmyn cyntaf, *eu gwarediad o'r Aipht*, yn arwyddocau eu gwaredid hwy o uffern : at y pumed gorchymmyn, *hŷd y dyddiau Yng-Hwnaan* : yn argoel o fywyd tragwyddol yn y nefoedd : at y *chweched gorchymmyn* : *dirwest* oddiwrth *waed a phethau a dagwyd* : *yn ddull* i fod yn ofalus i ymgadw oddiwrth bob mâch ar lofruddiaeth : ac at y gyfraith ei gyd ; Ceremoni *y bleth o li lan glas*, iw rhoi i feddwl ymgadw o fewn ymylau 'r gyfraith. Felly yn agwedd at y pedwerydd gorchymmyn, y chwanegwyd *rhai Ceremoniau* y rhai a berthynent i'r Iuddewon yn briodol, ac nid i bobl eraill : megis yn gyntaf y *ddau* Num. 15. 38.

*offrwm* gorchymynnedig iddynt ar y
Sabboth, yn ddull i ddangos fel y
Num. 28. 9. 10. mynnai Dduw ei wasanaethu, â mwy
anrhydedd ar y *Sabboth*, nac ar ddy-
ddiau 'r wythnos: yn ail, y gorchym-
myn caeth, na *chynneuer tân ar y dydd*
Exod 35. 2. 7. *Sabboth*, peidio a thrwsio bwyd, a
Exod. 16. 21. phob llafur corphorol, y ddau beth
i ddwyn ar gof iddynt, eu gwaredi-
gaeth o'r ffwrn dân, a'i caethiwed yn
yr Aipht, trwy waith *Moses* iw ha-
rwain ar y dydd hwnnw: a hefyd a-
rwyddocau iddynt ymwared tragy-
wyddol eu heneidiau o dân vffern trwy
farwolaeth *Crist*. Yn drydydd, cadw
y *Sabboth* ar y seithfed dydd vnion,
yn ôl trefn y creadigaeth, gan arwy-
ddocau i'r Iuddewon, y deuai *Grist*,
trwy ei farwolaeth (gan orphywys ar
eu Sabboth hwynt yn y bedd) i beri
iddynt lonyddwch a gorphywysdra
oddiwrth fauch ac iau y Ceremoni
gyfreithiol *yr hon ni allodd ein tadau ni,
na ninnau ei dwyn, Act.* 15. 10. *Col.* 2.
16. 17.

A pha ddelw bynnac ym mharad-
wys cyn cwymp dŷn, nad ydoedd cadw
y Sabboth, ar y seithfed dydd o'r crea-
digaeth

digaeth yn *Ceremoni*, eithr yn achlysur o berffeithrwydd: etto yn ôl y cwymp ef a aeth, yn *ceremoniaidd*, ac iw gyfnewid o herwydd ein hadferu trwy Grist; megis bywyd dŷn yr hwn o flaen y cwymp oedd *anfarwol*, a ddaeth ar ol hynny, i fod yn *farwol*, a *noethni* yr hwn ym mlaen llaw oedd yn harddwch, a ddaeth yn *gywilydd* drachefn: a *Pheriodas*, a ddaeth yn arwydd o'r dirgeledig vndeb sydd rhwng Crist a'i Eglwys, Ephes. 5. Ac i gyflawni y *Ceremoniau*, (y rhai er mwyn yr Iuddewon a chwanegesid at y Sabboth) fe ddarfu ei Grist yn ôl ei farwolaeth, orphywys yn ei fedd holl ddydd Sabboth yr Iuddewon, ac wrth orphywys felly, y cyflawnodd yr holl (*cremoniau* angenrheidiol.

Yr awrhon, er nad oedd peidio a'r *ceremoniau* cysylltedig at 1, 5, ar 6 gorchymynnion, ac at beriodas, yn deleu na diddymmu y gorchymynnion hynny, na pheriodas, mal na byddent yn ddosparthau tragywyddol o addoliad Duw a chyfiawnhâd dŷn: ni ddarfu chwaith, er tynnu ymmaith y *Ceremoniau* gosodedig at y *Sabboth*, ddiddymmu

ddymunu gweddeidd-dra y gorchymmynion am y *Sabboth*: felly er bod y *Ceremoniau* wedi eu rhoi heibio, wrth ddyfodiad y *Sylwedd*; ar *cyscod* wedi colio (o ran ei gorph Crist ei guddio:) etto yr orphywysfa sanctaidd (yr hon a orchymynnwyd ac a gadwyd, cyn bod na'r Iuddewon yn bobl, na 'r *Ceremoniau* wedi eu cysylltu at y Sabboth) a barhâodd yn dragywyddol gyfraith Dduw, trwy 'r hon y mae holl hiliogaeth *Addaf* yn rhwymedig i orphywys oddiwrth eu *gorchwylion cyffredinol*, mal y gallont gwbl dreulio pob seithfed dydd mewn vnig anrhydedd a gwasanaeth yr vnig Dduw, eu Creawdwr a'i Gwaredydd: eithr yn sylwedd y pedwerydd gorchymmyn, ni chrybwyllir am vn mâth ar *Ceremoni*.

Y Dadleuon pennaf, yn erbyn defod y Sabboth ydynt dri.

1. Geiriau S^t^. *Paul* at y *Galatiaid*, sef, cadw yr *ydych ddiwrnodau a misoedd, ac amseroedd ab lynyddoedd*, &c. Eithr nid yw yr Apostol yno yn *condemnio* neu yn *beio* ar y *Sabboth Defodol* (yr hwn a alwn ni *dydd* yr *Arglwydd*: a'r hwn a ordeiniasai ef ei hûn, yn

Gal. 4. 10

yn ôl gorchymmyn Crist, yn yr Eglwysi hynny o Galatia, a Chorinth, ac a gadwasai ei hûn mewn Eglwysi eraill) eithr y mae ef yn dywedyd, am ddyddiau, am amseroedd, a blynyddoedd yr Iuddewon, ac am gadw y *Sabboth* ar y seithfed dydd, yn ôl y creadigaeth, yr hyn y mae ef yn ei alw *cysgodau pethau i ddyfod*, gwedi eu diddymmu yn awr trwy *Grist y corph*; ac yn y gyfraith hwynt a elwir *Sabbothau*, eithr gwedi eu gwahanredu oddiwrth y *Sabboth Defodol*. Act. 20.7. Col. 2.17 Leuit. 23. 37.

2. Geiriau S. *Paul* at y *Colossiaid* sef, *Am hynny na farned neb arnoch chwi am fwyd: neu am ddiod, neu o ran dydd gwyl, neu newydd-loer, neu Sabbothau*: eithr yma y mae 'r Apostol yn meddwl Sabbothau Ceremoniaidd yr Iuddewon, megis o'r blaen. *Yr ail ddadl.* Col. 2.16

3. Yr hyn a scrifennodd yr vn rhyw Apostol at y Rhufeiniaid, sef, *y mae un yn barnu diwrnod vwchlaw diwrnod, ac arall yn barnu pob diwrnod yn ogyfuwch, &c.* *Y drydydd ddadl.* Rhuf. 14. 5.

Eithr nid yw St. *Paul* yn gwneuthur dim o'r fâth gyfrif: canys nid yw y ddadl yno rhwng yr *Iddewon* a'r cenedloedd,

*nedloedd*, eithr rhwng y *Cristianogion*
Rhu. 15. 1 *crysion a'r gweiniaid.* Y rhai *crysion* oeddynt yn cyfrif y naill ddydd vwchlaw 'r llall, megis y mae yn ymddangos fod dydd wedi ei orchymmyn, a'i gadw yn yr Eglwys, ym mhob man yn anrhydeddus, ac iw adnabod wrth yr enw hwn sef, *dydd yr Arglwydd.* Ac am hynny mai S^t. *Paul* yn dywedyd: *yr hwn sydd yn ystyried diwrnod, i'r Arglwydd y mae yn ystyried.* Ystyried yr hyn beth, o herwydd cyfnewid seithfed dydd yr Iuddewon, y mae rhai Cristianogion gweinion eu pennau (megis y mae llawer heddyw) yn tybied nad yw beth angenrheidiol: felly onis myn gwyr (o achos diddymmu dydd yr Iuddewon) anrhydeddu a chadw yn sanctaidd ddydd yr Arglwydd; eithr gwneuthur yr vn barch iddo, ac i ddiwrnod arall: y mae hyn (medd yr Apostol) yn argoel o'i gwendid hwy, a hynny sydd raid cyd-ddwyn ag efo, nes eu caffont hwy, amser i gael eu hathrawiaethu ym mhellach yn yr iawn. Pob dadl arall a wrthwynebo y gorchymmyn hwn nid yw ond ofer, ac ni thâl moi hatteb.

Yr

*Yr union fodd o gadw yn sanctaidd, ddydd yr Arglwydd.*

YR awrhon sancteiddiad y Sabboth sydd yn sefyll mewn *dau beth.* Yn gyntaf, *yn gorphywys oddiwrth bob gwaith a gorchwyl cyffredinol, ar a berthyno i'n bywyd anianol ni.*

Yn ail, *yn cyssegru yr orphywsfa honno yn gwbl ollawl i wasanaethu Duw, ac i arfer y moddion sanctaidd, y rhai a berthynant i'r bywyd ysprydol.*

*Am y cyntaf.*

Y *gweithiau, a'r gorchwylion sydd raid i ni ymgadw oddiwrthynt, ydynt yn gyffredin ddinasol a gwledig drafferthion. o'r lleiaf hyd y mwyaf:* Exod.31. 29,30. Exod.31. 12,13.

I hysbysu yn eglurach:

Yn gyntaf, oddiwrth holl weithredoedd ein galwedigaeth, megis pe bai hynny *medi* amser cynhaiaf.

Yn ail, oddiwrth ddwyn beichiau, a phynnau, megis y mae 'r * *careiswyr*, neu farchogaeth o hyd o ran elw neu ddifyrrwch: fe a orchymynnodd Duw eu cai yr *anifeiliaid orphywys ar y dydd Sabboth.* Canys felly y torrid

* *Carwyr.*

ym-

ymmaith bob achos o ymdeithio aco lafurio gyd â hwynt, o ran dŷn. Y mae *Duw* yn cennadu iddynt hwy lonyddwch a'r y dydd hwnnw, a'r sawl (heb fod yn anghenrhaid) sydd yn dwyn eu llowyddwch oddi arnynt ar *ddydd* yr *Arglwydd*, fe fydd grudd-fanau yr anifeiliaid lluddedig truein, yn codi yn y farn yn nydd yr Arglwydd yn eu herbyn. Vn agwedd yw y rhai sydd yn treilio y rhan fwyaf or dydd hwn, yn eu heillio, trwsio, a'i taclu eu hunain, megis *Iesabel*, gan wneuthur gwaith y cythraul ar *ddydd Duw*.

Deut. 5. 14.

Yn drydydd, oddiwrth gadw *ffeiri-au* a *marchnadoedd*, yr hyn beth yn aml y mae Duw yn ei gospi â phlâ heintus, tân, neu lifeiriant aruthrol.

Yn bedwerydd, oddiwrth fyfyrio ar *lyfrau*, neu *gylfyddyd*, oddieithr ar yr Scrythyrau Sanctaidd, neu Dduwiol-deb. Canys y mae 'n rhaid i'n myfyr-dod ni fod wedi *ei gorymddwyn yn yr ysbryd yn nydd yr Arglwydd*. I fod yn fyrr, y mae 'n rhaid i ti y dydd hwn-nw adael ymmaith bob gorchwyl yn dyal vedgaeth, megis ei gallo yr Ar-gl[illegible] [illegible] with ei *alwad* i wneuthur ei waith

waith *ef* ynot. Canys ni fendithia 'r Arglwydd ddim ar a ynnillir wrth orchwyl cyffredin y dydd hwn: eithr fe brifia megis aur *Achan*, yr hwn o herwydd ei gael yng-wrthwyneb gorchymmyn yr Arglwydd, a ddug felldith Dduw ar y cwbl arall a gasclesid yn gyfreithlawn. Ac os darfu ei Grist fflangellu ymmaith megis lladron, y rhai oeddynt yn gwerthu ac yn prynu yn y *Deml* (yr hon nid oedd ond Ceremoni iw diddymmu ar fyrr :) a ellir tybied y cynnwys ef y rhai hynny i ddiange yn ddigerydd, a fyddo yng-wrthwyneb ei orchymmyn, yn prynu, ac yn gwerthu ar y Sabboth, yr hon yw ei gyfraith dragywyddol? Crist sy 'n galw 'r cyfryw yn gyssegr-yspeilwyr; ac hwy a allant yn gyfiawn ledratta y Caregl oddiar *Fwrdd yr Arglwydd*, a dwyn oddiar Dduw y rhan fwyaf o ddydd yr Arglwydd iw dreilio, a'i fwrw heibio, yn eu trachwantau eu hunain. Fe gaiff y cyfryw rai ryw ddydd weled, fod Barnedigaethau Duw yn drymmach nac y mae dynion yn meddwl eu bod.

Yn bumed, oddiwrth bob *difyrrwch*,

a *digrif-*

a *digrifwch* y rhai ydynt gyfreith-
lawn amser arall: Canys oni ddylid
gwneuthur *gorchwylion* cyfreithlawn
ar y dydd hwnnw, hytrach o law-
er y dylem ymgadw oddiwrth ein *di-
fyrrwch* cyfreithlawn, yr hwn sydd yn
dwyn ymmaith ein serch, a'n hewyllys
oddiwrth fyfyrio pethau nefol, yn gynt
nac vn weithred neu lafur corphorol.
Canys ni all fod i ddŷn (sydd yn *ym-*
Psal. 37.4 *ddigrifo yn yr Arglwydd*) vn difyr-
rwch nac hyfrydwch mwy, na sancteiddio
ddio dydd yr Arglwydd. Canys a ddi-
chon fod mwy gorfoledd i ddŷn a fy-
ddai wedi ei euogfarnu, na chael dyfod i
lys ei Dywysog i gael ei *bardwn* a'i
faddeuant *yn scrifedig*? neu i vn a fy-
ddai glwyfus anescorol, na chael dyfod
at *y Physygwr* a allai ei iachau ef? neu
i *fab afradlon* a fuasai yn ymborthi ar
y mês gyd a'r Môch, na chael ei gyn-
nwys i ddyfod i fwytta bara y By-
wyd, ar Fwrdd ei Dâd? neu i'r hwn
(o herwydd ei bechod) sydd yn ofni
clywed sôn na chrybwyll am farwola-
eth, na chael clywed diogelwch oddi-
wrth Dduw, am fywyd tragywyddol?
Os wyt yn canniadhau difyrrwch i'th dy
hûn,

hûn, neu i'th was, canniadhâ hynny yn vn o'r chwe' diwrnod, y rhai sydd eiddot ti, nid ar ddydd yr Arglwydd, yr hwn nid yw eiddo i ti nac iddynt hwythau. Nid oes gan hynny, vn difyrrwch corphorol i'w arferu, oddieithr yr hyn a allo ddiddanu 'r enaid i wneuthur gwasanaeth yr Arglwydd yn fwy cyssurus.

Yn chweched, *oddiwrth fwyta yn drwm*, neu yfed gormodedd o win, neu ddiod gref, yr hyn a ddichon ein gwneuthur ni, yn syfrdanllyd, ac yn anghymmwys i wasanaethu Duw a'n calonnau, ac a'n meddyliau. Eph.5.18 Deut.28. 47.

Yn seithfed, oddiwrth bob siarad am bethau bydol, yr hyn a luddies sanctei- Esa 58.13 ddio 'r Sabboth, yn fwy na gweithio, gan weled ei gall dŷn weithio ei hûn, eithr ni all *siarad* ond gyd a'g vn arall.

Yr hwn sydd yn cadw y Sabboth yn vnig wrth orphywys, sydd yn ei gadw ef, eithr megis *anifail*. Canys gorphywysfa ar y dydd hwn, a orchymmynnwyd i Gristianogion cyn belled, ac y byddo yn gynnorthwy i *sancteiddrwydd*: ac yr ydis yn gwahardd neu erchi peidio a *gwaith*: megis y

mae

mae yn rhwystr i anrhydedd Duw *oddifewn* ac *oddiallan*.

Os ydyw gan hynny pob arferion o *ddifyrrwch*, y rhai ydynt gyfreithlawn amser arall, heb fod i'w cynnwys ar y Sabboth; hytrach o lawer y mae pob rhai ydynt anghyfreithlawn bob amser arall, yn ollawl yn waharddedig. Pwy yn ddi-alaeth a ddichon oddef gweled Cristianogion yn cadw dydd yr Arglwydd, megis pe baent yn cynnal digwyl ac yn arlwyo Gwledd *Bachus*, ac nid i anrhydedd yr *Arglwydd Iesu, Iachawdwr a Phrynwr y byd*: O blegid wedi eu gwasanaethant *Dduw* dim ond yn *awr* fâch, trwy wneuthur llûn i ymddangos yn dêg oddiallan, y maent hwy yn treulio y darn arall o ddydd yr *Arglwydd*, *yn eistedd i lawr*
1.Cor.10 7. *i fwyta ac i yfed, ac yn cyfodi i chwareu*: Yn gyntaf, ymdor-lwytho â bwyd
Exo.32.6 18.19. a diod; ac yno porthi *eu trachwantau a chwaryddiaeth ac a dawnsiau*. Yn erbyn y cyfryw halogedigaeth, y mae'r holl Athrawon Sanctaidd, yn gystal yr rhai hên a'r newydd, yn tystiolaethu ac yn beio yn dra chwerw: yn gymmaint a bod *Augustin* yn gwirio mai

gwell

gwell yw *aredig* na *dawnsio* ar y dydd Sabboth.

Yr awrhon yn enw yr Hollalluog Dduw (yr hwn a orphywysodd yn ol creu nefoedd a daiar:) ac yn enw ei dragywyddol Fab Iesu, ymddiffynnwr ei Eglwys, yr hwn ar fyrr a farna yr holl ddynion, yn ôl yr anrhydedd a'r vfydd-dod a ddangosasont i'w orchymynnion ef: yr wyt yn erchi i ti (yr hwn wyt yn darllain y geiriau hyn, megis y byddo i ti atteb gen bron wyneprydd Crist a'i holl Angelion Sanctaidd y dydd hwnnw) gyd bwyso, ac ystyried, pa vn a wna, *dawnsio, chwarau interlud, chwareu mwm, cardiau, tabler*, towlbwrdd, Bowlio, scuthy chwareu tenis, arthlygu 'r Arth, cwmpniaeth, carowsio, a'r cyfryw arferion ynfyd, megis gwilio bedwen, dwyn yr haf i mewn, a'r cyffelyb: a'i bod yn orchwylion i Dduw i roi ei fendith arnynt, ac iw cynnwys, a'i nad ydynt. A chan weled na ddylid gwneuthur vn weithred ar y dydd hwn, oddieithr y cyfryw a fyddo yn molianmu Duw, neu 'r cyfryw y galloin ddisgwyl bendith Dduw arni. Pa fodd y beiddi di wneuthur

wneuthur y pethau hynny ar y dydd bendigedig hwnnw, ar y rhai ni feiddi di erchi ei Dduw gannhiadhau ei fendith iw mwynhau. Clyw hyn a dychryn *o langc halogedig o'r ... s halogedig.*

O galon rewlyd-gwbl ddi-ystyr, wag o râs Duw: yr hon gan fod, bob dydd o chwech, bob awr ym mhob dydd, bob munyd ym mhob awr, yn cael archwaethu trugaredd dy Dduw yng-Hrist, heb yr hwn, bob munyd y buasit yn diflannu. Etto ni chlywi di yn dy galon ewyllys i allael treilio yr *un* diwrnod hwnnw o'r wythnos, yngwasanaeth dy *Feistr*, yr hwn a gadwodd ef iw *addoliant a'i foliant* ei hûn. Rhodded dynion ar lawr yr escusion a fynnont, er mwyn ymddiffyn eu halogedigaeth; ac attebont beth bynnac a roddo 'r cythraul yn eu pennau; etto mi ddymunwn arnynt gofio, gan weled mai hên *draddodiad* yn yr *Eglwys* ydyw, y bydd ail *ddyfodiad yr Arglwydd ar ddydd yr Arglwydd*, leied gorfoledd iddynt gael eu goddiwes yn arferu cnawdol ddifyrrwch i ryngu bodd iddynt eu hunain: pryd y byddo eu Meistr hwy yn disgwil eu

*Lactan. lib. 7. c. 2.*

cael

cael yn ei wasanaethu ef, mewn gorchwylion ac arferion ysprydol. Fe ddymunai 'r *truan* mwyat halogedig y pryd hynny, *gael ei ddal ar ei liniau* yngweddio yn yr *Eglwys* o flaen cael ei *ddal* megis gafr yn crychneittio yn y *dawns.* Oni ddichon hyn eu cynhyrfu, mi ddymunwn etto ar ein rhai gwychion ammur, *fedáwl*, pan fyddont yn dawnsio ar ddydd yr Arglwydd (yngwrthwyneb gorchymyn yr Arglwydd) nad ydynt ond dawnsio ar *fin y pwll*; ac na wyddant pa vn gyntaf o honynt a syrth i mewn. I'r hwn, yn ôl iddynt gwympo vnwaith, heb edifeirwch, ni all mawredd yn y byd eu hachub oddiwrth ddial y Duw mawr, gorchymmyn yr hwn (yngwrthwyneb eu gwybodaeth a'i cydwybod) yr oeddynt hwy mor rhyfygus yn ei drawseddu. Oni all (gan hynny) gochymmyn Duw moth ddychrynu di; na gair Duw moth cynghori di: Ni ddywedaf fi ddim ond y peth a ddywedodd S^t^ *Ioan* om blaen i, *yr hwn sydd frwnt bydded frwnt etto.* Dad.22.11.

*Am*

*Am yr ail.*

*Cyssegriad gorphywysfa 'r Sabboth sydd yn sefyll, i gyflawni tri mâth ar ddyledion:* yn gyntaf, *cyn:* yn ail, *ar:* yn drydydd, *gwedi* gorchwylion cyffredin yr Eglwys.

Y *dyledion i'w cyflawni cyn y gwasanaeth cyffredin, ydynt;*

1. *Noswylio mewn pryd* y noson o'r blaen, megis y byddo dy gorph yn siriolach ac yn gymmwysach i sancteiddio 'r *Sabboth* drannoeth. Canys o ddiffyg y *parodrwydd hwn*, tydi dy hûn a'th weision, pan fyddoch lluddedig gan lafur a gwilio, y nos o'r blaen, a fyddwch mor bendrymmion, megis y pryd y dylech fod yn gwasanaethu Duw, *ac yn gwrando beth a ddywaid ei Yspryd ef wrth yr Eglwys* o ran athrawiaeth i'ch eneidiau; na byddwch yn gallael dal mo'ch pennau i fynu gan gyscu: i *ddianrhydeddu* Duw, gwneuthur cam a'r Eglwys, a gwradwydd i chwi eich hunain: Am hynny lle mae 'r Arglwydd yn gorchymmyn i ni, nid yn vnig *gadw* yn sanctaidd; eithr *cofio* hefyd ym mlaen

Dad.1.3

en llaw y dydd Sabboth i'w gadw yn sanctaidd, gan barotoi ein calonnau a rhoi heibio bob peth a'n *rwystro ni i'w gadw ef, yn dydd gogoneddus i'r Arglwydd.* Am hynny lle mae 'r Arglwydd yn y gorchymynnion eraill, naill ai yn erchi *gwneuthur*, neu *beidio a gwneuthur:* y mae ef yn rhoi y ddau ar lawr yn y gorchymmyn hwn, a hynny trwy * *Memorandum* hynodol; Megis pe bai Feistr yn rhoi siars a gorchymmyn i'w was, am edrych yn dda ac yn fanwl *am ddêg* o bethau mawrion; eithr i fod yn fwy gofalus i gofio vn o'r dêg hyn yn enwedig, er mwyn amryw resymmau dysnion: Oni ddylai was ffydlon a garai ei feistr, ddangos mwy gofal hynod am y peth hwnnw, nac am yr holl orchwylion eraill? Esay 58. 13. * cofiwch

Fel hyn yr oedd *Moeses* yn dysgu y bobl dros nôs i gofio 'r *Sabboth:* ac yr oedd hi yn ddefod ac arfer sanctaidd ymmhlith ein *hynafiaid*, pan genid y gloch osber ar y noswyl o'r blaen, fe a ymadawai 'r *llafurwr* a'i orchwyl yn y maes, a'r *Crefftwr* a'i gylfyddyd yn ei fwrth, ac aent i'r Eglwys i wrando Exod. 16 23.

gwaſanaeth, i baratoi eu heneidiau; megis y gallai eu meddyliau fod yn *burach*, ac yn *gyſſurach* i addoli Duw ar ei ddydd *Sabboth*.

2. I feddiannu y noſon honno *dy*
1. Cor. 7. 5. *ieſtr* dy hûn mewn *ſancteiddrwydd* ac *anrhydedd:* megis y gellych di roi dy enaid yn anrheg burach yng-olwg Duw y borau drannoeth.

3. I godi yn blygeiniol y boreu ddydd *Sabboth*. Bydd ofalus gan hynny i godi yn foreuach ar y dydd hwn, nac ar y dyddiau eraill: yn gymmaint ac y mae *gwaſanaeth* Duw iw roi o flaen trafferthion bydol: O herwydd nad oes vn Meiſtr iw waſanaethu *cyſtal a Duw*; ac yn y diwedd, nid oes well cyflog yn y byd iw gael, nac am ei waſanaeth ef.

4. Pan fyddych gwedi codi, yſtyria wrthit dy hûn pa ryw bechadur aflan wyt; ac i ba gyfryw le ſanctaidd yr ydwyd yn myned i ymddangos, ſef ger bron y *gwir Dduw ſanctaidd*, yr hwn ſydd yn gweled y galon, ac yn caſâu pob amhuredd a rhagrith. ymhola â thydi dy hûn gan hynny cyn i ti gychwyn i'r Eglwys, pa bechodau

tryn-

mion a wnaethost yr wythnos a aeth heibio ; *cyfaddef* hwynt oll o flaen Duw, ac yn ddifrifol gweddia am gael maddeuant am danyn , ac felly gwna dy gymmod dy hun â Duw yng-Hrist. Adnewŷdda dy addunedau i fyw yn fwy cydwybodus, a gweddia am ychwanegu y doniau a roddwyd i ti, ac am roddi i ti y rhai sydd arnat ti eu heisiau. Eithr yn enwedig gweddia am râs i wrando *gair Duw* yn fuddiol wrth glywaid ei ddarllen a'i bregethu , a gallael o honot dderbyn y *Sacrament* sanctaidd yn gyssurus (os dydd i gymmuno a fydd:) a gweddia ar ei Dduw a'i Yspryd glân gynnorthwyo y pregethwr, i adrodd rhywbeth i *ladd dy bechod*, Col. 4. 3. ac i gyssuro dy enaid : yr hyn a elli di ei wneuthur yn y modd hyn, neu 'r cyfryw.

---

*Boreuol weddi ar y dydd Sabboth.*



*Arglwydd goruchaf, O Dduw tragwyddol, yr hwn sydd a'i holl weithredoedd yn ogoneddus, a'i Feddyliau yn ddyfnion: Ni ddichon bod dim well na moliannu dy enw, a datcan dy drugareddau yn y boran, ar y sanctaidd a'r bendigedig ddydd Sabboth.* Canys dy ewyllys a'th orchymmyn yw, i ni sancteiddio. y ddydd hwn yn dy foli a'th wasanaethu: ac i ddwyn ar gôf yn ddiolchgar, yn gystal am greadigaeth y byd trwy allu dy *Air*: a gwaredigaeth dynawl ryw trwy farwolaeth dy Fab. *Iti Arglwydd (yr wyf yn cyfaddef) y mae Mawredd, a gallu a gogoniant, a goruwchafiaeth, a harddwch: Canys y cwbl yn y nefoedd, ac yn y ddaiar sydd eiddot ti; y deyrnas sydd eiddo ti Arglwydd, yr hwn hefyd a ymddercheaifist yn ben ar bob peth. Cyfoeth hefyd ac anrhydedd a ddeuant oddi wrthit ti, a thi sydd yn arglwyddiaethu*

*ar*

*ar bob peth, ac yn dy law di y mae nerth, a chadernid; yn dy law di hefyd y mae mawrhau a nerthu pob dim.* Yr awrhon am hynny *O fy Nuw*; y molian-naf dy enw ſanctaidd; lle yr oeddwn i bechadur truan gwedi annog dy anfodlonrhwydd a'th ddigofaint cyn fynyched, a thithau er hynny o'th râd a'th ddaioni (heb ddal ſulw ar fy halogedigaeth a'm gwendid) gwedi rhyngu bodd i't ychwanegu'y *Sabboth* hwn at rif fy nyddiau. Rhynged bodd i't hefyd, (O Dâd nefol) er mwyn haeddedigaethau *Ieſu Griſt* dy Fab, (adcyfodiad gogoneddus yr hwn y mae'r holl *Eglwys* heddyw yn ei ſancteiddio) faddau a gollwng dros gof, fy holl bechodau am camweddau. Yn enwedig O Arglwydd * glanhâ fy enaid oddiwrth y pechodau bryntion hynny, â gwaed dy bur *oen* gwirion di-frycheulyd, *yr hwn ſydd yn tynnu ymmaith bechodau y byd.* A phâr i'th Yſpryd ſanctaidd, farwhau fwyfwy fy llygredigaethau, megis i'm adnewydder ar lun dy ddelw di, i'th waſanaethu di mewn *newydd-deb buchedd a ſancteiddrwydd o ymarweddiad.* Ac megis y

* *Yma y gelli gyffadef pa bechod a'r wythno a aeth heibio fy 'n gnaſgu ar dy gydwybod.* Ioa. 1. [illegible]

darfu i ti o'th trugaredd fynghadw i yn ddiangol hyd ddechreu y dydd bendigedig hwn: felly yr wyf yn artolwyn i't, ei wneuthur yn ddydd cymmod rhwng fy *enaid pechadurus* a'th ddwywawl Fawrhydi. Dôd i mi râs i'w wneuthur yn ddydd o *edifeirwch* ger dy fron di, fel y byddo dy *ddaioni* yn ei *selio* ef yn ddydd o faddeuant i mi: ac fel y gallwyf gofio mai cadw yn sanctaidd y dydd hwn, yw 'r gorchymmyn a scrifennodd dy *fŷs* dy hûn: Megis ei gallwn i ar y dydd hwn fyfyrio ar weithredoedd gogoneddus ein *creadigaeth* a'n *prynedigaeth*; a dyscu y modd i *adnabod* ac i gadw, y cwbl eraill o'th cyfreithiau a'th orchymynnion sanctaidd. Ac yn y man, pan fyddwyf ym mhlith dy gynulleidfa sanctaidd, yn ymddangos yn dy dŷ ger bron dy wyneb, i offrwm i't ein boreuol aberth o *foliant* a *diolch*; ac i wrando beth a lefara yr *yspryd* (ym mhregethaid dy air) *wrth dy was*; O na âd i'm pechodau sefyll megis cwmmwl i attal fyngweddiau, rhag derchafu attat ti; neu i gadw yn ôl dy râd rhag descyn trwy dy air yn fy-nghalon. My
fi

ſi a wn O Arglwydd, ac yr wyf yn crynu wrth feddylied, fod *tair rhan o'r hâd da* yn ſyrthio mewn *tîr drwg.* O na âd i'm calon i fod yn debyg i'r *ffordd fawr*, yr hon trwy galedwch ac eiſiau gwir ddealltwriaeth, nid yw yn derbyn mor *hâd* nes dyfod yr vn *drwg* a'i ddwyn ymmaith: nac yn debyg i'r *tir* * *creigiog*, yr hwn ſydd yn gwrando yn llawen tros amſer, eithr yn cilio cyn gynted ac y codo, na phrofedigaeth nac erlid er mwyn dy Efengyl di: nac yn debyg i'r *tîr dreinog, yr hwn gan ofalon y byd a melyſwedd buchedd a dagu yr hâd megis nas gallo ddwyn ffrwyth i berffeithrwydd: Eithr yn debyg i'r tîr da, y byddwyf â chalon hawddgar gydwybodus, yn gwrando dy air ac yn ei gadw, ac yn dwyn ffrwyth trwy ammynedd*, yn y *meſur* y gwelo dy ddoethineb fod yn *gymbeſur* er mwyn dy ogoniant di a'm diddanwch tragwyddol innau. Agor hefyd yr wyf yn attolwg i't O Arglwydd *ddrws yr ymadrodd* ith was, yr hwn a anfonaiſt attom *ni i agoryd ein llygaid, ac i'n troi o dywyllwch i oleuni, ac o feddaint Satan a't Dduw; fel y derbyniom faddeuant*

* *Neu caregog.*

Math. 13. 1, &c. Luc. 8.

Col 4.8. Act.26.1. *uant pechodau a chyfran ym mysc y rhai a sanctciddiwyd trwy ffydd yng-Hrist.* A dyro i mi râs i ymostwng fy hûnan at ei Weinidogaeth ef, yngystal pryd y byddo yn fy nychrynu i â *Barnedigaethau*, a phan fyddo yn fyngonnorthwyo i a'th Trugareddau di. Ac
1.Thes 5 12. Heb.13. 17. fel y byddwyf yn rhoi *fyn rhaserch arno* er mwyn ei orchwyl; O blegid ei fod yn *gwilio tros fy enaid*, megis vn a fyddei raid iddo roddi cyfrif am dano i'w Arglwydd. Dyro i mi râs i'm ymddwyn fy hûn ym mhlith y gynulleidfa sanctaidd mewn gweddeidd-dra, ac anrhydedd, megis yn dy wydd di, ac yng-olwg dy Angelion sanctaidd. Cadw fi rhag fyrthni a chyscu, ac rhag holl feddyliau gwib-grwydrus a bwriadau bydol: sancteiddia fyng-hof megis y byddo yn gymmwys i dderbyn, ac yn hydda i gofio, yr holl athrawiaethau buddiol daionus, a ddyscir i ni allan o'th Air di. Ac fel y gallwyf (trwy gynnorthwy dy Yspryd glân) arferu yr *addysg* ar *moddion* hynny, i'm hyfforddi mewn hawddfyd, am cyssuro mewn cystudd, ac er mwyn gwellhau fy muchedd, a thoi gogoniant i'th enw.

A

A bod y dydd heddyw, yr hwn y mae dynion anuwiol halogedig yn ei dreilio yn eu difyrrwch a'i trachwantau eu hunain, i ni ( megis vn oth wasanaethwyr ffyddlon ) i allael ei wneuthur yn brif ewyllys i mi, *I'th anrhydeddu, a'th ogoneddu, heb wneuthur fy ffyrdd fy hun, na cheisio fy ewyllys fy hun, na dywedyd fyng-eiriau fy hun.* Eithr gan roi heibio, yn gystal gweithredoedd pechod, a gweithredoedd fyngalwedigaeth gyffredinol, y gallwyf trwy dy râs di, glywed yn fyng-halon ddechreuad y Sabboth tragwyddol, yr hwn mewn llawenydd a gorfoledd anraethadwy a gaf fi ei gyssegru gyd a'th Seinctiau a'th Angelion, i'th *foli a'th addoli* yn dy deyrnas nefol yn dragywydd. Yr holl bethau hyn, yr wyf yn dra-gostyngedig yn ymbil am danynt, er mwyn teilyngdod ein Harglwydd *Iesu*, yn enw yr hwn, ac yn y ffurf ar weddi a ddyscodd ef i ni, gan ddywedyd:

Esay 58. 13.

Esay 66. 23.

*Ein Tâd yr hwn wyt &c.*

Gwedi i ti fel hyn baratoi dy enaid dy hun or neilldu, os oes ofal tŷ a thyl-

wyth i ti galw dy deulu yng-hyd, darllain bennod, a gweddia megis yn nyddiau yr wythnos : Eithr cofia ddibennu yr *barotoad* ar dyledyon neilltuol hynny, fel y gellych di a'th Deulu fod yn yr Eglwys cyn dechreu y gwasanaeth: Onid ê fe ddichon eich neillduol arferion fod yn *rhwystr* ac nid yn *barotoad*. A thra fyddych di (a'th teulu) mewn holl anrhydedd yn myned tu ar Eglwys, myfyried pob vn fel hyn wrtho ei hunan.

*Pethau i'w myfyrio wrth fyned i'r Eglwys.*

1. DY fod yn myned i lŷs yr Arglwydd, ac i lefaru wrth y *Duw Mawr*, mewn *gweddi*; ac i glywed ei Fawrhydi yn llefaru wrthit tithau yn ei Air, ac i dderbyn ei *rad* a'i fendith ar dy enaid, a'th *lafur onest*, yr hyn a wnaethost yn y chwe' diwrnod a aethant heibio.

Psal.42. 2. 2. Dywed wrthit dy hûn hyd y ffordd; *Fely brefa'r hŷdd am yr afonydd dyfroedd: felly 'r hiraetha fy enaid am danat ti ô Dduw. Sychedig yw fy enaid*

*idam Dduw, am y Duw byw: pa bryd y deuaf, ac yr ymddangosaf ger bron Duw? Canys gwell yw diwrnod yn dy gynteddau di, na mil* yn lle arall: *dewiswn eistedd wrth y rhiniog yn nhŷ fy Nuw, o flaen trigo ym-mhebyll annuwioldeb.* Am hynny *minneu a ddeuaf i'th dŷ di yn amlder dy drugaredd: ac a addolaf tu a'th Deml sanctaidd yn dy ofn di.* Psal. 48. 10. Psal. 5. 7.

3. Ar dy fynediad i mewn i'r Eglwys, dywed, *mor ofnadwy yw y lle hwn? nid oes yma onid tŷ ei Dduw, ac dymma borth y nefoedd*, diau fod Duw yn y *fan hon, y mae'r Arglwydd yn ddiammau gyd a'r bobl yma.* A chan ymostwng a'th wyneb tu ar llawr wedi y delych i'th le, dywed: *O Arglwydd hoffais drigfan dy dŷ, a lle presswylfa dy ogoniant. Vn peth* gan hynny *a ddeisyfiais i gan yr Arglwydd, hynny a geisiaf, sef caffel trigo yn nhŷ'r Arglwydd holl ddyddiau fy mywyd: i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd, ac i ymofyn yn ei Deml: am hynny 'r aberthaf yn ei babell ef ebyrth gorfoledd: canaf, ie canmolaf yr Arglwydd. Clyw o Arglwydd fy llyferydd trugarhâ hefyd* Gen. 28. 17. Psal. 26. 8 Psal. 27. 4 Psal. 27. 6

*wrth-*

*wrthif, gwrando arnaf, pan lefwyf arnat.*
Psal.23.6 *Daioni, a thrugaredd yn ddiau am canlynant,*
Dih.4.26 *oll ddyddiau fy mywyd, a phresswyliaf yn hŷ 'r Arglwydd yn dragywydd.*
Ac fel dyma y parodrwydd ar gwilio ar ein traed yr oedd *Salomon* yn ei gynghori i ni ei wneuthur, cyn myned i'r Eglwys.

## Yr *ail beth dyledus iw gyflawni ym mhlith y gynnulleidfa Sanctaidd.*

PAn ddechreuo 'r gwasanaeth gâd ymmaith dy neillduol fyfyriadau, a gâd i'th calon vno ar *Gweinidog*, ac a'r holl Eglwys, o ran eich bod megis yn *vn corph* yng-Hrist, ac o herwydd bod Duw yn *Dduw 'r drefn*, efe a fyn wneuthur pob peth yn yr Eglwys o
1.Cor.13 22. *vn fryd ag vn galon*: Canys y mae gor-
Act.2.2. chwylion yr Eglwys yn gohoeddus ac
4.32.46. yn gyffredinol. Am hynny balchder anhydyn yw i ddŷn dybied fod ei weddiau neillduol ei hûn, yn ffrwythlonach na gweddiau cyffredin yr holl Eglwys. *Salamon* gan hynny fydd yn cynghori dŷn i beidio a bod *yn brysur i drae-*

*i draethu dim* yn y Eglwys *ger* bron Duw. *Gweddia* gan hynny pan fyddo 'r Eglwys yn *gweddio, cân* pan ganont hwythau, ac ym mhob gweithred megis myned ar *liniau, sefyll, eistedd*, a'r cyfryw drefn arferol, a Cercmoniau dineweid (i gael bod heb ogan a chadw cariad perffaith a thystiolaeth o'th vfydd-dod) ymosod dy hûn at agwedd yr Eglwys, yr hon y byddych yn byw ynddi. Pre.5.1.

Tra byddo 'r Pregethwr yn dosparthu, deongli ac egluro gair yr Arglwydd, edrych arno; canys y mae hynny yn gymmorth mawr i'th annog di i wrando, ac i'th cadw rhag synfeddyliau crwydrus: felly *yr oedd llygaid pawb oll yn y Synagog yn craffu ar Grist* tra yr ydoedd yn pregethu: ar *holl bobl oedd yn glynu wrtho i wrando arno*. Cofia dy fod yno megis vn o ddiscyblion Crist, *i ddyscu gwybodaeth iechydwriaeth er maddeuant pechodau trwy dirionded trugaredd ein Duw, Luc*.1.77. Luc.4.20 Luc.19. 45.

Na fydd gan hynny yn yscol Grist, megis bachgen ofer mewn *yscol Gramadeg*, yr hwn er clywed yn fynych,

fydd byth heb ddyfcu ei wers: ac yn myned i'r yfcol yn oefdad heb ddyfcu vn twrn da: yr wyt ti yn cafhau hyn mewn bachgen, y mae Crift yn ei ffieiddio ynot tithau. Gan hynny er mwyn cael o honot fwy budd a llês wrth wrando, cerglyw yn ddyfal:

1. *Gyfundeb, a chyffelybiaeth y teftyn, neu 'r text.*

2. *Beth yw prif amcan neu fwriad yr yfpryd glân yn y Teftyn.*

3. *Ddofparthiad a rhannau y Teftyn.*

4. Y*r athrawiaethau; ac ym mhob athrawiaeth, y prawfiau, y rhefymmau, a'r defnyddiau o honaw.*

Y ffordd ar dull hawfaf o bob ffordd arall iw dirnad, ac i'r bobl i gofio 'r bregeth (a fo cynefin â gwrando pregeth) yw honno: ac am hynny angenrheittiaf ei chael yn arferedig gan Fugeiliaid ffyddlawn, y rhai ydynt ewyllyfcar i athrawiaethu ei defaid yngwybodaeth Duw a'i wir Grefydd.

Os bydd araith neu ddofparth y Pregethwr yn fanylaidd neu yn blethedig, yno gwna dy orau ar gofio:

1. *Pa gyfryw bethau a ddyfcaift ti,*

*ar na wyddit ti o'r blaen*, *a bydd ddiolchgar.*

2. *Pa ryw bechodau yr oedd ef yn eu hargyoeddi, o'r rhai y mae dy gydwybod yn dywedyd i ti, dy fod ti yn euog; ac am hynny rhaid i ti wellhau.*

3. *I ba rinweddau y mae ef yn ein hannog, y rhai nid ydynt berffaith ynot ti, ac am hynny ymegnia iw harferu â mwy awch ac ewyllysgarwch.*

Eithr wrth wrando, *bwrw fod* pob
ymadrodd megis attat *dy hûn*, ac fel
pe bai Dduw yn dywedyd wrthit ac
nid *dŷn*: ac na fydded cymmaint gen- Esa.2.2.
nit am glywed geiriau y Pregethwr yn Act 10.33
melus-seinio yn dy glust, ac am ym-
wrando â ffrwyth yr Yspryd yn
gweithredu yn dy galon. Am hynny y
dywedir cyn fynyched, *yr hwn sydd* Dad.2.7
*ganddo glust, gwrandawed pa beth y
mae 'r* Yspryd *yn ei ddywedyd wrth
yr Eglwysi*: Ac, *Onid oedd ein calonnau
ni yn llosci ynom tra 'r ydoedd efe yn
ymddiddan â ni ar y ffordd, a thra 'r
ydoedd efe yn agoryd i ni 'r Scrythy-* Luc.24.
*rau?* Ac fel hyn y mae 'r fendith wedi 32.
ei haddaw ir *rhai a wrandawant y Gair*. Luc.11.
Dyna ein *aberthu* ein hunain yn gym- 28.

me-

meradwy i Dduw. Dyna 'r *argoel hyn-*
Ioa 10. 27. *nottaf* ar Scinctiau Crist: *y nôd hawsaf*
*i adnabod defaid Crist*: *y sein egluraf*
Ioa.8.47 *o etholedigion Duw*: y gwir waed, yr
hwn sydd megis yn ein cyfathrachu ni
a'r *genedlaeth ysprydol*, yn *frodyr* ac
Luc.8.12 yn chwaiorydd i Fab Duw. Dyma 'r
*gelfyddyd* orau i ddal côf i wrandawr
dyfal. *Pan ddarfyddo 'r blegeth*;

1. Gochel ymadel mal y naw *gwahanglwyfus*, nes darfod i ti dalu diolch a moliant i Dduw trwy *weddi* am dy athrawiaeth ysprydol, a chanu *Psalm*. A phan syddir yn adrodd, y fendith, saf i fynu i dderbyn dy gyfran o honi, a gwrando hi megis pe bai Grist ei hûn (Gweinidog yr hwn yw efe) yn adrodd y cyfryw wrthit: O blegit yn yr achos hon y mae 'n wir: *yneb sydd yn*
Luc.10. 16. *eich gwrando chwi, sydd yn fyng wrando i*: Ac y mae 'r dydd Sabboth yn *fendigedig*, o herwydd mai ar yr hwn, trwy enau ei Weinidogion, *y bendiga Duw ei bobl y rhai a wrandawnt ei Air, ac a ogoneddant ei enw.* Canys er nad yw y dydd Sabboth ynddo ei hun, yn fwy bendigedig na 'r chwe diwrnod eraill, (etto o herwydd i'r Arglwydd

ei ordeinio i *arferion* sanctaidd vwchlaw eraill ) y mae yn rhagori cymmhelled ar ddyddiau eraill, ac y mae *bara cyssegredig* yr hwn yr ydym ni yn ei dderbyn, ar Fwrdd yr Arglwydd, yn rhagori ar *y bara cyffredinol,* yr hwn yr ydym ni yn ei fwyta ar ein byrddau ein hunain.

2. Os dydd i Gymmuno a fydd, pwysa i fynu at Fwrdd yr Arglwydd, mewn *gwisc periodas o galon ffyddlon edifeiriol*, i fod yn gyfrannog o'r cyfryw *wledd* sancteiddiol.

Ar pryd y byddont yn bedyddio, aros i wrando mewn holl ddisdawrwydd anrhydeddus, megis y gellych di felly : yn gyntaf, ddangos dy *anrhydedd* i ordeinhâd Duw : yn ail, fel y gellych ystyried yn well *dy impiad dy hun* yng-horph gweledig Eglwys Grist, a pha ddelw y cyflawnaist addunedau dy gyfammod newydd : yn drydydd, megis y gellych dalu yn ôl, y dyledion, yn gweddio tros y plentyn a fedyddir (megis y darfu eu Cristianogion eraill yn yr vn achos trosot tithau) ar ei Dduw roddi iddo ef y moddion, ar ffrwythau ysprydol o'i Fedydd,

dydd, trwy ei *waed* a'i *yspryd*.

Yn bedwerydd, fel y byddych yn cynnorthwyo 'r Eglwys ym molian-nu Duw, am iddo *impio* aelod arall yn ei *gorph dirgeledig*.

Yn bumed, fel y gellych di wybod a fyddo effeithiau marwolaeth Crist yn lladd pechod ynot ti, ac a ydwyd ti wedi ymgyfodi i newydd-deb buchedd trwy rinwedd ei *adgyfodiad* ef: ac felly i fod yn ostyngedig o achos dy ddiffygion, ac yn ddiolchgar am ei râd ef.

Yn chweched, i ddangos dy fod dy hunan yn wr rhydd *o gynnulleidfa* Grist: ac yn gallael rhoi dy * lafe-rydd a'th gyfundeb i ethol eraill ir gymdeithas sanctaidd honno.

*Lectiwn

3. Os bydd yno vn gasel i'r tlawd, dod dy elusen yn rhwydd, ac yn ddirwgnach, megis y bendithiodd Duw dy allu.

A hyn am y dyledion sydd i'w cyflawni yn y gynnulleidfa sanctaidd.

*Yr awrhon am y trydydd mâth ar ddyledion yn ôl dyfod o'r gynnulleidfa sanctaidd.*

WRth ddychwelyd tu ag adref, neu wedi yr elych i'th tŷ, myfyria ychydig ar y pethau a glywaist. Ac megis yr anifail glân yr hwn sydd yn cnoi ei gîl, felly rhaid ei tithau ddwyn i'th côf drachefn, yr hyn a glywaist ti yn yr Eglwys: Ac yno gan fyned i lawr ar dy liniau, trô 'r cwbl yn weddi, gan attolygu ei Dduw roddi y cyfryw fendith ar y pethau a glywaist, fel y byddont yn gyfarwyddyd i'th fywyd, ac yn ddiddanwch i'th enaid, 1. Canys nes i'r Gair fal hyn fod wedi ei wneuthur yn eiddom ni, ac megis yn guddiedig yn ein calonnau, yr ydym mewn perigl rhag ei Satan ei ledratta ef ymmaith, ac na chaffom ni na budd na llês oddiwrtho. A phan fyddych yn myned i'th ciniaw yn y modd diolchgar anrhydeddus a adroddwyd o'r blaen, cofia yn ol dy allu fod gyd â thi vn neu ychwaneg o dlodion Cristianogawl

Levit. 11. 3.

Psal. 119. 11.

gawl yn derbyn gennit ymborth i'w coluddion newynog : Gan wneuthur
Iob 31. 17,18. ar ôl *Iôb* yr hwn sydd yn mynegi na *fwytâodd ef erioed moi fwyd yn unig, heb fod yr ymddifad, a'r tlawd yn bwyta o honaw*, Dyna orchymmyn Crist ein Harglwydd Luc 14.13. Neu o'rhyn lleiaf danfon beth o'th giniaw i'r tlawd, yr hwn sydd yn gorwedd yn glaf yn vn o'r bythod yn dy ymyl, heb ddim llyniaeth yn ei feddiant. O blegid hyn a ddwg fendith ar dy holl lafur a'th weithredion, ac a wnaiff mwy o orfoledd i'ch enaid ti ryw ddydd, nac y mae yr awrhon yn ei wneuthur o lês cyssurol iw *gorph* ef y pryd y byddo Crist yn dywedyd wrthir: O fendigedig
Matt. 25. 35.40. blentyn ei Dduw, *Canys bum newynog a chwi a roesoch i mi fwyd: bu arnaf syched a chwi a roesoch i mi ddiod, &c.* Yn *gymmaint a'i wneuthur i vn o'r rhai hyn fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch:* sef *yr hyn a wnaethoch er fy mwyn i, yr wyf yn ei gymmeryd vn agwedd a pha gwnaethech i mi fy hûn, medd yr Arglwydd Iesu.*

Pan ddarfyddo ciniaw, a molianu 'r Arglwydd, galw dy deulen yng-hyd hola â hwynt pa beth a ddyscasant

ſant yn y bregeth: [illegible] y rhai ſydd yn gwneuthur [illegible] ddi-galonna mor rhai ſy[illegible] [illegible] dealltwriaeth yn wannach, eithr yn hytrach hyffordda hwynt: canys fe [illegible]-chon eu hewyllys a'u [illegible] fod yn gyſtal a'r lleill. Doſp[illegible] y deongli-adau yr oedd y pregethwr yn eu hadrodd, a chura hwynt yn eu pennau drachefn. Yna cân *Pſalm*, neu ychwaneg. Os bydd yr amſer yn cynnwys di elli eu haddyſcu, ai holi mewn rhyw fannau o'i *Catechiſm*, gan gyd-ſynnied pob dosparth ac athrawiaeth yr Scrythur ſanctaidd. Hyn a chwanega hefyd ein gwybodaeth ninnau, ac a flaenllymmau ein coffadwriaeth: gan weled beunydd mai y rhai ſydd fynychaf *arferol* ym mhob celfyddyd, ſydd fwyaf hyfedr, ac odiaethol, Eithr er dim cofia oſod trefn a llywodraeth ar dy arferion neillduol, megis y gellych di fod yn y goſber gyd â rhai cyntaf, lle y mae yn rhaid i ti dy ymddwyn dy hûn yn yr vnrhyw anrhydedd, a duwiol fuchedd ac a adroddwyd i ti yn Foreuol Orchwylwaith ſanctaidd.

Ar ol * prydnawnol weddi ar dy

Swpper *.

*Swpper ymddwg dy hûn yn yr vnrhyw ſanctaidd a chrefyddol ymarfer ac a draddodwyd o'r blaen. A'r naill a'i o flaen, ai a'r ôl Swpper, os bydd yr amſer ar y flwyddyn a'r tymor yn gwaſanaethu:

*Prydnawnfwyd y gelwid gan yr hên gymru.*

1. Rhodia i'r *cauau a myfyrria ar weithredoedd Duw: Canys ym mhob creadur y gelli di ddarllain megis mewn *llyfr* agored, ddoethineb, gallu, rhagluniaeth, a daioni yr holl-Alluog Dduw: Ac fel na ddichon neb wneuthur yr holl bethau hyn mewn amryw ddull o *rinwedd*, *glendid*, bywyd, cynnyrfaid, a'r cyfryw gynnedfau, oddieithr ein Duw ni yn vnig.

*Præſentem narrat quælibet herba Deum.

*Yn y maes mae pob llyſieuyn. Yn dangos fod nerth Duw gyferbyn.*

2. Yſtyria mor raſuſawl yw efe, yr hwn a wnaeth yr holl bethau hyn i'n gwaſanaethau ni.

3. Bydded hyn yn achos i'th annog, a'th cynhyrfu di ac eraill, i ryfeddu, ac i anrhydeddu ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni, ac i feddwl y fâth drueiniaid anniolchgar ydym ni, oddieithr i ni (mewn ell vfydd-dod ei waſanaethu a'i addoli ef.

4. Os bydd vn cymmydog yn glaf, neu mewn nebryw orthrymder, dôs i

ymweled ag ef: O bydd rhai gwedi ym-rafaelio, gwna di dy orau ar wneuthur vndeb rhyngddynt.

I ddiweddu, tri mâth ar weithredoedd a ellir eu gwneuthur yn gyfreithlawn ar y *dydd Sabboth.*

1. Gweithredoedd Duwioldeb, y rhai sydd, naill ai yn vnion yn perthynu at wasanaeth Duw, er eu bod i'w gwneuthur trwy lafur corphorol; megis tan *y gyfraith,* yr oedd yr offeiriadau yn cymmeryd poen i làdd ac i baratoi yr *aberthau,* ai llosci hwynt ar yr allor. Matt.12. 5. A Christianogion tan yr Efengyl pan ymdeithient i bell fannau i addoli Duw, eithr nid yw hyn ond *taith diwrnod Sabboth,* Act.1.12. megis y gwnaeth *y Sunamites,* yr hon'a drafaeliodd oddicartref i wrando *gwr Duw* ar y dydd Sabboth, 2.Bren.4. am nad oedd iddi ddim addysc iw gael yn agos at ei thrigfa. Ar Pregether er ei fod yn poeni ar chwys am y tâl, ac yn blino ei gorph, etto nid yw yn gwneuthur ond taith diwrnod Sabboth. Canys y *diwedd* sanctaidd sydd yn *sancteiddio y weithred, megis yr oedd y Deml yn sancteiddio yr aur, a'r allor yr offrwm* a roddid Mat.23. 17.19.

roddid arni. Neu y cyfryw lafur corphorol trwy 'r hwn yr ymgynnulla pobl Dduw ynghyd, i'w addoli ef: Megis canu yr vdcyrn tan y *Ddeddf*, neu ganu y *clych* tan yr *Efengyl*. Num. 10.

2. Gweithredoedd *cariad perffaith*, megis achub hoedl dŷn, neu anifail, porthi, rhoi dwfr, neu drin anifeiliaid: gwneuthur arlwy gweddaidd o fwyd neu ddiod, i faethu ein cyrph ein hunain, rhoi elusen i'r tlawd, a'r cyfryw bethau.

3. Gweithredoedd *anghenrhaid*, nid *escusol*, eithr y cyfryw sydd raid eu gwneuthur yn bresennol, ac ni ellid moi gwneuthur o'r blaen, neu eu hoedi hyd amser arall. Megis ymdrech yn erbyn y gelynnion, ferylll yn erbyn *cád o ryfelwyr*, neu yspail *lladron*, diffoddi *tán* trachinebus: Physygwyr i attal neu ollwng gwaed, i iachau vnrhyw *ddolur* heintus neu *farwol* arall, *Mydwragedd* i gynnorthwyo gwraig wrth escor: *Mordwywyr* allant fyned i'w heiynt: *Milwyr* a *gwiliwyr* o cynnygir gosod arnynt allant ymladd: cennadau a allant farchogaeth er mwyn daioni cyffredinol, a'r cyffelyb. Yn y cyfryw

fryw achos a hyn y geill dŷn weithio yn gyfreithlawn: Ie a phryd y gelwir hwynt, hwy a allant ar y fath achosion a hyn fyned allan o'r Eglwys, ac oddiar arferion fanctaidd Gair Duw a'i Sacramentau: eithr ymddarparant bob amser i fod yn ddarostyngedig, o ran i'r cyfryw achosion ddigwyddo ar y diwrnod hwnnw a'r amser; ac na chymmerant ddim arian am eu poen, oddieithr am eu *cyffyrian*, a hynny yn *neu ermi-*
ofn yr Arglwydd trwy wneuthur cy- *gion.*
dwybod o'i orchymmyn ef.

Pan fyddo amser gorphywys yn nesau, tyn o'r neilldu i ryw fangre gyfleus: a chan ystyried na ddichon vn dŷn byw mewn *cyflwr* llygredigol, fanctëiddio y Sabboth yn y modd ysprydol y dylai, eithr ei fod yn ei drofeddu ac yn ei dorri mewn amryw foddau, fef yn ei feddyl au, geiriau, a gweithredoedd; erfyn yn oftyngedig faddeuant am dy wendid a'th ddiffygion, a gwna dy vndeb dy hûn â Duw, fel hyn, neu a'r cyfryw aberth brydnawnol.

## *Prydnawnol weddi neilltuol ar ddydd yr Arglwydd.*



Esa. 6. 3. Gen. 18 27. O *Sanct, Sanct, Sanct*, Arglwydd Dduw 'r *Sabboth*. Cynnwys i mi ernad wyf ond *llwch* a *lludw* lefaru wrth dy Fawrhydi tra-gogoneddus. Mi a wn dy fod ti yn dân yssol, yr wyf yn cydnabod nad
Heb. 12. 18. wyf fi ond fel *soft o flaen gwynt*, y mae
Iob. 21. 18. fy mhechodau o'th *flaen di, ac y mae Satan yn sefyll ar fy llaw ddehau i'm cyhuddo i am danynt.* Nid wyf yn dyfod i'm hescusodi, eithr i'm barnu fy hûn yn euog o'r holl farnedigaethau, yr hyn a allai dy *gyfiawnder* di yn drachyfiawn roddi yn gosp arnaf fi bechadur truan, am fy mhechodau am hanwireddau. Eu *rhif* hwynt sydd mor aneirif, eu *naturiaeth* sydd mor orthymmedig, fel y maent yn peri i mi ymddangos yn wael yn fyngolwg fy hûn, pa faint mwy ffiaidd yn dy olwg di? Yr wyf yn cyffessu eu bod hwy yn fyngwneuthur i cyn belled oddiwrth fod yn deilwng i'm galw yn Fab i ti;

megis

megis yr ydwyf ollawl yn anheilwng i gael enw o fod yn wasanaethydd dihiraf itti. A pha ddialt ti i mi yr hwn wyf heddedigaeth, fe ddylai y ddaiar (megis yn blino yn dwyn y fath fath pechadurus) agori ei safn am llyngcu iddi megis vn o dylwyth *Dathan*, i waelodion vffern. Canys gan na ddarfu i ti arbed y canghennau naturiol, sef yr Angelion gogoneddus eu godidawgrwydd, eithr eu hergydio hwynt allan o'th trigfa nefol, i boenau y *tywyllwch vffernol*, i'w cystuddio yn dragywydd, pryd na phechasent ond *vnwaith* yn erbyn dy *Fawrhydi*, ac a acthwladaist ein *hanafiaid cyntaf* allan o baradwys am droseddu vn o'th gyfreithiau; och fi, pa ddial a ddylwn i ei ddisgwyl, yr hwn ni throseddais mewn vn pechod yn vnig, eithr pentyrru pechod ar bechod, heb ddim gwir edifeirwch, ond yfed anwiredd fel dwfr, bob amser yn bwrw i mewn, heb fwrw dim budreddi allan vn amser: A chwedi troseddu nid mewn *vn*, eithr yn dy *holl* gyfreithiau a'th orchymynnion sanctaidd? Ie y dydd presennol, yr hwn a orchymynnaist i mi yn ddyfal

ei gadw yn sanctaidd i'th *foli* a'th *addoli*, ni ddarfu i mi moi gadw, a'i gynnal mor grefyddol, na pharatoi fy enaid yn y fath sancteiddrwydd a ddweirdeb ac oedd *ddyledus* i wasanaethu dy Fawrhydi bendigedig yngghynnulleidfa dy Scinctiau sanctaidd. Ni ddarfu i mi mor ddyfal wrando, a dal sulw ar bregethiad dy air, ac ar gyfrannu dy *Sacramentau*, a'r cyfryw ostyngeiddrwydd, ac anrhydedd crefyddol, fel y dylaswn. Canys er bod fynghorph yn bresennol wrth wneuthur yr arferion sanctaidd hynny, etto o Arglwydd fe ddarfu ei lawer o syrthni fyngoddiwes: ac er fy mod yn effro, yr oedd fy meddwl yn gwibio yma a thraw, yn llawn o wagedd a syrnfeddyliau bydol, fel yr oedd fy enaid megis yn absennol ac heb fod yn yr *Eglwys*. Ni ddarfu i mi (fel y dylaswn) fyfyrio wrthif fy hunan, na sôn, na chrybwyll wrth fy nheulu, am yr addysc dda a glyswn, ac a dderbyniaswn ni allan o'th Air sanctaidd, gan dy weinidog ffyddlawn. O herwydd hynny, fe darfu ei Satan ledratta y rhan fwyaf o'r athrawiaethau hynny allan o'm
calon,

calon, a minnau greadur truan a'i gollyngais tros gôf, megis pe buaswn erioed heb eu clywed. Ac nid yw fy nhylwyth yn myned rhagddynt mewn gwybodaeth, a sancteiddrwydd fel y dylent. Ac er i mi wybod lle mae llawer o'm brodyr tlodion yn byw mewn eisiau, a rhai mewn ing, a chledi, yn ddi-gynnorthwy: etto ni chofiais i fynnied ar y naill am helusenau, ac a'r y llei'll am cyssurau: eithr ymwleddais fy hun a phorthi fy nhrachwantau. Mi dreuliais y rhan fwyaf o'r diwrnod, mewn siarad ofer, chwaryddiaeth ddiles, ac arferion coeglyd. Ie Arglwydd fe ddarfu. &c. Ac am yr holl bechodau hyn, y mae fynghydwybod yn llefain fy mod yn euog; dy gyfraith yn fyngondemnio; ac yr wyt yn sefyll tan dy law i dderbyn y farn, a'r felldith ddyledus am dorri yn ewyllyscar y fath orchymmyn sanctaidd. Eithr beth er fy mod gwedi fy euog farnu wrth dy gyfraith? Etto Arglwydd y mae dy Efengyl i'm sicrhau fod dy *drugaredd uwchlaw dy holl weithredoedd:* a bod dy *râs* yn myned tu hwnt i'r gyfraith, a bod dy ddaioni yn hoffi aros i *lywodraethu,* lle

*[illegible] awthum [illegible] ac a [illegible] dywedyd.*

yr oedd pechodau *yn amlhau.* Gan
hynny yn amlder dy drugareddau, ac yn
Rhu. 5. 20. haeddedigaethau *Iesu Grist*, fy Iacha-
wdwr, yr wyf yn attolwg i ti O Ar-
glwydd (yr hwn nid wyt yn diystyru
calon orthrymedig, nac yn deisyfu *ma-*
Eze. 33. 11. *rwolaeth pechadur edifeiriol*) faddau, a
gollwng tros gôf, fy holl bechodau am
beiau y dydd hwn, a phob dydd o'm
bywyd; a rhyddhau fy enaid oddiwrth
y farn a'r felldith sydd ddyledus i mi
am danynt. Ty di yr hwn a gyfiawn-
henaist y *Publican*, am chwe gair o
Luc. 18. 13. gyffes, ac a dderbynniaist y *Mab afra-*
*dlon*, (wedi darfod iddo ddifa ei holl
gynhysgaeth o'th râd ti) i'th saffr
drachefn, ar ei edifeirwch: maddeu fy
mhechodau i minnau yn agwedd, O
Arglwydd, ac na chynnwys i mi fod
yn golledig am fy anwireddau. Oh ar-
bed fi, a derbyn fi i'th drugaredd dra-
chefn. A wrthodi di fi o Arglwydd yr
Mat. 21. 31. 32. hwn wyt yn derbyn yr holl *Bublica-*
*nod*, *Puteinaid*, a *phechaduriaid*, ar a edi-
farhao ac a erfynnio nawdd ar dy law
di? A'i fi yn vnig a geuir ac a drosclw-
yddir allan oddiwrth dy drugaredd?
Bydded ym mhell oddiwrthif fi dybi-
ed

ed hynny, Canys yr vn Duw 'r drugaredd ydwyt i mi ac a fuost iddynt hwythau, *a'th trugareddau byth ni phallant.* Am hynny na thâl i mi yn ol fy haeddiant, eithr yn ôl dy dramawr drugaredd di. Na ddangos mo'th cyfiawnder tôst yn fy erbyn i bechadur: eithr ymarfer a'th hir ymaros i gydddwyn â myfi *greadur truan* o'th eiddaw di. Nid oes gennif ddim i'w anrhegi i ti, yn iawn trosof, ond yn vnig yr *archollion gwaedlyd*, y chwerw angau, ar *dioddefaint*, yr hyn a ddarfu i'th Fab bendigedig, fy Iachawdwr vnig ei oddef trosof. Efe (*yn yr hwn yn vnig i'th fodlonir*) yr wyf yn ei aberthu i ti tros fy holl bechodau, yn y rhai i'th anfodlonir. Efe fynghyfryngwr, erfynniad gwaed yr hwn (*yr hwn sy yn dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel*), ni ddichon dy drugaredd byth moi nacau. Golcua fy neallt wriaeth, a sancteiddia fynghalon, a'th Yspryd glân, fel y dêl i'm cof yr holl athrawiaeth, a'r pethau daionus a ddyscwyd i mi allan o'th air sanctaidd, megis y gallwyf gofio dy *orchymynnion* i'w cadw, dy farnedigaethau i'w gochelyd, a'th

Galar. 3. 22.

Heb. 12. 24.

addewidion hyfryd i roi fy hyder am goglyd arnynt, yn amser trallod a thrueni. Ac yr awrhon O Arglwydd yr wyf yn fy ymroi fy hûn i'th ewyllys tra-bendigedig, oh derbyn fi i'th serch a'th ffafr, a dena fi felly *trwy dy râd* attad dy hun, megis y gallwyf fod yn eiddo ti, yn gystal trwy serch a chyffelyb ymarweddiad, a thrwy alwedigaeth a chreadigaeth. A dôd i mi râd felly i gadw yn sanctaidd dy Sabbothau yn y bywyd hwn, fel y gallwyf (pan ddiweddo y bywyd hwn) gadw yn anrhydeddus y *Sabboth tragwyddol o foliant* a gorfoledd, ym mhlith dy Seinctiau a'th Angelion, i *glodfori* dy enw bendigedig, yn dy deyrnas nefol yn dragywydd. *Amen.*

Ac yno gan alw dy deulu ynghyd; gorphen y *Sabboth* a'r *myfyriadau*, ac a'r *gweddiau* a adroddwyd o'r blaen tros y teulu. Ac fe rydd yr Arglwydd y nos honno i ti *hûn felysach* ac *esmwythach* nac amser arall, ac a lwydda yn well i ti dy holl orchwylion a'th amcanion yn yr wythnos yn ôl hynny.

Hyd

*Hyd yn hyn am gyffredinol ymarfer o Dduwioldeb, yn gystal yn neilltuol ac yn gyhoeddus.*

---

*Yma y canlyn yr ymarfer anghyffredin, ac anaml o Dduwioldeb trwy 'r hyn y gogoneddir Duw yn ein bywyd.*

YR *arfer* anghyffredin ar Dduwioldeb, sydd yn sefyll, naill a'i yn *ymprydio*, a'i yn rhoi * *prydiau*. * *Neu wleddau.*

1. Am arfer o Dduwioldeb yn *ymprydio*.

Y mae amryw fâth ar ymprydio: yn gyntaf *ymprydio o anfodd*, naill a'i pryd na byddo gan ddynion ddim iw fwyta, megis y *newyn* yn *Samaria*: 2.Bren.6 24. neu er bod *llyniaeth* ganddynt, heb allael ei fwyta gan *glefyd* neu *gystudd*, Act.27. 33. megis y digwyddodd i'r rhai oedd gyd â S[t] Paul yn y llong. Newyn yn hytrach nac ympryd yw hynny.

2. Yn ail, ympryd naturiol, yr hwn yr ydym ni yn ei gadw o physygwriaeth, neu iechyd i'n cyrph.

3. Yn drydydd, ympryd * dinasol, yr hwn y mae y swyddog yn ei osod o ran llywodraethu ei oror a'i wlad; megis i arfer pyscod yn gystal a chig, fel y gallo fod mwy llawnder o'r ddau.

4. Yn bedwerydd, ympryd rhyfeddol, megis y deugain nhiwrnod ympryd *Moeses* ac *Elias*, sef yr *arwyddion*, a *Christ* y sylwedd. Hwn sydd yn hytrach iw ryfeddu nac i'w wneuthur drachefn.

5. Yn bumed, ympryd beunyddiol, pan fyddo dŷn yn ofalus i arfer o ymborthi ar greaduriad Duw yn gymmedrol, megis na byddo hynny yn ei wneuthur yn drymmach, eithr yn fwy hyfforddus i wasanaethu Duw, ac i wneuthur y pethau a berthyn iw alwedigaeth. Hwn yn enwedig a ddylai Weinidogion y gair a Barnwyr ei gadw yn ddyfal.

6. Yn chweched, ympryd duwiol neu grefyddol, yr hwn y mae dŷn yn ei gadw yn ewyllyscar, i wneuthur ei gorph a'i enaid yn gymhesurach ac yn fwy awchus i weddio at Dduw, o ran rhyw achos hynod. Ac am yr ympryd hwn yn unig i'r adroddwn.

Ym-

Ympryd *Duwiol* ſydd o ddau fâth, naill a'i neilltuol, a'i cyffredinol.

### 1. *Am ympryd neilltuol.*

MEgis y gallom ni yn vnion gyflawni ympryd neilltuol, y mae i ni bedwar peth iw yſtyried; yn gyntaf, yr *Awdur*; yn ail, yr *amſer* a'r *achos*; yn drydydd, y modd: yn bedwerydd, y diben, ſef i ba ddefnydd y mae ympryd neillduol.

### 1. *Am yr Awdur.*

Y cyntaf a ordeiniodd ac a drefnodd ympryd, oedd Dduw ei hûn yn mharadwys: a'r gyfraith gyntaf ar a wnaeth Duw ydoedd hi, ſef gorchymmyn i Adda ymgadw oddiwrth y ffrwyth gwaharddedig. Ni *adroddai*, ac ni ſcrifennai Dduw ei gyfraith heb ymprydio, ac yn ei gyfraith y mae ef yn gorchymmyn iw holl bobl ymprydio: felly y mae ein Iachawdwr Criſt tan y Teſtament newydd yn athrawiaethu ei holl ddiſcyblion yntau yn ag wedd. ympyrdio yn dduwiol ydyw 'r *modd* neſſaf a bair ei ddŷn ymddangos yn debyg i Angelion, a gwneuthur ewyllys

llys Duw ar ddaiar, megis y gwneir yn y nefoedd. Ie y mae *natur* megis yn dyscu i ddŷn y ddlêd hon, gan roddi iddo *safn bychan a gwddf cyfyngach*: o ran fe fodlonir natur ag ychydig, a grâs â llai. Ac nid yw natur a gras yn cyttuno yn well mewn vn weithred nac yn ymarfer o ympryd duwiol: canys ei mae yn cryfhau y côf, yn goleuo y meddwl, yn llewyrchu y dealltwriaeth, yn ffrwyno trachwantau, yn marwhau y cnawd, yn ymddiffyn diweirdeb, yn achub vn rhag clefyd, yn cynnal yr iechyd, yn gwaredu rhag drygau, ac yn peri pob mâth ar fendithion.

*Quam diu ieiunauit* Adam *in Paradiso fuit, comedit, & eiectus est.* Hierom.

Tra 'r ymprydiodd yr hên *Adda*
Ymheradwys 'r oedd ei drigfa
Ond pan aeth i fwyta i'r berllan
Tros y drws y bwriwyd allan.

Torri 'r ympryd hwn a wnaeth i'r Sarph gael y llaw 'n vchaf ar *Adda* gyntaf, hyd oni chollodd ef ei le ym *mheradwys*:

*radwys*: eithr wrth gadw ympryd y darfu i'r Ail Adda orchfygu 'r Sarph a'n * hadferu ni i'r nefoedd. Ympryd, oedd yn *cuddio Noah* yn ddiogel yn yr Arch, pryd y darfuasai ei *anghymmedroldeb a gormodedd* ei *anghuddio*, a'i ado o'i noeth lŷmyn yn y *winllan*. Trwy ympryd y darfu ei *Lot* ddiffoddi y fflam yn Sodom, yr hon y darfuasai ei *feddwdod* ei berwi â thân *ymloscach*. Ympryd crefyddol ac ymddiddan â Duw, a wnaeth ei wyneb *Moeses* ddifcleirio o flaen dynion, pryd yr oedd bwyta ac yfed yn ddelw-addolaidd, yn peri i'r israeliaid ymddangos yn ffiaidd yngolwg Duw. Dyma 'r peth a gippiodd Elias yn ei *gerbyd Angelaidd i'r nefoedd*, pryd yr oedd Ahab drachwantus wedi ei drosi mewn *cerbyd gwaedlyd i vffern*. Dyma 'r peth a barodd ei Herod gredu y byddai *Ioan fedyddiwr* fyw yn ôl marwolaeth trwy *adcyfodiad* bendigedig; pryd, (yn ôl iddo fyw mewn bywioliaeth anhymmoraidd) na allai ef addo iddo ei hûn ddim, ond dinistr ac angau tragywyddol. *O Dduwiol ordeinhâd dduwiol Awdur?*

* *Yn rhei 'n ôl.*

2. Am

2. *Am yr amser.*

Nid yw 'r Scrythur sanctaidd yn pennodi *vn amser* i ymprydio tan y Testament newydd; eithr gadael hynny i Gristianogion yn ei dewis ei hunein, *Rhuf.* 14. 3. 1. *Cor.* 7. 5. I ymprydio pan fyddo 'r achos, *Math.* 9. 15. Megis pan ddelo dyn yn ymbiliwr taer a gostyngedig at Dduw, am gael maddeuant am ryw bechod gorthrwm; neu o ran ymgadw oddiwrth ryw bechod, i'r hwn y mae dŷn yn gwybod fod Satan yn ei ddenu: neu er mwyn cael meddiannu rhyw *fendith hynodol*, yr hon sydd ddiffygiol iddo: neu i droi heibio ryw *farn*, yr hon y mae dŷn yn o'i ofni, neu sydd wedi digwyddo yn barod iddo ef neu eraill: neu yn ddiweddaf i ostwng ei gorph at yr yspryd, megis y gallo ef vn fwy cyssurus osod allan ei enaid ger bron Duw mewn gweddi. Ar yr achosion hyn y gill dŷn ymprydio diwrnod neu hwy, megis y byddo 'r achos yn gofyn, a chadernid ei gorph, ac angenrheidiau eraill yn rhoi cennad.

3. *Am y modd i arfer ympryd neillduol.*

Yr

Yr vnion fodd i gyflawni ympryd neillduol, fydd yn fefyll mewn gweithredoedd *oddiallan*, a gweithredoedd *oddifewn.*

Y gweithredoedd oddiallan ydynt, dirweft, neu ymgadw tros yr amfer yr ymprydiom: yn gyntaf, oddiwrth bob *trafferth a gorchwyl* bydol, gan wneuthur y dydd ympryd, megis yn ddydd Sabboth, *Leuit.* 23. 28. Canys y mae mafnach fydol yn dwyn ymmaith ein meddyliau oddiwrth *fuchedd fanctaidd.* Luc. 23. 28. 56. Ioel. 1. 14. 15.

Yn ail; oddiwrth bob mâth ar ymborth, ie oddiwrth fara a dwfr, cyn belled ac y byddo iechyd yn cynnwys: 1. Fel y byddom felly yn cydnabod yn anheilyngdod ein hunain, megis na haeddem na 'n bywyd na 'r moddion o'i gynhaliaeth. 2. Megis trwy gyftuddio y corph y gallo 'r enaid, (yr hwn fydd yn dilyn ei ymarweddiad ef) fod yn fwy goftyngedig. 3. megis y byddom ni felly yn dial yn dduwiol arnom ein hunain, am gamarferu ein rhydd-did yn arfer o greaduriad Duw. 4. Megis wrth beri i'n cyrph newynu o eifiau daiarol bethau, y gallo ein eneidiau

neidiau ddyſcu newynu ac hiraethu am yſprydol a nefol borthiant. 5. I beri i ni feddwl, mai megis yr ydym ni yn ymgadw oddiwrth fwyd, yr hwn ſydd gyfreithlawn, y dylem ni yn hytrach ymgadw oddiwrth bechod, yr hwn ſydd yn ollawl yn anghyfreithlawn.

*Quid prodeſt vacare corpus ab eſcis, & animum replere peccatis. Aug. de Temp.*

Beth a dâl i'r corphyn ſwrth
Ymgadw oddiwrth ei lyniaeth,
A gado 'r enaid bach i fod
Yn llawn o bechod diffaeth.

Yn drydydd oddiwrth bob gwiſc drwyadl a dillad gwychion: Canys megis y mae camarfer o'r rhain yn ein chwyddo ni â balchder, felly bwrw heibio ei *harfer cyfreithlawn* ſydd yn tyſtiolaethu ein goſtyngeiddrwydd.
Exod.33. 5.2. Heſt.4.1, 2. Ac i'r deſnydd hwn yr arferent yn yr hên amſer (yn enwedig mewn ympryd-diau cyhoeddus) o wiſco *ſach-liain*, neu ryw wiſc ſalw-fras arall. Arfer a ddylid

ddylid ei harfaru yn oesdadol; yn enwedig mewn ympryd iau cyffredinol: o ran dyfod ar y pryd hwnnw i'r gynnulleidfa â cholerau gwedi ei dyfal *startsio*, a gwallt gwedi ei grychu â haiarn gosod, ac â gwisc brydferth, gwedi ei addurno â llyssiau ac â pher arogl, sydd yn arwyddoccau enaid nid yw na gostyngedig ger bron Duw, nac erioed yn adnabod yr vnion arfer o'r cyfryw orchwyl sanctaidd.

Yn bedwerydd, oddiwrth gyflawn fesur o gynefin gwsc. Fel y gellych di y *ffordd honno* hefyd *ostwng* dy gorph: ac megis y gallo dy enaid *wilio a gweddio*, i fod yn barod erbyn dyfodiad *Crist*. Ac o thorri di yn fynych ar dy gwsc, o ran *budd bydol* neu *ddifyrrwch*, pa faint mwy y dylit ti wneuthur hynny o ran gwasanaeth i Dduw? Ac o darfu ei *Ahab* (yn gwneuthur llûn o dduwioldeb) yn ei ympryd, orwedd mewn sachliain, i dorri ei gwsc gyd a'r nos: beth a dybiwn ni am y rhai a ymroant eu hunain i gyscu ar ddydd ympryd yn yr Eglwys? 2. Sam 12. 16. Ioel 1. 13 Hest. 4. 3.

Yn bumed ac yn olaf, *oddiwrth ddifyrrwch i'n synwyrau oddiallan*. Canys

nys megis nad y * gwddf yn vnig oedd yn pechu, felly nid y gwddf yn vnig sydd i'w gosbi: Ac am hynny y mae yn rhaid i ni ymegnio i beri i'n golygon (megis ar bob amser, felly) yn enwedig ar y dydd hwnnw, ymprydio rhag canfod oferedd; a'n clustiau rhag clywed music neu gerddwriaeth, oddieithr y cyfryw a wnelo i ni alaru: ein ffroenau rhag pêr arogl, ein tafodau, rhag celwydd, gweniaith, neu enllib, ie rhoi heibio arfer y *gwely priodas*, er crefyddol anrhydedd i'r *Mawredd* galluoccaf: megis na byddo felly dim yn rhwystro ein gwir ostyngeiddrwydd, eithr bod o'r cwbl yn argoelion ein bod yn ddifrifol ostyngedig. A hyn am y modd *oddiallan*.

*Si sola gula peccauit sola ieiunet & sufficit. Si vero peccauerunt & caetera membra, cur non ieiunēt & ipsa? Bern. Os y gwddf ei hûn sy'n pechu: ymprydied ef mai'n ddigon hynny, ond os pecha'r holl aelodau, pan na chyd ymprydiant hwythau?*

2 Y modd ar ynprydio oddifewn sydd yn sefyll mewn dau beth.

1. *Edifeirwch.* 2. *Gweddi.*

*Edifeirwch* sydd a dwy ran iddi.

1. *Gresyndod* am bechodau a aethant heibio.

2. *Gwellhâd buchedd* o'r amser hynny allan.

Y *Gresyndod* hwn, sydd yn sefyll mewn tri pheth. Yn gyntaf, yn cymmeryd

meryd golwg ar dy bechod oddifewn, ac yn ymwrando a'th trueni. Yn ail, yn ymofidio, am dy gyflwr gwael. Yn drydydd, yn gwneuthur goftyngedig neillduol gyffes o'th holl bechodau adnabyddus.

1. *Am gymmeryd golwg a'r bechod oddifewn, ac ymwrandaw a thrueni.*

Yr *ymwrandawiad ar golygiad hwn* a weithredir ynot: Yn gyntaf, wrth yftyried dy bechodau, ynenwedig, dy bechodau mawrion, a chyfenni y pryd ar amfer, y fan a'r lle, y dull a'r modd, a chyd á phwy, neu yn erbyn pwy y troffeddwyd. Yn ail, Mawrhydi DVW yn erbyn yr hwn eu gwnaethpwyd hwy; ac yn hytrach am i ti wneuthur y pethau hyn yn ei erbyn ef, ac yntau wedi rhyngu bodd iddo fod yn Dâd i ti, a channiadhau i ti gynifer o fendithion diddanaidd, a rhadau daionus. Yn drydydd, wrth yftyried y melldithion a fygythiodd Duw am dy bechod: ac mor greulon y dialodd Duw ar rai eraill, am yr vnrhyw fai, ac fel nad oes vnrhyw foddion yn y nef, na'r ddaiar i'th achub di rhag bod yn golledig dragwyddol, oni buafai ei

Fab

Fab Duw mor garedig farw drofot. Yn olaf, meddwl os ydyw Duw yn dy garu, fod yn rhaid iddo ef dy geryddu cyn bo hir â rhyw gyftuddiau *dwyfion*, oddieithr i ti *achub* y blaen arno yn bryfur â difrifol edifeirwch. Gâd i'r rhai hyn a'r cyfryw yftyriaeth, bigo dy galon â gofid, megis gan doddi ynot o wir refyndod, y gallo hi ymollwng a *meirioli* i fod yn ffynnon o ddagrau heilldion, i ffrydio i lawr rhyd dy ru-
Matt.9.15. ddiau alarus. Y *galar* hwn ydyw de-
Pfal.6.22 chreuad gwir ympryd; ac am hynny
38.39. yn fynych wedi ei roi ar lawr am *ym-*
Ioel 2.12 *pryd*, fef y rhan gyntaf neu 'r brif ran
17. am yr holl weithred.

2. *Am resynu dy gyflwr dy hun.*

*Gresynu neu alaru, ydyw ocheneidio allan ruddfan y galon, trwy waith y llefer ydd oddiallan, â dagrau y llygaid.* A'r cyfryw ddifrifol ymbil a thaerni ei
Ier.32.18,19,20 blant mewn gweddi, y bodlonir ein Tâd nefol. Na, pryd y byddont yn ffrwythau ei Yfpryd ef, ac yn effeithiau o'n ffydd ni, ni ellir moi anfodloni ef yndynt. Canys o chlybu ef gwynfan *Ifmael* a *Hagar* yr hyn a barafai ing a gorthrymder iddynt ei adrodd; ac os

clyw

clyw ef lais *y cigfrein ieuaingc*, a rhuad y llewod; pa faint hyttrach y gwrendy ef y galarnad tosturus, yr hyn y mae ei blant ei hûn yn ei wneuthur atto ef, yn eu gorthrwmder?

3. *Am yr ostyngedig gyffes o bechodau.*

Yn y weithred hon y mae'n rhaid i ti chwarau yn vnion ac yn ddi-hoccedion â Duw, a chyfaddef yr holl bechodau a *wyddost* ti, nid vn vnig yn *gyffredinol*, eithr yn *neillduol* hefyd, sef pob vn erfydd ei ben. Hyn oedd arfer holl blant Duw yn eu hymprydiau: yn gyntaf, o herwydd heb gyffesu nid oes iti vn addewid o drugaredd, neu faddeuant am dy bechodau. Yn ail, megis y byddych di felly yn cydnabod fod Duw yn gyfiawn, a thithau dy hûn yn anghyfiawn. Yn drydydd, megis wrth rifo dy bechodau, y gellych di dynnu dy galon i lawr yn fwy gostyngedig. Yn bedwerydd, fel yr ymddanghoso dy fod di yn *wir edifeiriol*: Canys nes ei Dudw roddi i ti rád i wellhau, fe fydd arnat fwy o *gywilydd* yn cyfaddef dy fai nac yn gwneuthur y pechod. Pa deccaf ac vnionaf y chwa- 1.Sam.7. Eze.9. Dan.6. Nehe.1.

reuych

areuych di â Duw yn hyn o beth, teccaf
1. Ioa.1. a thrugaroccaf y chwery Duw a thithau:
7. 9. canys *os cyfadaefi dy bechodau, ffyddlon yw Duw, a chyfiawn fel y maddeuo i ti dy bechodau: a gwaed Iesu Grist ei Fab ef a'th lanhâ di oddiwrth bob pechod.*

I'th cynnorthwyo di 'n well i gyflawni y tri mâth hyn ar edifeirwch, ti a elli ddarllen yn ddyfal gyfryw *fannau a rhannau* o'r Scrythur sanctaidd a fyddo yn crybwyll pechodau cyffelyb i'th rhai neillduol dithau: Megis y gellych di weled melldith Duw ai farnedigaethau ar rai eraill, am yr vnrhyw bechodau, ac wrth hynny dy wneuthur dy hûn yn fwy gostyngedig.

*Hyn yma am y rhan gyntaf o edifeirwch, yr hwn yw gresyndod am y pechodau a aethant heibio.*

Y rhan arall, yr hwn yw *Gwellhâd buchedd*, sydd yn sefyll: yn gyntaf, mewn *gweddi grefyddol:* yn ail, mewn *gweithredoedd bucheddol.*

Y weddi grefyddol, yr hon yr ydym ni yn ei wneuthur yn amser *ympryd*, ydyw, naill a'i* i wrthwynebu y drwg, neu *i ymbil am bethau daionus angenrheidiol.*

* melldithiad

*Gwrthwynebiad y drwg*, yw, Pan fyddych

fyddych di yn erfyn ar DDVW, er mwyn *Iesu Grist* dy gyfryngwr, am faddeu i ti di holl bechodau y rhai a ddarfu i ti eu cyfaddef, ac am droi heibio oddiwrthit y barnedigaethau hynny sydd ddyledus i ti am danynt. Ac fel *Benhadad* pan glybu ef *fod brenin Israel yn drugarog* a ymostyngodd (1. Bren. 20. 31. 32.) ei hûn iddo ef, wedi ei *ymwregysu â sachliain, ac â rhaff am ei ben:* felly gan dy fod ti yn gwybod fod *Brenin Nêf yn drugarog*, tafl dydi dy hûn i lawr o flaen ef, mewn amryw argoelion ac arwyddion o ostyngeiddrwydd (yn enwedig gan ei fod ef yn *galw arnat yn nydd dy drallod:*) (Psa. 50. 15.) a diammau y cai di efyn dra-thrugarog.

Y*mbil am bethau daionus angenrheidiol yw* yn gyntaf, deisyfu yn ffyddlawn ac yn wresog gan Dduw sicrhau yn dy galon di, trwy ei Yspryd sanctaidd, faddeuant am dy holl bechodau. Yn ail i adnewyddu dy galon trwy 'r Yspryd glân, fel y byddo pechod beunydd yn *diflannu*, a chyfiawnder fwyfwy yn *cynnyddu* ynot. Yn olaf, gan ddymuno cyfran *o ffydd, ammynedd, a diweirdeb*, a'r holl ddoniau eraill sydd

arnat

arnat eu heisiau: a rhâd, a chynnydd ar yr holl ddoniau a ddarfu ei Dduw o'i drugaredd eu canniadhau i ti yn barod.

*A hyn am weddi mewn ympryd.*

Y *gweithredoedd crefyddol mewn ympryd ydynt ddwy.* Yn gyntaf, *gochel drwg.* Yn ail, *gwneuthur da.*

1. *Am ochelyd drwg.*

Y Dirwest, neu yr ymgadw oddiwrth ddrwg, ydyw yr hyn a arwyddoccir yn bennaf wrth *y dirwest oddiwrth fwyd. &c.* Ac ydyw y prif ddiben er mwyn yr hyn i'r ymprydir, megis y gwyddai y *Niniseiaid* yn dda. Dydd o ympryd, ac heb ymprydio oddiwrth bechod y mae 'r Arglwydd yn ei ffieiddio. Nid cylla gwag eithr calon bur, sydd mewn cymmeriad ger bron Duw: Os mynni di gan hynny ei Dduw droi oddiwrthit *ddrwg cystudd*; rhaid i ti yn gyntaf droi oddiwrthit dy hun *ddrwg camwedd.* Ac heb yr ymprydio hwn oddiwrth ddrwg, y mae dy ympryd yn arogli yn * ddiffeithiach o flaen *Duw* nac yw dy anadl o flaen *dŷn.* Hynny a wnaeth ei Dduw cyn fynyched wrthod

Iona 3. 7,8.

* *Neu fwy drewllyd.*

thod ympryd yr Iddewon. Ac megis y mae yn rhaid i ti ymegnio i ochel pob rhyw bechod, felly yn enwedig y *pechod hwnnw.* a'r hwn y darfu i ti ennyn digofaint Duw, naill a'i i ysgwyd ei *wialen* arnat, neu i osod ei law i'th ceryddu di eusys. A gwna hyn trwy ymroad (gyd â chynnorthwy rhâd Duw) na wnelych di byth mor pechodau hynny drachefn. Canys pa les i ddyn ymostwng ei gorph trwy *ddirwest*, os bydd ei feddwl ef yn chwyddo gan falchder? neu i beidio a *gwîn* ac â *diod* gref, ac i *feddwi* gan lid a digofaint? neu i luddies i ddim *cig* fyned i'r bol, pryd y byddo *celwyddau*, *enllib*, a *threbestod* ( yr hyn sydd waeth na bwyd yn y byd) yn dyfod allan o'th enau? ymgadw oddiwrth fwyd a gwneuthur *mawrddrwg* ydyw ympryd y *cythraul*, yr hwn sydd yn gwneuthur drwg, ac yn newynog bob amser.

## 2. *Am wneuthur gweithredoedd da.*

Y gweithredoedd da, y rhai fel yr wyd yn Gristion sydd raid i ti eu gwneuthur bob dydd, eithr yn enwedig ar dy * *ddydd ympryd*, ydynt naill, a'i

V *gwedi-*

* *Vis orationem tuam volare ad cœlū? Fac illi duas alas, Ieiunium & Eleemosynam.* Aug. *A fynd di i'th weddi bedeg draw, i'r nef unckt law ffastafen? Dod di ddwy adain iddi ynghyd, dy ympryd a'th elusen.*

*gweithredoedd o dduwioldeb* tu ag at Dduw, neu weithredoedd *cariad perffaith* tu ag at dy gyd-frodyr.

Yn gyntaf, gweithredoedd o dduwioldeb tu ag at Dduw, ydynt yr ymarfer o'r holl ddyledion rhagddywededig, ym mhurdeb cydwybod dda, ac yngolwg Duw.

Yn ail, y gweithredoedd o *gariad perffaith tu ac at ein brodyr*, ydynt, *maddeu camwau*, a *dyledion* i'r rhai tlodion ni allo dalu: yn enwedig rhoddi elusenni i'r tlodion a fyddont mewn prinder ac eisiau: onidê wrth wneuthur *iiw o dduwioldeb*, ni fyddwn yn arferu *cybydd-dra*; megis y rhai a wascant ar eu boliau eu hunain, i dwyllo eu gweision, a'i llafurwyr, am eu llyniaeth dyledus. Megis y darfu (gan hynny ei Grist gysylltu *ympryd*, gweddi, ac elusen, ynghyd yn yr vn gorchymmyn; felly y rhaid ei tithau eu *plethu* hwynt ynghyd, megis yr *ymarferodd Cornelius*: Ac am hynny bydd siccr o roddi i'r tlawd ar dy *ddydd ympryd* or hyn lleiaf *gymmaint* ac a dreuliasit ti yn dy ymborth dy hun pe buasit heb ymprydio y dwthwn hwnnw. A

Act. 10. 30, 31.

chosia

chosia mai'r *hwn sydd yn hau yn helaeth*, a fêd *yn helaeth*, ac mai prif ddiwrnod i hau yw hwn. Bydded dy ymbryd felly yn dy gystuddio di, megis y byddo yn llonni Cristion tlawd arall: a gorfoledda ddarfod i ti giniawa a swpperu *mewn un arall*; neu yn hytrach ddarfod i ti borthi Crist newynog yn ei aelodau tlodion. 2.Cor.6. 9.

Wrth roddi Elusenau, meddwl am ddau beth, yn gyntaf, *Rheoledigaethau*: yn ail, *taledigaethau*.

1. *Rheoledigaethau wrth roddi elusenau a gwneuthur gweithredoedd da.*

1. Rhaid yw eu gwneuthur *yn ufydd-dod Gorchymmyn Duw*: Nid o herwydd ein bod ni yn tybied eu bod yn dda, eithr o herwydd fod Duw yn gofyn y fâth weithredoedd da ar ein dwylaw: a'r cyfryw ufydd-dod (1.Sam. 15.22.) gan y gweithredydd, y mae Duw yn ei gymmeryd o flaen pob ebyrth, a'r gweithredoedd godidoccaf.

2. Rhaid iddynt fod yn deilliaw ac yn tyfu oddiwrth *ffydd*, onidê ni ryngant fodd Duw: nagê, heb ffydd nid yw y gweithredoedd gwerthfawroc-

caf ond *pechodau disclaer* ac *elusenau Phariſaaidd.*

3. Ni waſanaetha i ti dybied y gelli di haeddu y nefoedd o herwydd dy weithredoedd da a'th eluſenau; Canys fe ddarfuaſai ei Fab Duw dywalld ei waed yn ofer, pe galleſid prynu y nefoedd am fwyd neu arian. Y mae 'n rhaid i ti gan hynny geiſio meddiant ar y nefoedd, trwy werth *gwaed Criſt*, ac nid trwy haeddedigaeth dy weithredoedd dy hun. *Canys dawn Duw yw bywyd tragwyddol trwy Ieſu Griſt ein Harglwydd:* etto y mae 'n rhaid i bob gwir Griſtion, ſydd yn credu ei fod ei hun yn gadwedig, ac yn gobeithio myned i'r nefoedd, wneuthur gweithredoedd da (megis y dywaid yr Apoſtol) o ran arferion anghenrhaid, er mwyn pedair achos:

Rhu. 6. ar olaf.

Yn gyntaf, fel y gogonedder *Duw.* Yn ail, fel y byddych *yn ymddangos yn ddiolchgar am dy Brynedigaeth.* Yn drydydd, fel *y gwnelych dy etholedigaeth yn ddiogel:* Yn bedwerydd, fel y byddych yn ennill eraill wrth weled dy feddwl da i dybied yn well o'th grefydd Griſtianogawl, Ac er mwyn yr

arferion hyn y *gelwir ni yn waith Duw, wedi ein creu yn-Grist Iesu i weithredoedd da y rhai a rag-ddarparodd Duw, fel y rhodiem ni ynddynt.* Ephe. 2. 10.

4. Ni wasanaetha i ti roi mo'th elusen i *fedlemmod crysion*, neu *westenwyr digywilydd*, y rhai ydynt yn byw mewn oferedd a diffeithwch yn cwyllyscar, eithr i'r tlodion crefyddol onest, y rhai a fyddont naill a'i yn glaf, a'i 'n hên heb allael mor gweithio: neu i'r cyfryw rai a weithio, a'i gwaith heb allael moi cadw: cais afael ar yr rhain y * *tu cefn i'r hwylfeydd*, a dôd, gymmorth iddynt. Eithr o chyfarfyddi di ag vn a tynno gardod er mwyn Iesu, a thi heb wybod ei fod yn anheilwng, na naghâ mo hono ef: canys gwell i ti roddi i ddêg o Dwyllwyr na chynnwys ei Grist fyned yn ddi ymwared, yn *vn o Seinctiau tlodion.* Nac edrych i ba ddŷn, eithr dôd ti dy elusen megis pe bait yn ei rhoi i Grist ei hunain.

2. *Am daledigaeth Elusenau, a gweithredoedd da.*

1. Elusenau ydyw 'r moddion rhagorol i beri i Dduw yn ei drugaredd

 droi

droi ei farnedigaethau amserol oddiwrthym: pan fyddom ni trwy wir ffydd (yr hon a'i dengys ei hûn wrth y cyfryw ffrwythau) yn dychwelyd atto ef.

Luc. 6. 35 39. 2. Cor. 1, 3. Luc. 16. 1. 2. Trugarog *roddwyr echwyn ac Elusenau a fyddant blant i'r goruchaf*; ac yn debyg i *Dduw eu Tâd, yr hwn yw Tâd y Trugareddau.* Hwy a gânt fod yn *oruwchwilwyr* i gyfrannu ei *dda*; a'i *ddwylaw* i roddi ei *Elusenau*: Ac os ydyw gymmaint goruwchafiaeth fod yn oruwchwiliwr i'r Brenin; pa faint mwy ydyw bod yn oruwchwiliwr, neu yn rhannwr Elusenau tros Frenin y Brenhinoedd?

Luc. 16. 22. 3. Pan fyddo 'r holl fyd yn ein gadael ni, yno yn vnig gweithredoedd da, ac Angelion da a'n canlynant, y naill, i dderbyn eu gwobr, a'r lleill, i gyflawni *y gorchymmyn a roddwyd arnynt.*

Psa. 91. 11 Heb. 1. 14 4. Haelioni mewn Elusenau, ydyw *y sail gadarnaf er mwyn meddiannu bywyd tragywyddol*, gwobr tra-helaeth, trwy drugaredd a haeddedigaethau Crist.

Yn ddiweddaf, wrth roi Elusenau yr ydym ni yn rhoi ymwared, ac yn porthi

*Crist* yn ei *aelodau*; ac yn y dydd olaf fe gydnebydd Crist a'n cariad ni tu ag atto, ac a'n gwobrwya o'i drugaredd. Ac yno yr ymddengys yn eglur, am yr hyn a roddom ni i'r tlawd, nad ydym ni yn ei golli, eithr yn ei roi yn *echwyn i'r Arglwydd*. Pa resymmau gwell i gynhyrfu Cristion, i agoryd ei galon i fod yn hael i roddi Elusenau? D:ha.19 17.

Hyd yn hyn am y *modd* i ymprydio. Yma y *canlyn y diben ar defnydd o ymprydio.*

3. *Am y diben neu 'r defnydd o ympryd.*

Y gwir *ddiben* neu 'r *defnydd* er mwyn yr hyn i'r ymprydir, nid yw i *haeddu* cariad Duw, neu fywyd tragwyddol, canys hynny a gawn ni yn vnig o Ddawn Duw, trwy Grist: nac i osod crefydd mewn *dirwest corphorol*, (canys nid yw ympryd honaw ei hun yn anrhydedd i Dduw, eithr yn gymmorth i'n hyfforddi ni i anrhydeddu Duw.) Yr vnion ddefnyddiau o ympryd gan hynny ydynt dri:

Yn gyntaf, i ddarostwng y cnawd at yr yspryd: eithr nid i wanhychu ein cyrph, fel yr elom yn anghymmesur i

wneuthur dyledus orchwylion ein galwedigaeth. Y *cyfiawn* medd *Salomon a fydd ofalus am fywyd ei anifail, Diha.* 12. 10. mwy o lawer am ei gorph ei hûn.

Yn ail, fel y gallom ni yn fwy desfosionol synnied bendigedig ewyllys Duw, a bwrw allan ocheneidiau ysprydol mewn gweddi wresog ger ei fron ef: canys fel y mae rhyw fâth ar Gythreuliaid, felly hefyd y mae rhyw fâth ar bechodau, ni ellir moi gorescyn, ond *trwy ympryd a gweddi* gysylldedig. *Mat.* 17. 21.

Yn drydydd, megis trwy ein *goslyngeiddrwydd difrifol* a thrwy ein *barnu ein hunain*, y gallom ochelyd *barn yr Arglwydd:* nid o ran haeddedigaeth ein hympryd (yr hyn nid yw ddim) eithr o ran trugaredd Dduw, yr hwn a addawodd symmud ei Farnedigaethau oddiwrthym, pan fyddom ni trwy ympryd yn ddiffuant yn ein ymostwng ein hunain ger ei fron ef. Ac mewn gwirionedd ni arferodd vn plentyn ei Dduw, y gorchwyl sanctaidd hwn yn *gydwybodus*, nas cai ef yn y diwedd *gwplhau ei ddymuniad* gan Dduw: yn

gystal

gystal yn derbyn y rhadau a fyddent ddiffygiol iddo, megis y mae 'n eglur, yn esamplau *Hannah, Iehosaphat, Nehemiah, Dafydd, Esdras, Hester*: Ac yn troi ymmaith y Barnedigaethau bygythiol, neu ddigwyddedig arno ef, megis y gellir gweled yn esamplau yr *Israeliaid, Ninifeiaid, Rohoboam, Ahab, Ezechias, Manasses.* Efe yr hwn a roddes ei anwyl Fab o'r nef i farwolaeth, yn bridwerth trosom, pryd yr oeddem ni yn elynion iddo; ni thybia fod dim ar y ddaiar yn rhy anwyl i'w ganniadhau i ni, pan fyddom gwedi ein ymddarostwng ein hunain a'n cymmodi ag efo, megis yn blant ac yn gyfeillion iddo.

1.Sam.1. 2.Chr.20 Nehe.1. Dan.6. Esd.8.23. Hest.9.

A hyn am yr ympryd neillduol

2. *Am yr ympryd cyhoeddus.*

YMpryd cyhoeddus ydyw, pan fyddo trwy Awdurdod Swyddog, naill a'i'r holl Eglwys tan ei lywodraeth ef, neu ryw gynnulleidfa hynod (i'r hon ei perthyn) yn eu hymgynnull eu hunain ynghyd, i gyflawni y rhagddywededig

wededig ddyledion *o Ostyngeiddrwydd*; naill a'i er mwyn cael eu gwared oddiwrth ryw *gystudd* cyffredin a fyddo yn nesâu, megis y *cleddyf*, *dinistr*, *newyn*, *haint*, neu ryw fath arall ar glefyd ofnadwy: neu er mwyn cael derbyn rhyw *fendith* gyffredinol, o ran *daioni* i'r *Eglwys*; megis i ymbil am *gynnorthwy* ei *Yspryd glân* ef, wrth *Etholedigaeth* neu *drefnedigaeth Bugeiliaid* cymhesur arnom &c. Neu o ran chwilio am y *Gwirionedd allan*, a chael *Cyfiawnder* mewn achosion amheus anhawdd eu deongli, ac anghenrhaid eu gwybod &c.

Pan fyddo rhyw ddrygioni iw symmud, y *Bigeiliaid* a ddylai gyhoeddi i'r bobl, trwy dystiolaeth Gair Duw pa bechodau oedd achos y gorthrymder hwnnw; a galw arnynt i edifarhau, a dangos yn eglur iddynt drugareddau Duw Yng-Hrist os edifarhânt. Y mae 'n rhaid i'r bobl wrando llaferydd Cenadau yr Arglwydd trwy dristwch difrifol am eu pechodau; ac erfyn nawdd yn ewyllyscar Yng-Hrist, ac addo yn ddi-dwyllodrus wellhâd eu bucheddau. Pan

fyddo

fyddo rhyw *fendith* i'w herfyn, y mae yn anghenrhaid i'r *Bigeiliaid* ddangos ar goedd i'r bobl, reittied wrth y fendith honno, a *Daioni* Duw yr hwn sydd yn rhoddi y cyfryw râdau er daioni dynion. Y mae 'n rhaid i'r bobl weddio yn ddyfal-astud at Ddvw, am ganniadhau y cyfryw râd iddynt, ac am fenditho ei *foddion* ei hûn i'w ogoniant ei hunan, ac i ddaioni ei *Eglwys*. A phan ddarfyddo y Gorchwyl sanctaidd, cymmered pob Cristion yn ôl ei allu brif ofal am *gofio'r tlawd*. A phwy bynnag (pan fyddo 'r achos yn erchi) nid arfero y gorchwyl sanctaidd hwn o *ymprydio*, efe a ddichon ammeu yn gyfiawn na chlybu ef erioed nerth Cristianogaeth yn ei galon.

Hynny am *ymprydiau*. yma y canlyn y gorchwyl sanctaidd o roi *Prydian*.

## *Am yr Arfer sanctaidd o Dduwioldeb yn Gwledda neu roi Prydiau.*

GWledd sanctaidd yw diolchgarwch arferedig (gosodedig trwy

Awdur-

Awdurdod) iw chyssegru i Dduw ar ryw ddydd arbennig, yn ôl derbyn rhyw fendithion, neu ymwaredau odiaethol: y cyfryw oedd wledd yr oen *Pasc* yn mhlith yr *Iuddewon*, i ddwyn ar gôf foliannu DVW am eu gwared hwy o gaethiwed yr *Aipht*, neu wledd *Purim*, i dalu diolch am eu gwared hwy o *fradwriaeth Haman*. Y cyfryw yn ein plith ni ydyw y pumed o *Awst*, i glodfori Duw am waredu ein diweddar Frenin *Iames* oddiwrth fradwriaeth Gowri. Ar pumed o *Dachwedd* am waredu y Brenin a'r holl deyrnas oddiwrth ffiedd-frâd greulon-dwyll y Powdr Papaidd. Y cyfryw wleddoedd a ddylent gael eu cyssegru, i egluro yn gyhoeddus yr hynydol ddoniau hynny, mewn *Psalmau ysprydol* a dawnsiau; gan wahodd y naill y llall, a danfon anrhegion pob vn i'w gymmydog: ac yn enwedig danfon cardodau i'r tlodion.

Exod.12.15.
Hest.9.19.

Eithr yn gymmaint ac mai dawn ein Prynedigaeth oedd y peth angenrheidiaf i ddŷn ei gael ar law Dduw; neu ar a ganniodhâodd Duw i ddŷn: a gadael o'n Hiechawdwr ei *Swpper* sanctaidd,

ctaidd, yn brif goffadwriaeth o'n pry-nedigaeth: fe ddylai pob Cristion *gy-frif* y *Swpper sanctaidd* hwn yn *wledd bennaf* ac yn *hyfrydaf* yn y byd yma. Ac megis y mae yn gweithredu yn y *cyfrannogion teilwng* y diogelwch mwyaf sydd iddynt o'u hiechydwria-eth: felly y mae yn tynnu barnedigaeth amserol ar y cyrph, (ac oni bydd edifе-irwch) *cospedigaeth tragwyddol* ar e-neidiau y rhai a'i cymmerant yn *anhei-lwng*: Gadewch i ni weled pa fodd y mae ei Gristion ei daclu a'i gyweirio ei hun, i fod yn gyfrannog o'r cyfryw w-ledd sanctaidd; ac yn wahoddwr ha-eddedigol i'r fath *Swpper* bendigedig.

### *Myfyrdodau yn dangos yr union fodd o ymarfer Duwioldeb wrth dder-byn Cymmun yr Arglwydd.*

ER na ddichon vn dŷn byw o hono ei hûn fod yn wahoddwr teilwng i'r cyfryw * *Arlwy* sanctaidd; etto fe ryngodd bodd i Dduw o'i râs, ei gym-meryd ef am dderbynniwr teilwng, sef yr hwn a ymegnio i dderbyn y Dir-geledi-

* *Neu wledd.* 2.Th.1.11. Col.1.22 Luc.10.35.

geledigaeth sanctaidd hwnnw, a'r cyfryw fesur dymunol ar anrhydedd, ac a adroddodd ef yn ei Air.

Yr hwn a fynnô dderbyn y Sacrament sanctaidd hon trwy barch anrhydeddus, rhaid iddo yn gydwybodus gwplhâu tri mâth ar ddyledion; Yn gyntaf, *y pethau sydd raid iddo eu gwneuthur cyn Cymmuno:* Yn ail, *y pethau sydd i'w gwneuthur wrth Gymmuno:* Yn drydydd, *y pethau sydd i'w gwneuthur gwedi Cymmuno.* Y cyntaf a elwir *Paratôad*, yr ail *Myfyrdod*, y trydydd *Gweithrediad*, neu *ymarfer.*

## 1. *Am Baratôad.*

BOd yn angenrhaid i Gristion ei baratoi ei hûn, cyn iddo ryfygu bod yn gyfrannog o'r Cymmun sanctaidd, a ymddengys yn eglur o herwydd pum achos.

Yn gyntaf, o herwydd ei fod yn orchymmyn DUW: Canys os gorchymynnodd ef tan boen marwolaeth, na chai yr vn di-enwaededig fwyta o'r oen *Pasc*; nac yr vn enwaededig, nes iddynt fod bedwar Diwrnod yn *ymbaratoi:* Exod. 12.

*ratoi:* pa faint mwy parodrwydd y mae ef yn ei ddisgwyl gan yr hwn sydd yn dyfod i dderbyn y Sacrament o'i *gorph* a'i *waed?* Yr hwn megis y mae yn dyfod yn lle'r llall, felly mewn llawer gradd y mae yn rhagori ar Sacrament yr *oen Pasc.*

Yn ail, o herwydd bod esampl Crist, yn dyscu i ni hynny: Canys efe a *olchodd draed* ei ddiscyblion, cyn iddo gynnwys iddynt fwyta o'i *Swpper* ef. Gan arwyddocau y dylit ti roi heibio holl amhuredd calon, ac aflendid buchedd, i'th addurno dy hûn â *Gostyngeiddrwydd*, ac â *chariad perffaith*, cyn i'r ti ryfygu dyfod i archwaethau o'i Swpper sanctaidd. Ioa.13.5

Yn drydydd, am ei fod yn gyngor yr Yspryd Glân: *Eithr holed dŷn ef ei hun, ac felly bwytaed o'r bara, ac yfed o'r cwppan &c.* Ac os rhaid ei ddŷn *Pan eisteddo i fwyta gyd â Thywysog daiarol ystyrio yn ddyfal pa beth sydd o'i flaen, a bôd yn well iddo osod cyllell ar ei gêg na bod yn hyll neu yn rhy flysig:* Pa faint mwy y dylit ti baratoi dy enaid, fel y gellych dy ymddwyn dy hûn mewn holl ofn ac anrhydedd, pan 1.Cor.11 28. Diha.23. 1.

syddych

fyddych i gael gwledd sanctaidd ar Fwrdd Tywysog y tywysogion?

Yn bedwerydd, o herwydd ei fod yn ddefod erioed ym mhlith holl Seinctiau Duw, arfer o barodrwydd Sanctaidd cyn y trinient y *Dirgeledigaethau nefol.* Nid â'i *Ddafydd* yn agos at Allor Dduw, nes iddo ef yn gyntaf *olchi ei ddwylaw mewn diniweidrwydd:* Am hynny mwy rhyfeddol i ti heb ymbaratoi, ryfygu myned yn agos at Fwrdd yr Arglwydd. Ni roddai *Abimelech*, ac ni fwytai *Ddafydd* a'i wyr mor *bara gosod*, ond tan ammod fod eu llestri yn sanctaidd; pa faint llai y dylit ti ryfygu bwyta *bara yr Arglwydd*, neu yn hytrach y *bara yr hwn yw 'r Arglwydd.* heb ei lestr dy galon di yn gyntaf, gael ei lanhau gan edifeirwch? Ac os archodd Duw i *Iosua* (*fel y* parasai i *Moeses* o'r blaen) ddattod ei escidiau oddiam ei draed, o ran anrhydedd i'w sancteiddrwydd ef, yr hwn oedd bresennol yn y lle hwnnw, lle yr ymddangosodd ef â chleddyf yn ei law i ddinistrio ei elynion. Pa faint hytrach y dylit ti fwrw ymmaith dy holl serch i'th ymarweddiad

Psal. 26.5 · 1.Sam.21 4. · Iosh.5.15

ddiad bydol, pan fyddych yn dyfod i nesâu at y fan lle mai *Crist*, yn ymddangos i olwg dy ffydd, a'r * briwiau yn ei ddwylaw a'i ystlys, y rhai a ddug ef tros ei gyfellion? Ac er mwyn yr achos hon y dywedir *ddyfod priodas yr oen, a bod ei wraig ef wedi ei pharatoi ei hûn.* Paratoa gan hynny dydi dy hûn, os mynni yn y byd hwn dy roddi â Christ trwy *râs* Sacramentaidd; neu yn y nefoedd dy briodi ag ef, trwy ogoniant tragwyddol.

* *Neu'r gweliau.*

Dad.19.7.

Yn bumed, o blegid ei Dduw bob amser daro â Barnedigaethau ofnadwy, y rhai a *feiddient* arferu ei fanctaidd Drefnedigaethau ef, heb ofn a pharodrwydd gweddol. Efe a osododd Duw *gleddyf tanllyd* yn llaw *Cherubin* i daro ein *Henafiaid*, os amcanent hwy fyned i Baradwys i fwyta y Sacrament o *Bren y bywyd:* ofna dithau gan hynny gael dy daro a *chlêdd dialedd Duw* os rhyfygi di fyned i'r Eglwys, â chalon ddi edifeiriol i fwyta Sacrament Arglwydd y bywyd. Efe a darawodd Duw ddengmil a deugain o'r *Bethshemitiaid*, am iddynt hwy edrych yn amharchus yn ei Arch ef; ac a laddodd

1.Sam.6.

*Uzza*

*Uzza* â marwolaeth ddiſymmwth am iddo gyfwrdd vnwaith ar Arch; ac a darawodd *Vzziah* a gwahanglwyf, am fyned i drîn ſwydd yr offeiriad, yr hyn nid oedd yn perthynu iddo. Ofn y ſâth ddyrnod a wnaeth i *Ezechiah* yn ei weddi ddifrifol ddeiſyfu ar Dduw na tharawai efe mor bobl y rhai oedd arnynt eiſiau amſer i ymbaratôi, fel y *perthynai iddynt cyn bwyta yr oen Paſc*: ac yr ydis yn dywedyd i'r Arglwydd wrando ar *Ezechiah*, ac iachau 'r bobl, ac oni buaſai weddi *Ezechiah* fe daraw ſai 'r Arglwydd y bobl o ran bod eu parodrwydd angenrheidiol yn niffyg: ar dŷn a ddaeth i'r neithior *heb ei wiſc priodas* am dano, neu *heb ei holi ei hûn a gafas ei holi* gan arall, ac yno rhwymo ei ddwylaw *a'i draed, a'i dafln i'r tywyllwch eithaf*, *Mat.* 22.23. Ac y mae S^t *Paul* yn dywedyd i'r Corinthiaid, mai o herwydd eiſiau y parodrwydd hwn yn eu holi *a'i barnu eu hunain*, *cyn iddynt fwyta Swpper yr* 1.Cor.11 19. *Arglwydd*, y darfuaſai ei Dduw ddanfon y clefyd ofnadwy hwnnw yn eu plith, o'r hwn yr oedd llawer o honynt y pryd hynny yn glaf, eraill yn *weiniaid*,

*aid*, a llawer wedi myned i *hwno*; hyn-
ny yw, wedi ei Angau amſerol eu cyr-
haeddyd. Yn gymmaint a bod yr A-
poſtol yn dywedyd; fod *pob vn ſydd*
*yn bwyta ac yn yfed yn anheilwng*, *yn*
*bwyta ac yn yfed ei farnedigaeth* ei hûn:
*amſerol* os edifarhâ, *tragwyddol* os ef
nid edifarhâ; a hynny mewn modd *adnod.*
dwys, megis pe bai yn *euog o wir gorph* *29.*
*a gwaed yr Arglwydd*, o'r hyn y mae
y Sacrament hon yn ſêl ac yn *arwydd*
ſanctaidd. Felly y coſpa Tywyſogion y
cam a wneler a'i Sêl fawr hwynt,
yn yr vn ffunyd a pha gwneid iw
cyrph hwynt eu hunain, yr hyn y mae
eu Sêl hwy yn ei arwyddoccâu. Mor
drwm echryſlon yw bod yn euog o
*waed Criſt*, y mae 'n ymddangos yn
eglur wrth drueni cyſtuddiol yr Iu-
ddewon byth ar ôl iddynt ddymuned
ei waed ef i fod arnynt hwy ac ar eu
plant. Eithr yno di a ddywedi, mai
diogelaf yw yngadw a *pheidio* a dy-
fod vn amſer i fod yn gyfrannog o'r
Cymmun Sanctaidd. Nid felly; canys
y mae DVW yn addo tragwyddol
goſpedigaeth corph ac enaid, ar yr rhai
ou llawnfryd a wrthodant ei Sacra-
mentau.

mentau. A *gorchymmyn* Crist ydyw,
1.Cor.11 *Cymmerwch; bwytewch gwnewch hyn er*
24. *coffa am danaf:* ac efe a fyn i bawb
vfyddhau iw orchymmyn ef tan boen
cospedigaeth ei felldith. A chan we-
led mai y Sacrament hon oedd yr ar-
wydd mwyaf o gariad *Crist* ar a ada-
wodd ef yn ei ddydd *diwedd* iw gym-
deithion, y rhai a garodd ef hyd y *di-
wedd*, gan hynny *esceuluso* a *gwrthod* ei
Sacrament, sydd raid iddo fod yn ar-
goel o *wrthod* ac *esceuluso* ei *gariad*,
a'i waed-tywalltedig: ac ni ddichon
bod pechod gorthrymmach ger bron
Duw na hwnnw. Nid oes dim a eill
dy rwystro di i ddyfod yn rhwydd i
Fwrdd yr Arglwydd; ond o ran bod
yn well gennit *ymado* â chariad Duw,
Dad.19. nac *ymado* a'th pechodau budron. O
9. tyred, eithr tyred yn wahoddwr parod
i Fwrdd yr Arglwydd, gan weled eu
bod hwy yn fendigedig y rhai a elwir
*i Swpper neithior yr oen.* O tyred,
eithr tyred wedi dy ymbaratoi, canys
nerth y Sacrament hon a dderbynnir
yn ôl *cyfran* ffydd y Derbynniwr.

Y Parodrwydd hwn sydd yn se-
fyll, yn dyfal ystyried tri pheth:

yn

yn gyntaf *Teilyngdod y Sacrament*, yr hyn a elwir *ystyried corph yr Arglwydd*, yn ail, dy anheilyngdod dy hûn, yr hyn yw dy *farnu dy hunan*. Yn drydydd, y moddion, trwy 'r cyfryw y gelli ddyfod yn Dderbynniwr teilwng; sef *Cymmun o gorph yr Arglwydd*.

---

### 1. *Am deilyngdod y Sacrament*.

TEilyngdod y Sacrament hon a ystyrir mewn tair ffordd: yn gyntaf, ystur *Mawrhydi* yr *Awdur* a'i hordeiniodd. Yn ail, gwerthfawredd ei rhannau o'r rhai y defnyddiwyd. Yn drydydd, *Godidawgrwydd* y *Diben* er mwyn yr hyn ei trefnwyd.

### 1. *Am Awdur y Sacrament*.

Nid oedd yr Awdur na *Sanct* nac *Angel*, eithr yr Arglwydd IESV, tragwyddol Fab Duw, canys i Grist yn vnig tan y Testament newydd y perthyn ordeinio Sacrament; o herwydd efe yn vnig a ddichon *addo* a *chyflawni*, y gras y mae hi i'w *arwyddoccâu*. Ac yr

ydis

ydis yn gorchymmyn i ni na *wrandawom ar lafferydd neb ond ei lafferydd* ef yn ei Eglwys. Oh mor sanctciddiol y dylem ni gymmeryd yr ordeinhâd a ddaeth oddiwrth y cyfryw Awdur goruchel.

## 2. *Am y rhannau o'r Sacrament.*

Y Rhannau o'r Sacrament bendigedig ydynt tri: yn gyntaf, yr *arwyddion daiarol* yn *arwyddocau*: yn ail, y *gair dwywawl* yn *sanctciddio*: yn drydydd, y rhadau nefol a *arwyddocêir.*

Yn gyntaf, yr arwyddion daiarol ydynt fara a gwîn 1. *Cor.* 11. 23. *&c.* *Dihar.* 9. 5. dau mewn rhif, eithr yn mewn arfer.

Yn ail,* y *gair dwywawl* ydyw'r gair a osododd Crist, adroddedig gyd â gweddiau a bendithion gan *Eglwyswr cyfreithlawn*; ( *Heb.* 5. 4. *Num.* 16. 40. 1. *Cor.* 10. 16.) Y Bara ar gwin heb y gair nid yw ddim, ond megis yr oeddynt o'r blaen; eithr pan ddêl y Gair at yr * Elementau hynny, yno y gwneir yn Sacrament, ac y mae Duw yn bresennol gyda a'i Ordeinhâd, ac yn

* *Neu y defnyddiau.*

yn barod i gyflawni pa beth bynnac a addawo ef. Nid yw y geiriau dwywawl o fendith yn cyfnewid neu yn diddymmu sylwydd y *bara* ar gwîn: o blegid oni bai fod y sylwedd yn aros, nid allai hi fod yn Sacrament:) eithr y mae yn cyfnewyd ei arfer a'i enw. Canys, yr hwn nid ydoedd o'r blaen ond bara a Gwîn cyffredinol, i faethu cyrph dynion, sydd, yn ôl y fendith, wedi ei ddarparu i arfer sanctaidd, sef i borthi eneidiau Cristianogion. Ac lle yr oeddid or blaen yn eu galw yn *fara* a *gwîn*; fe gelwir hwynt yr awrhon wrth enw y pethau sanctaidd a *arwyddocânt*, sef *Corph a gwaed Crist*: yn hytrach i dynnu ein *meddyliau* oddiwrth yr Elementau hynny oddiallan, at y rhadau *nefol*, yr rhai trwy olygon ein *cyrph* y maent yn eu * hanthegu i ysprydol olygon ein *ffydd*. Ni ddarfu chwaith ei Grist adroddi y geiriau hyn, sef *Hwn yw fyngorph, Hwn yw fyngwaed*, wrth y bara a'r gwîn, eithr wrth ei ddiscyblion megis y mae yn eglur yn y geiriau aethant o'r blaen, *cymerwch*, *bwytewch chwi*. Nid yw y bara yn gorph iddo ef chwaith

* *Neu arwyddocau.*

ond

ond yn yr vn agwedd ac y mae y cwppan yn Destament newydd, sef trwy ddull a elwir * *trawsenwad.* Ac y mae *Marc* yn dangos yn eglur, na ddarfu i'n *Iachawdwr* adrodd y geiriau hyn, sef hwn yw fyng-horph nes darfod ir holl ddiscyblion yfed o'r cwppan: *Marc.* 14. 23. 24. Ac yn ol hynny o herwydd y sylwedd naturiol sydd ynddo, y mae ef yn ei alw *ffrwyth y winwydden* yr hwn o herwydd yr ysprydol arwyddoccâd oedd ynddo, a alwasai ef o'r blaen *ei waed*, adnod, 25. megis y gelwir pob Sacrament. Ac nid yw Crist yn erchi i ni ei *wneuthur ef*, ond *gwneuthur hyn* er coffa am dano; ac nid yw efe yn erchi i ni fwyta ei gorph yn symil, neu yn ollawl, eithr ei gorph megis ei torrwyd, a'i waed megis y tywalltwyd; yr hyn y mae St *Paul* yn ei ddeongli i fod yn *Gymmun o gorph* Crist ac yn *Gymmun ei waed ef*, hynny yw, gwystl ffrwythlon ein bod ni yn *gyfrannogion* o Grist, ac o holl *haeddedigaethau* ei gorph a'i waed. A thrwy fynych ymarfer a'r Cymmun hwn y myn St *Paul* i ni *ddangos marwolaeth yr Arglwydd nes ei*

* *Metonimia.*

1. Cor. 10 16.

*ei ddyfod* o'r nef, ac hyd oni *chymmerer nii fynn i'w gyfarfod ef yn yr awyr*, yr hwn yw bendigedig *gelain* ac enioes ein heneidiau ni.

Yn drydydd, y rhadau yfprydol y-dynt ddwy hefyd; *corph Crift* megis yr oedd yn dioddef *digofaint* Duw dy-ledus i ni, *yn groefhoeliedig:* A'i waed megis yr oedd (yn yr vn agwedd) wedi ei dywallt trofom er maddeuant o'n pechodau. Y maent hwy hefyd yn *ddau* mewn rhif, eithr *vn* mewn arfer, fef *Crift* gyfan, a'i holl ddonniau[8] wedi ei ymgynnyg i bawb oll, eithr gwedi ei roi mewn gwirionedd i'r ffyddlon-niaid. Y rhai hyn ydyw y tair rhan gyfan o'r Sacrament fendigedig hon, fef yr Arwydd, y Gair a'r Grâs. Yr Arwydd heb y Gair, neu 'r Gair heb yr arwydd, ni ddichon ddim: a'r ddau wedi eu cyfylltir ydynt anfuddiol heb y *Grâs a arwyddoi êir:* eithr y tri ynghyd a wnant Sacrament ffrwythol i'r Derbynniwr *teilwng*. Y mae rhai yn derbyn yr arwydd oddiallan heb y grâs yfprydol, megis *Iudas*, yr hwn (fel y dywaid S[t] *Awftin*) a dderbyn-niodd *bara* yr *Arglwydd*, eithr nid y

X *bara*

*bara* yr hwn *oedd yr Arglwydd.* Y mae rhai yn derbyn y grâs yſprydol heb y grâs oddiallan, megis y lleidr-Sanct ar y groes: ac aneirif o'r ffyddlonniaid, y cyfryw wrth farw a fyddo yn dymuned ei gael, eithr heb allael ei dderbyn o waith rhyw rwyſtrau a thramgwyddiadau bydol; eithr y mae y *derbyniwyr teilwng* i'w diddanwch, yn derbyn y ddau yn *Swpper yr Arglwydd.*

Fe ddewiſodd Criſt Fara a Gwîn (o flaen defnyddiau eraill) i fod yn arwyddion oddiallan yn y Sacrament fendigedig hon: yn gyntaf, o ran eu bod yn hawſaf i bob mâth i'w cael: yn ail, i ddyſcu i ni mai megis y mae einioes amſerol dŷn yn cael ei faethu yn bennaf trwy Fara, a'i gorph ei gyſſuro gan wîn, felly y mae ein heneidiau ni, gan ei gorph a'i waed ef yn cael eu bywhau a'u porthi i fywyd tragwyddol. Fe ddarparodd *Criſt* wîn gyd â bara i fod yn arwydd *oddiallan* yn y Sacrament hon, i ddyſcu i ni; yn gyntaf, mai megis y mae *bwyd* a *diod* yn borthiant perffeithlawn i gorph dŷn: felly y mae *Criſt* i'w enaid, nid mewn *rhan*, eithr mewn *perffeithrwydd*, yn gyſtal yn

icchy-

*iechydwriaeth* ac yn yn *borthiant.* Yn ail, wrth weled y Gwin Sacramentaidd o'r neilltu oddiwrth y bara, ni ddylem gofio y modd y tywalltwyd ei waed gwerthfawroccaf ef allan o'i gorph bendigedig, er cael o *honom ni faddeuant o'n pechodau.* Yr arwyddion *oddiallan* y mae'r Bugail yn eu rhoddi yn yr Eglwys, a thithau sydd yn bwyta â genau dy gorph: Y Grâs *ysprydol* y mae Crist yn ei esdyn o'r nefoedd, ac y mae'n rhaid i ti ei fwyta ef â *genau* dy *ffydd.*

3. *Am y Diben neu'r defnydd er mwyn yr hyn y trefnwyd y Sacrament hon.*

Y godidog a'r tra-rhyfeddol *Ddibennau* neu'r *ffrwythau* o herwydd yr hyn y trefnwyd y Sacrament fendigedig hon, ydynt saith.

*Am y diben cyntaf o Swpper yr Arglwydd.*

I ddwyn a'r gôf i Gristianogion yn oesdadol yr aberth * fywiol, yr hon a offrymmodd *Crist* vnwaith am y cwbl, trwy ei farwolaeth ar y groes,

* *Neu dioddefgar* [margin note: *N·n fadiongar*]

i'n cymmodi ni â Duw, *Gwnewch hyn* ( medd *Crist* ) *er coffa am danaf.* (Ac medd yr Apostol ) *cynnifer gwaith bynnac y bwytâoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwppan hwn, y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd hyd oni iddelo.* Ac y mae ef yn dywedyd, mai (trwy y Sacrament hon, a phregethiad y gair) y *darfuasai portreio Iesu Grist o flaen llygaid y Galatiaid,* megis pe croeshoeliasid yn eu plith : Canys y mae 'r gwbl *weithred* yn dangos marwolaeth Crist, *torriad y bara* bendigedig, *croeshoeliad* ei fendigedig gorph ; a bwrw allan y *Gwîn* sanctciddiedig, tywallt y ei fendigedig *waed.* Fe aberthodd Crist efe ei hûn vnwaith yn gorphorol : eithr cyn fynyched ac y cyflegrir y *Sacrament hon,* cyn fynyched a hynny i'r aberthir ef i'r ffyddloniaid yn *ysprydol.*

Gal 3. 1.

O ddyma y gelwir Swpper yr Arglwydd yn * *aberth* bywiol, nid yn *briodol,* neu yn *gorphorol,* eithr trwy *ddull ar ymadrodd,* sef o herwydd ei fod yn goffadwriaeth o'r aberth bywiol a offrymmodd *Crist* ar y Groes. Ac i ddangos rhagoriaeth rhyngddi a'r aberth gorphorol

* *Neu aberth i fodloni.*

phorol honno y mae y Tadau yn ei galw yn *aberth ddi-waedlyd.* Fe a'i gelwir hefyd *Eucharist*, o ran bod yr Eglwys yn y weithred hon yn offrwm i Dduw *aberth o foliant a diolch* am ei Gwaredigaeth; yr hyn a weithreded trwy 'r vnig Aberth lesol o Grist ar y Groes. Os darfu ei olwg Brenin *Moab* pryd yr oedd ef yn offrwm ei fab ar y mur, i gynhyrfu ei holl dduwiau i ddyfod i'w achub 2. *Bren.* 3. 27. beri ir Brenin oedd yn gosod arno, dosturio wrtho cym mhelled, fel y gadawodd ymmaith ryfela, ac a dychwelodd i'w wlad: Pa fodd y dylai y golwg ysprydol ar Dduw Dâd, yn aberthu ei vnig-anedig Fab ar y Groes, i waredu dy enaid ti, dy gynhyrfu i garu Duw dy Brynwr, ac i ado *pechod*, yr hwn ni wasanaethai *pridwerth* llai mewn cyfiawnder am dano?

*Am yr ail Ddiben o Swpper yr Arglwydd.*

2. I *gryfhau ein ffydd:* Canys y mae Duw wrth y Sacrament hon yn arwyddocau, ac yn selio i ni o'r nef, mai yn ol yr addewid ar cyfammod newydd a wnaeth efe a nyni Yng-Hrist, y der-

byn ef yn ddiogel i'w râd ai drugaredd yr holl ddynion credadwy edifeiriol, ar a dderbynnio ei Sacrament sanctaidd ef yn ddyledus: Ac *er mwyn marwolaeth a dioddefaint Crist*, ef a faddau iddynt eu holl bechodau, mor ddiammau ac y maent yn *gyfrannogion* o'r Sacrament hon. O herwydd hyn y gelwir y Sacrament sanctaidd *Sêl y cyfammod, a rhyddhâd o bechodau.* Yn ein amheuon mwyaf gan hynny, yn ôl derbyn y Sacrament hon ni allwn ddywedyd yn ddiau megis y dywedodd Mam Sampson: *Pe mynnasei'r*

Barn.13. 23. *Arglwydd ein lladd ni, ni dderbynniasei efe y poeth offrwm, ar bwyd offrwm o'n llaw ni, ac ni ddangosasei efe i ni'r holl bethau hyn: ac ni pharasei efe i ni y pryd hyn glywed y fath bethau.*

*Am y trydydd Diben o Swpper yr Arglwydd.*

3. I fod yn *wystl* ac yn *arwydd-ammod o'r Cymmun* ffrwythlawn cyfagos, yr hwn sydd rhwng Cristianogion â

1.Cor.10 16. *Christ. Phiol y fendith yr hon a fendigwn onid Cymmun gwaed Crist ydyw? y bara yr ydym yn ei dorri, onid cymmun corph Crist yw?* dyna 'r arwydd a'r

gwystl

gwysil ffrwythlawnaf o'n Cymmun ni â *Christ*. Am yr vndeb hon y dywedir: *Yr erys gyda â ni, ein cyssylltir ar Arglwydd, a'i fod yn trigo trwy ffydd yn ein calonnau:* A chwedi ei gosod allan yn yr Scrythur Sanctaidd mewn llawer o gyffelybiaethau. Yn gyntaf, trwy gyffelybiaeth *o'r winwydden* a'r *canghennau:* yn ail, o'r *pen a'r corph*, yn drydydd, o'r *sail ar adeilad*, yn bedwerydd o'r *dorth a wnaethid o amryw ronynnau o ŷd*, yn bumed, o'r *vndeb priodasawl* sydd rhwng gŵr a'i wraig, a'r cyfryw. Ac y mae tri-mâth ar vndeb rhwng Crist â Christianogion. Y gyntaf sydd anianol, rhwng ein *dynawl anian* ni, a *dwywawl anian* Crist ym mherson y *gair:* yr ail sydd *Ddirgeledig*, rhwng ein personau ni yn *absennol* oddiwrth yr Arglwydd, a pherson Crist Duw a Dŷn, yn vn *corph dirgeledig*. Y trydydd sydd *nefol*, rhwng ein personau ni yn *bresennol* gyd a'r Arglwydd, a pherson Crist mewn corph gogoneddus; y tri o gyssylltiadau hyn sydd ai goglyd y naill ar y llall. O ni buasai ein hanain ni yn gyntaf gael ei vno megis yn vn-sylweddol

Ioa.14. 16.
1.Cor.6. 17.
Ephe.3. 17.
Ephe.2.
*hypostatice.*

ag Anian Duw yn yr ail person; ni allasem ni fyth gael ein vno â Christ mewn corph dirgeledig. Ac oni byddwn ni yn y bywyd hwn (er bod yn absennol) gwedi ein vno at Grist trwy *vndeb Dirgeledig*, ni chawn ni fyth gymmun o ogoniant gyd ag ef yn ei *gyfannedd nefol*. Y Cymmun dirgelidig (a grybwyllir yma yn bennaf) a weithredir rhwng Crist â nyni, trwy Yspryd Crist yn ein hymgyffred ni: A thrwy ein ffydd ni (cynhyrfiedig trwy 'r vnrhyw Yspryd) yn ymaflyd yng-Hrist hefyd. Y ddaubeth hyn y mae

Phil. 3.12. St *Paul* yn ei osod ar lawr yn fywiol; *eithr dilyn yr wyf fel y gallwyf ymaflyd [yn y peth] hwn hefyd yr ymaflwyd ynof gan Grist Iesu*. Pa fodd y dichon ef gwympo yr hwn sydd yn ymaflyd ac a gynhelir mor nerthol? Yr vndeb hon a geiff ef ei deall yn orau yn ei *Feddwl*, yr hwn a'i *clywo* yn ei *Galon*. Eithr yn arnad amser, gorau y cawn ni deimlaw a chryfhau yr vndeb hon ynom, pan fyddom yn derbyn *Swpper yr Arglwydd* fel y dylem. Canys yno y cawn ni glywed ein calonnau yn bywiol ymglymmu â Christ, a deisyfiadau ein

eneidiau

eneidiau yn ymddylifo trwy *ffydd* a'r Yſpryd glân, megis trwy *raffau cariad* nes-nes at ei Sancteiddrwydd ef.

Oddiwrth y Cymmun hwn â Christ y mae yn digwyddo i'r ffyddloniaid lawer o ddoniau anrhaethadwy:

Megis yn gyntaf, fe gymmerodd *Criſt* ein holl bechodau ni arno ef i fodloni *cyfiawnder Duw* am danynt: ac y mae ef yn rhoddi i ni yn rhâd megis yn eiddom, ei holl gyfiawnder yn y bywyd hwn a'i etifeiddiaeth yn y bywyd tragywyddol pan ddarfyddo hwn: ac y mae ef yn cyfrif yr holl *dda* neu 'r *drwg* a wneler i ni, megis pe gwneuthid iddo ei *hunan*. Zec 2.8. Mat. 25. 35.

Yn ail, y mae oddiwrth *natur Criſt* yn llifeirio i'n *natur* ni, gwedi ein vno ag efo, *yſpryd bywiol ac anadl grâs*, yr hyn a'n hadnewydda i fywyd yſprydol: Ac a ſancteiddia ein meddyliau, ein hamcannion, a'n ſerch, megis y byddom beunydd yn cynnyddu at agwedd *Delw Griſt*. Ephe. 4. 23.

Yn drydydd, y mae ef yn canniadhau iddynt holl *radau* cadwedigol ar ſydd angenrhaid er mwyn cael mwynhau bywyd tragwyddol; megis *ffrwyth*

*o gariad Duw, diogelwch o'n Etholedigaeth*, ein *adgenedliad*, a'n *cyfiawnhâd*,
1.Cor.3.18. â grâs i wneuthur gweithredoedd da: Ioa 15.5. oni ddelom i wladychu gyd ag ef yn Ioa.1.16 ei deyrnas nefol. Hyn a ddylai ddyſcu holl wir Griſtianogion i'w cadw eu hunein megis aelodau dihalogedig o ſanctaidd gorph Criſt, ac i ochelyd pob aflendid a budreddi: gan wybod eu bod yn byw *Yng-Hriſt*, neu yn hytrach *fod Criſt yn byw ynddynt hwy*. Oddiwrth yr vndeb hon â Chriſt (ſeliedig i ni yn Swpper yr Arglwydd) y mae S^t *Paul* yn dwyn ar ddeall i'r Corinthiaid ymadel a'i heulyn-addoliaeth budr. 1. *Corin*. 10. 14. Ac a'i godineb, 1. *Corinth*. 10. 8.

Yn ddiweddaf, oddiwrth y Cymmun rhag-ddywededig rhwng Criſt â Chriſtianogion, y mae Cymmun arall yn lliſeirio rhwng Criſtianogion yn eu plith eu hunein. Yr hwn hefyd a ddanghoſir yn fywiol wrth gyfranniad Sacrament Swpper yr Arglwydd, ſef bod o'r holl Eglwys, er eu bod yn *llawer*, yn cymmuno oll o'r vn bara yn y weithred ſanctaidd honno. *O blegid nyni yn llawer ydym vn bara ac vn*

*corph*;

*corph; canys yr ydym ni oll yn gyfran-* 1.Cor.10 17.
*nogion or vn bara.* O blegid megis nad
yw 'r bara yr hwn a fwytawn ni yn y
Sacrament, ond vn, er ei wneuthur o
lawer o dwysennau; felly yr holl ffyddlo-
niaid, er eu bod yn llawer, etto nid ydynt
ond vn corph dirgeledig, tan yr vn pen
yr hwn yw Crist. Fe a weddiodd ein
Iachawdwr bum gwaith yn y weddi
yr hon a wnaeth yn ôl ei Swpper di-
weddaf, ar fod o'i ddiscyblion ef yn Ioa 17 2 11.21, 22 26.
*vn*: i ddyscu i ni ar vnwaith fel y mae
yr vndeb hon yn rhyngu bodd iddo
ef. Y mae 'r vndeb hon rhwng y ffydd-
loniaid mor ehang, nad oes na *chyphi-*
*niau na rhiniau* mangre yn y byd, i'w
therfynu; mor gadarn, na cill marwo-
laeth moi gwahanu hi; mor barhaus
na ddichon amser moi gwisco hi allan;
mor ffrwythlawn ac y maga gariad
twymn rhwng rhai ni welsant wyne-
bau eu gilydd erioed. A'r *cyssylldiad*
*hwn* ar eneidiau a gyfenwyr *Cymmuny*
*Sainct*, yr hyn y mae Crist yn ei weith-
redu trwy saith o foddion hynodol.
Yn gyntaf, wrth eu llywodraethu hwynt Eph.4.5.
oll ag vn *ysbryd*. Yn ail, trwy eu cyn-
nyscaeddu hwynt a'r vn *ffydd*. Yn
drydydd.

drydydd trwy dywalld ei *gariad* ei hûn iw holl galonnau hwynt. Yn bedwerydd, trwy eu hadgenedlu hwynt ag vn Bedydd. Yn bumed, trwy eu porthi hwynt a'r vn ymborth yspryddol. Yn chweched, trwy fod yn *ben*
Col.1.18 *corph i'r Eglwys*, yr hon a *goflwynodd ef*
22. *i Dduw yngborph ei gnawd ef*. O hyn
Act.4.32. y digwydd *fod y lliaws o'r rhai a gredasant* yn yr Eglwys or cynfyd, *o vn galon, ac vn enaid*, mewn *gwirionedd, serch a thrugaredd*. A hyn a ddylai ddyscu i Gristianogion garu y naill y llall gan weled eu bod oll yn aelodau o'r vn sanctaidd a'r dirgeledig gorph o'r hwn y mae Crist yn ben. Ac am hynny fe ddylai fod rhyngddynt oll *gysondeb* Cristianogawl, a chyd-ymddiddanwch i orfoleddu y naill yngorfoledd y llall, i resynu y naill tros y llall, i gyd-ddwyn y naill â gwendid y llall, ac yn gyfnewidiol y naill i borthi angen y llall.

### *Am y pedwerydd Diben o Swpper yr Arglwydd.*

4. *I borthi eneidiau y ffyddloniaid yn niogel obaith o fywyd tragywyddol.*

Canys

Canys y Sacrament hon ſydd yn wyſtl ac yn ammod i gynnifer ac a'i derbynnio yn ôl goſodiad Criſt: y portha ef (yn ôl ei addewid, trwy rinwedd ei gorph croeſhoeliedig ai waed tywalldedig) ein heneidiau i fywyd tragwyddol, cyn gypled ac y maethir ein cyrph gan Fara a Gwin i fywyd amſerol. Ac i'r diben hwn y mae Criſt yngweithred y Sacrament, yn rhoddi ei wir *gorph* a'i *waed* * yngwirionedd i bob *Derbynniwr ffyddlawn. Am hynny y gelwir y Sacrament *Cymmun corph a gwaed yr Arglwydd.* A *Chymmundeb ni ddichon fod o bethau abſennol, eithr o bethau preſennol*; ac ni byddai yn Swpper yr Arglwydd, oni bai fod *corph* a *gwaed* yr Arglwdyd yno. Y mae Criſt yn wir breſennol yn y Sacrament, trwy vndeb ddeublyg: y gyntaf ſydd *yſprydol* rhwng *Criſt* a'r Derbynniwr teilwng. Yr ail ſydd *Sacramentaidd* rhwng *corph* a *gwaed* Criſt, ai *arwyddion oddiallan* yn y Sacrament. Y gyntaf, a weithredir trwy waith yr Yſpryd glân yn cyfanneddu Yng-Hriſt ac yn y ffyddlonniaid, yn eu corpholaethu megis yn aelodau i

*Yn haufodol. *Cymmunwr. Calvin. ar 1. Cor. 11 25.

Griſt

Grist eu Pen, ac felly eu gwneuthur yn vn â Christ, ac yn gyfrannogion o'r holl *Radau*, *Sancteiddrwydd* a'r Gogoniant tragwyddol y rhai ydynt ynddo ef: mor ddiogel a siccr ac y maent yn *clywed geiriau yr addewid*, ac yn gyfranogion o'r arwyddion oddiallan yn y *Sacrament* fendigedig. Ir testyn hyn y mae ewyllys Crist, yn ewyllys gwir Gristion: a bywyd Cristion ydyw Crist, yr hwn sydd yn byw ynddo. *Gal.* 2. 20. Os edrychwch chwi ar y pethau a *vnir*, yr vndeb hon sydd *hanfodol*: os at wirionedd yr vndeb hon, y mae 'n *gorphorol*. Os ar y modd y gweithredir, y mae 'n ysprydol. Nid ein ffydd ni sydd yn peri i gorph a gwaed *Crist*, fod yn bresennol, eithr Yspryd *Crist* yr hwn sydd yn trigo ynddo ef a ninnau. Nid yw ein ffydd ni ond derbyn a gosod at ein eneidiau, y rhadau nefol hynny a gynnygir i ni yn y *Sacrament* hon.

*Non est phisicè vel localiter.*

Yr vndeb arall, sef *Sacramentaidd* nid yw beth *lleawl* neu *naturiol mewn cyfle*, eithr cysylldiad *ysprydol* rhwng yr arwyddion daiarol, y rhai ydynt Fara a Gwîn, a'r rhadau nefol, y rhai

ydynt

ydynt *Gorph* a *Gwaed* Criſt, wrth ei dderbyn : megis trwy *gyfatteb cyfnewidiol* na byddent ond yr *vn* ar *vnrhyw* beth. O hyn y digwydd, pryd y byddo 'r Derbynniwr teilwng yn bwyta a'i enau fara a gwin yr Arglwydd; ei fod ef hefyd ar yr vn amſer yn bwyta â genau ei ffydd wir *Gorph* a *Gwaed* Criſt: Nid o ran fod Criſt yn dyfod i lawr o'r nefoedd i'r Sacrament, eithr o ran bod yr Yſpryd glân, trwy y Sacrament, yn derchafu ei feddwl ef at Griſt, nid trwy *gyfnewidiad lleawl*, eithr trwy *ſerch defoſionol* : Megis yngolwg ei ffydd, y mae ef yn breſennol *y pryd hwnnw gyd â Christ, a Christ gyd a'g ef*. Ac fel hyn gan fyfyrio, a chredu croeſhoelio corph Criſt, a thywalld ei werthfawroccaf waed er maddeuant o'i bechodau ef, ac er mwyn cymmodi ei enaid ef â Duw : y mae ei enaid ef wrth hyn yn cael ei faethau yn *ffrwythlonach*, â *diogelwch* o fywyd tragywyddol, nac a eill y bara ar gwin borthi ei gorph i fywyd amſerol. Y mae 'n anghenrhaid fod yn y Sacrament gan hynny, yn gyſtal yr arwyddion oddiallan i'w canfod yn * *amlwg* â llygaid

llygaid y corph; a Chorph a Gwaed *Crist*, i'w canfod yn yspyydol â *golwg y ffydd.* Eithr y modd pa ddelwy mae 'r Yspryd glân yn gwneuthur i gorph Crist, (gan ei fod mewn lle absennol oddiwrthym) i fod yn *bresennol gyd â nyni trwy ein vndeb:* y mae S^t *Paul* yn ei alw yn ddirgelwch mawr, y cyfryw na ddichon ein dealltwriaeth moi ddirnad. Nid arwyddion *noethion* yn arwyddoccâu gan hynny ydyw y Bara a'r Gwin, eithr y cyfryw ac y mae *Crist* yn rhoddi, ac yn trefnu ag hwynthwy, i bob derbynniwr teilwng, nid yn vnig ei rinwedd a'i ner'th dwywawl, eithr hefyd ei wir *Gorph* a'i *waed*, cyn wiried ac y rhoddes ef i'w ddiscyblion ei Yspryd glân wrth arwydd ei *anadl bendigedig*; neu iechyd i'r clwyfus a gair o'i enau, *neu wrth gyffwrdd a'i law neu a'i wisc.* Ac y mae ffydd yn nertholach i *ymgyffred ei golygyn*, nac a ddichon mynyldra *synwyr* a *rheswm* ei *ddirnad.* I ddiweddu 'r pwngc hwn: y *Sacrament* sanctaidd ydyw 'r bara bendigedig hwnnw yr hwn wedi ei fwyta a agorodd lygaid y discyblion oeddynt yn myned i *Emmaus*

*maus*

*mans* fel yr adnabuont Grist. Dyma y cwppan Arderchawg *a'r hwn y dio-dwydni oll i vn Yspryd.* Dyma 'r Gra-ig honno sydd yn llifeirio o *fêl*, yr hon sydd yn bywhau enaid blinedig pob gwir *Ionathan* a'i harchwaetho â genau ffydd. Dyma y *dorth o fara haidd a ymdreiglodd odduchod i daro i lawr be-byll y Medianiaid,* o'r tywyllwch v-ffernol. Y *Deisen Angelaidd ar dwfr hyfryd* a borthodd *Elias* ddeugain ni-wrnod yn mynydd *Horeb.* y *Manna* ( llyniaeth Angelion ) a borthodd yr *Israeliaid* ddeugain niwrnod yn yr *a-nialwch:* eithr hwn yw 'r *gwir fara y bywyd a'r manna nefol,* yr hwn os bw-ytawn fel y dylem, a bortha ein enei-diau i *fywyd tragwyddol.* Pa fodd gan hynny y dylai ein heneidiau ni wneu-thur eu herfyniau eu chwant yspry-dol at Grist, megis y gwnaeth gŵyr Capernaum o'i trachwant cnawdol: *Arglwydd dyro i ni y bara hwn yn oesta-dol.*

Luc.24. 30,31. — 1.Cor.12 13. — Bara.7. 13. — 1.Bren. 19.6,7. — Ioa.6. ad olaf.

*Y pumed Diben o Swpper yr Arglwydd.*

5. *I fod yn wystl diogel i ni o'n* adcy-fodiad. Ar adcyfodiad sydd o ddau

fâth:

fath:yn gyntaf ysprydol adcyfodiad ein heneidiau yn y bywyd hwn *o farwolaeth* pechod, hyn a elwir yr adgyfodiad cyntaf: Oblegit oddiwrth *udcorn-lafarydd Crist*, ym mhregethiad yr Efengyl y côdir ni o *farwolaeth pechod* i *fywyd y grâs:* Bendigedig a sanctaidd yw ef (medd S^t *Ioan*) yr hwn
Dad.20.6. *sydd a rhan iddo yn y cyfodiad* cyntaf; *Canys nid oes gan yr ail farwolaeth awdurdod ar y cyfryw.* Y mae Swpper yr Arglwydd yn gystal yn ymwared moddol ac yn wystl i ni, o'r ysbrydol gyfodiad cyntaf yma: *yr hwn am bwyta i yntau sydd byw trwof fi.* Ag yno
Ioa.6.57 y byddwn ni *gwahoddwyr gweddol* i ci-
Ioa.12.2. stedd ar y bwrdd gyd â Christ, pan fôm ni (fel *Lazarus*) wedi ein cyfodi o farwolaeth pechod i newydddeb buchedd.

Eglurhâd y cyfodiad hwn a ymddengys yn y deisyfiadau cynnyrfiedig o'i mewn: canys pan fyddir yn *gofyn i ti* ddyledion crefydd, ac arferion duwioldeb, os dy galon a'th ettyb gyda *Samuel: Dyma fi llefara Arglwydd, canys y mae dy was yn clywed.* A
1.Sam.3.10. chyd â *Dafydd, o Dduw mae fynghalon*

yn

*yn barod.* A chyd â *Phaul, Arglwydd* Pſal.108
*beth a fynni di i mi wnenthur?* Yno yn 1.
ddiau fe a'th cyfodwyd ti o farwolaeth Act.9.6.
pechod, ac y mae *i ti ran yn y cyfodiad cyntaf:* eithr os wyt ti etto yn anhyſbys mewn gwir ſeiliau crefydd dda, ac wyt yn deall ynot dy hun ryw ſâth ar wrthwyneb cyfrinachol i arferion duwiol ffydd, ac yn rhaid dy dynnu megis yn erbyn dy feddwl, i wneuthur gweithredoedd duwioldeb, &c. yno yn ddiamau nid oes i ti ond enw o fod yn fyw, *eithr yr wyt yn farw* fel y dywedodd Criſt i *Angel Eglwys Sardis*, ac nid yw dy enaid ond megis *halen* i gadw y gorph rhag drewi.

Yn ail, *adcyfodiad corphorol* ein cyrph ni yn y dydd diwethaf, ſef yr *ail gyfodiad,* yr hon ſydd yn ein rhyddhau ni oddiwrth y farwolaeth gyntaf: *yr hwn a fwytâo fynghnawd, ac a yfo fyngwaed, a geiff fywyd tragwyddol, ac mi* Ioa.6.51
*a'i cyfoda ef yn y dydd diweddaf.* Canys y mae y Sacrament hon yn ſelio ac yn arwyddoccâu i ni, farw o Griſt a chôdi o hono ef drachefn troſom ni, a bod ei gnawd ef, yn ein

*maethu*

*maethu* a'n *bywhau* ni i fywyd tragwyddol, ac am hynny y caiff ein cyrph ni yn ddiogel eu cyfodi i fywyd tragwyddol yn y dydd olaf. Canys gan weled cyfodi ein *pen*, holl aelodau y corph a godant vn ffunyd yn ddiammau O blegit pa fodd y geill y cyrph hynny (gan eu bod yn *arfau cyfiawnder*, *Rhuf*. 6. 19. *temlau i'r Yspryd glân*, 1. *Cor*. 6. 19. ac aelodau o Grist) y rhai a gawsant eu maethu a'i porthi, a chorph a *gwaed Arglwydd y bywyd*: na chant eu cyfodi drachefn yn y dydd diwaethaf? Ac fel dyma 'r achos y byddis yn claddu cyrph y Sainct yn ol eu marw mor anrhydeddus, ai rhoi hwynt *i huno yn yr Arglwydd*. Au beddrod hwy a elwir gwelau a phreswylfa y Sainctiau. Y colledigion a godant yn y dydd diwethaf, eithr trwy alluog nerth Crist, fel y mae yn farnwr yn eu dwyn hwynt megis drwg weithredwyr allan o'r carchar, i dderbyn eu barn a'i gwobr haeddedigol: eithr yr Etholedigion a godant trwy rinwedd *Cyfodiad Crist*, a'r Cymun sydd iddynt ag ef, sef a'i *Pen* hwynt. A'i adcyfodiad ef ydyw 'r achos o hysbysrwydd i ni

Esay 26. 19, 20.

ni on *vn* ein hunain. Cyfodiad Crist, ydyw ffydd neillduol, Cristion: adcyfodiad y meirw ydyw prif obaith plentyn Duw. Am hynny y byddai y Cristnogion yn y brif-Eglwys, yn arfer o gyfarch eu gylydd yn y borau a'r ymadroddion hyn, fo *gyfododd yr Arglwydd*, ar llall a attebai, *gwir, fe gyfododd yr Arglwydd yn ddiau.*

## Y *chwechwed Dibeu o Swpper yr Arglwydd.*

6. *Iselio i ni ddiogelrhwydd o'r bywyd tragwyddol.* Oh pa beth sydd fwy dymunol neu gariadol na bywyd? a pha beth y mae yr holl ddynion yn naturiol iw ofni, neu iw gasâu, yn fwy na *marwolaeth?* etto nid yw y farwolaeth gyntaf yma ddim i sôn am dani wrth ei chyffelybu i'r ail farwolaeth, ac ni thal y bywyd yma ddim chwaith o herwydd ei gyffadlu ar bywyd sydd i ddyfod. Os dymuni di gan hynny, fod yn ddiogel or bywyd tragwyddol, ymbaratoa dy hun i fod yn dderbynniwr teilwng or *fendigedig* Sacrament yma. Canys y mae ein iachawdwr yn

ein ſiccrhau ni, *Os bwyta neb or bara hwn, efe a fydd byw yn dragywydd: ar bara yr hwn a roddaf fi yw, fyngnawd i, yr hwn a roddaf tros ſywyd y byd.* Yr hwn gan hynny ſydd yn bwyta y Sacrament ſanctaidd hon yn ddyledus a eill ddywedyd mewn gwirionedd di-ddadl: nid yn vnig *credo Vitam æternam* yr wyf yn credu yn y bywyd tragwyddol: ond hefyd, *Edo Vitam æternam* yr wyf yn bwyta y bywyd tragwyddol. Ac mewn gwirionedd dyma *bur bren y bywyd*, yr hwn a

Dád.2.7. blannodd Duw ynghanol *Paradwys yr Eglwys:* Ac o'r hwn, y mae ef yn addo rhoi i *bob gorchfygwr, iw fwyta.* Ar pren hwn or bywyd, mewn aneirif raddau ſydd yn rhagori ar bren y bywyd oedd yn tyfu ymheradwys *Eden*; Canys yr oedd hwnnw a'i wreiddin o'r ddaiar, hwn o'r nefoedd: hwnnw ni roddai ond bywyd i'r corph, *hwn* a rydd fywyd ir enaid, nid oedd hwnnw ond ymddiffyn, neu gynnal

* Neu ailroddi. bywyd y rhai byw, y mae hwn yn

Dad.22. * adferu bywyd i'r rhai meirwon. *Dail y pren hwn a iacha y Cenedloedd credadwy*, ac y mae *yn dwyn ffrwyth newydd*

*newydd bob mîs*, yr hwn ſydd yn eu porthi hwynt i fywyd tragwyddol. Oh Bendegedig ydynt hwy, y rhai ſydd yn bwyta yn fynych o'r Sacrament hon: o'r lleiaf ſydd *vnwaith bob mîs*, yn archwaethu o newydd, o'r ffrwyth adnewyddedig, yr hwn a baratôdd Criſt i ni ar ei Fwrdd e'i hun i iachau ein gwendid, ac i gryfhau ein crediniaeth i fywyd tragwyddol.

### Y *ſeithfed Diben o Swpper yr Arglwydd.*

7. I Rwymo holl Griſtianogion, megis trwy lwf o ffyddlondeb, i waſanaethu yr vn vnig Dduw, ag heb gynnwys yr vn *aberth bywiol* arall am bechodau, ond yr vn gorphorol aberth, yr hon trwy ei farwolaeth, a offrymmodd Criſt vnwaith, a thrwy yr hon y gorphennodd ef *Aberthau y* ddeddf, ac ei gweithredodd iechydwriaeth tragwyddol, a chyfiawnder i'r holl rai *credadwy*. Ac felly i fod fyth yn brifnôd agored o grefydd, i ddangos rhagor rhwng Criſtianogion, *a Sectau* eraill o *gau grefydd*. A chan weled fod yn yr hên *opheren* bapiſdaidd, ryw ddie-

ddieithr fâth ar Grist yn cael ei addoli, nid yr hwn a aned o'r Fair Forwyn; eithr vn a wnair o'r deisen afrllad: a bod yr aberthiad o'r bara-dduw hwn wedi ei wthio ar yr Eglwys megis *aberth bywiol*, dros y byw ar marw: y mae holl wir gristianogion (dan boen a pherigl anudon ewyllysgar ger bron yr Arglwydd, prif Farnwr nef a daiar,) i ffieiddio 'r opheren megis *delw* y digofaint, yr hon sydd yn diddymmu ac yn tynnu ymaith oll-alluogrwydd haeddedigaethau marwolaeth a dioddefaint Iachawdwr y byd. Canys wrth dderbyn y Sacrament o Swpper yr Arglwydd, yr ydym ni oll yn tyngu fod yr holl aberthau *bodedigol* neu gorphorol, wedi terfynu ym marwolaeth ein Harglwydd, a bod ei gorph ef a'i waed, vnwaith gwedi ei groeshoelio a'i dywalld, yn dragwyddol faeth ac ymborth i'n heneidiau ni.

Y

## Y *modd i ystyried dy anheilyngdod dy hunan.*

G*Oran* modd i ddŷn i ddeall ei anheilyngdod ei hûn, ydyw holi ei fuchedd ei hun, yn ol *dêg gorchymmyn* yr holl-Alluog Dduw; chwilia gan hynny pa ryw ddyledion a adewaist di heb wneuthur, a pha gamweddau a wnaethost di, yn erbyn pob vn o'r Gorchmynnion: gan gofio, os byddi heb edifeirwch a thrugaredd Dduw Yng-Hrist, fod melldith Dduw (yr hwn sydd yn cynnwys oll drueni y bywyd hwn, ar poenau tragwyddol yn nhân vffern pan ddarfyddo hwn) yn ddyledus am dorri y lleiaf *o orchmynnion Duw*. A chwedi cymmeryd cyflawn olygiad, yn gystal ar dy bechodau, a'th trueni, dychwel i ryw le dirgel, ac yno gan dy osod dy hun yngolwg y Barnwr megis drwg weithredwr euog, yn sefyll o flaen yr orseddfainge, i dderbyn ei wobr, a'i farnedigaeth, gan blygu dy liniau hyd y ddaiaren, a churo dy ddwyfron a'th ddyrnau, a

Deut. 27. 26. Gal. 5. 10

Y mwydo

mwydo dy ddeurydd a'th ddagrau, cyfaddef dy bechodau ac yn oſtyngedig erfyn ei nawdd a'i drugaredd yn y geriau hyn neu 'r cyfryw.

*Cyffes oſtyngedig am bechodau, iw gwneuthur at Dduw o flaen derbyn y Cymmun ſanctaidd.*

O *Dduw* dàd nefol, pan yſtyriwyf y daioni a ddangoſaiſt di i mi beunydd, ar anwiredd a wneuthym yn *erbyn y nefoedd* ac *o'th flaen di*, y mae Luc. 15. arnaf fi gywilydd om plegit fy hun, a gwarth ſy 'n cuddio fy wyneb megis llen: Canys pa vn o'th *Orchymynion* na thorrais? O Arglwydd yr wyf yn ſefyll yma yn euog o droſeddu dy holl gyfreithiau ſanctaidd: Canys ni bu ſerch fynghalon mor awyddus yn glynu

Y gorchymyn cyntaf. wrth dy Fawrhydi di, megis wrth ofer a bydol bêthau: Nid ofnais i moth *farnedigaethau* di, i'm dychrynu oddi- Deut. 6. 5.

Mat. 12. 37. 38. wrth bechodau, ni chofiais ith *addewid*, i'm cadw rhag ammau o'm *amſerol*, neu rhag anobeithio om *tragwyddol* gyflwr. Mi wneuthum reolediga- Levit. 9. 14. Pſal. 32. 5 6.

Pſal. 38. 8. eth dy anrhydedd gorvchel, i fod fel

y

y gwelai fy meddwl fod yn gymhesur, *Yr 2. or-*
nid fel y gosododd dy air di ar lawr: *chymyn.*
gan fod yn haws gan fynghalon gofio Deut. 12.
fy Iechawdwr bendigedig, mewn llun 32.
cerfiedig o waith dŷn: nac edrych ar- Mat. 15. 9.
no ef yn *groesboeliedig* yn ei air *a'i Sa-* Gal. 3. 1.
*cramentau*, ar ol ei drefnedigaeth ei
hûn. Lle ni ddylaswn i erioed arferu
dy enw (yn yr hwn enw y mae pob
glîn yn plygu) oddieithr ag anrhy- *Y 3 or-*
dedd crefyddol, nac vn rhan o'th addo- *chymyn.* Pl.i.2..10
liad heb zêl a pharodrwydd dyledus: Ecle. 4.
fe ddarfu i mi gablu *a chamarferu* dy 17.
enw sanctaidd mewn arferol lyfau byr- 1. Bren.
bwyll: Ie fe ddarfu i mi arferu llyfau 19. 10.
i'th enw bendigedig, megis yn *fante-* Iere. 5. 2
*llau* i guddio fy mechodau bryntion.
Ac mi fum yn fynych yn bresennol yn
dy wasanaeth, mwy o ran defod ac
arfer, nac o ran cydwybod, a mwy o
ran rhyngu bodd dynion, nac o ran
rhyngu bodd i ti, fy Nuw grasusol.

Lle dylaswn i sancteiddio dy ddydd
Sabboth, trwy fod yn gyd-edrychiol *Y 4 Gor-*
wrth gyhoeddus orchwylion yr Eglw- *chymyn.*
us, a thrwy fyfyrio yn ddirgel ar air a
gweithredoedd Duw, a thrwy ofwyo
y claf, a rhoi ymwared i'r brodyr tlo-

dion: Och fi, yr oeddwn ni yn tybied y gorchwylion sanctaidd hynny yn *fauch gormod*, o herwydd eu bod yn rhwystro fy nifyrrwch ofer: Ie fe ddarfu i mi dreilio llawer o'th Sabbothau yn fy nrachwantau halogedig fy hunan, heb fod yn bresennol wrth yn rhan o'th addoliad gogoneddus.

*Yma cyfaddaf fy drysaelio ar y Sabbothath fynediad i chwerydd ddiaeth 5. gorchymyn.*

Lle dylaswn ei roi pob dyledus anrhydedd im Naturiol, Eglwysig, a llygol dadau, ni ddarfu i mi ddangos mor fàrh ddyledus barch a thraserch, fel y ddoedd ei gofal a'i mwyneidddra hwynt yn haeddu.

Nid oeddwn i yn hoffi mo'th Wenidogion di fel y dylaswn *er mwyn eu llafur*, eithr yr oeddwn yn beio ar eu buchedd, ac yn eu casâu am iddynt fy argyoeddi i yn gyfiawn. Ac fe ddarfu

*Yma cyfaddef y anufydd-dod i'th henafiaid, i'r gweinidogion a'th athrawon.*

i mi fy ymddwyn fy hunan yn wrthnysig ac yn ddiystur yn erbyn dy Swyddogion a'th wenidogion, er i mi wybod mae dy ordeinhâd ti ydyw, y dylwn ei fod yn ufyddgar iddynt.

*Y 6. gorchymyn.*
*Dihar.19. Ephe. 4. 31.*

Lle y dylaswn *fod yn hwyrfrydig i lid, ac yn dosturiol i faddau camweddau, heb gynnwys i'r haul fyned i lawr ar fy nigofaint*: Eithr i wneuthur da

dros

dros ddrwg, ac i garu fyngelynion er dy fwyn di: fy fi, och fi, am vn gair diffaith, a dorrais allan mewn llid, gan achlesu a llettyfa chwerwedd a digofaint yn fynghalon, fel y dewisais i ymborthi ar fy malais fy hun o flaen bwyta dy Swpper sanctaidd.

*Yma cyffyſadd yn eſ dy boethineb, ar drwg a wnaethoſt o hynny.*

Lle dylaswn ei gadw fy ***meddwl oddiwrth drachwantau budron***, a'm corph oddiwrth bob aflendid: O Arglwydd, mi halogais, ac a ddiwynais y ddau, gan wneuthur fynghalon yn ystafell i feddyliau diffaith, a'm meddylfryd yn ***gorlan*** i'r ysbryd aflan. Ie yr ynwaredd ar cynnorthwy, yr hyn a roddaist ti (Arglwydd) er mwyn ymgadw o ***drachwant***, ni allai mom cadw i o fewn terfynau ***Diweirdeb:*** Canys gan ***flysio, ac ewyllysio glendid***, sail yr hwn nid yw ond ***pridd***, fe ddarfu ei Satan roi swyn gyfaredd i'm cnawd i drachwantu ar ol cnawd ***dieithr***.

*Y 7. gorchymyn.* 1.Th 4. 3. Rhuf. 6. 13.

*Yma cyſaddef ith Dduw dy odineb, ath ſadreddi dirgeledig.*

Lle y dylaswn fyw mewn vniondeb, gan roddi i bawb ei eiddo: a bod yn fodlon i'm cyflwr fy hun: a chan fyw yn gydwybodus yn ***yngalwedigaeth gyfreithlawn***, lle dylaswn fod yn barod (yn ol fyngallu) i gyfrannu ac i roi

*Yr 8. gorchymyn.* Eph. 4. 28 Luc. 6. 34 Leuit. 25. 35.

echwyn i'r *anghênog:* O Arglwydd fe ddarfu i mi trwy *orthrymmu*, *gwascu*, a *thynnu gwobrau*, *ymgeccri*, a'r cyfryw *gamgymyreth*, trwy *liw* o'm *Galwedigaeth* am *Swydd*, yspeilio a llindagu fynghyd Gristianogion: Ie fe ddarfu i mi somni a chynnwys Crist lawer amser yn ei aelodau tlodion, i sefyll yn newynog, yn anwydog, ac yn *noeth* wrth fy nrws: ac yn newynog noethlwm i fyned ymaith yn ddi ymwared fel y daeth: ar pryd yr oedd culni ei ruddiau yn erfyn am drugaredd, ni adawai galedwch fynghalon i mi ddangos dim tosturi.

*Yma cyfaddef os lladrettaist di ddim yn ddirgel neu yn g yhoeddus neu ddwyn ar drais, neu Drechu gweiniaid*

Lle y dylaswn ei wneuthur cydwybod i ddywedyd y *gwirionedd mewn diniweidrwydd*, *yn ddi-dwyll*, gan fod yn ddichlyn i farnu yn vnion, ac mewn cariad perffaith i gymmeryd *pob peth ar y goran:* a lle y dylaswn i ymddiffyn enw da a geirda fynghymydog: och fi (wael-ddyn truan) mi enllibiais ac a wradwyddais fynghydfrawd, a chyn gynted ac y clywn chwedl diffaith mi wneuthum fynhafod yn offeryn i'r Cythraul iw hau allan i eraill, cyn gwybod y gwirionedd o hono

*Y 6. Gorchymyn.* Zac. 8. 16. Mat. 10. 9. 1. Cor. 13. 7. Mat. 11. 18. 19. Psal. 50. 20. Psal. 15. 3. *Yma cyfaddef os dwedtu di gelwydd*

hono fy hun. Yr oeddwn cyn] belled oddiwrth ddywedyd vn gair da,er ymddiffyn ei *enw da* ef, megis yr oedd yn ddirgel chwerthiniad yn fynghalon glywed anair i vn yr oeddwn yn ei gynfigennu, er i mi wybod heb law hynny fod rhâdau Duw yn llewyrchu ynddo ef mewn mesur cyflawn. Mi wneuthum ddigrifwch o gau gymwynas,a budd o ddrygfawr gelwyddau, yn hyn o beth yn fy nangos fy hun yn vn o'r *Cretiad vnion* ac nid yn wir Griftion.

*ar neb, ne enllib to neu beidio a dywedyd y gwirionedd i gadw enw da dy gymydog.*

Tit. 1.13.

Ac yn ddiwethaf ( O Arglwydd ) lle y dylaswn i fod yn gwbl fodlon i'r cyfran a genniadhaodd dy fawrhydi i mi yn y *pererindod hwn*; a gorfoleddu mewn daioni vn arall megis yn fy vn fy hunan: och, ni wneuthum i swydd ond chwannychu a blysio *tŷ* y cymmydog yma, a thir y cymmydog draw: Ie gan ddymuned y cyfryw ddŷn yn farw, fel y gallwn i gael ei swydd neu ei etifeddiaeth; gan chwennychu yn hytrach y pethau a ganniadhaist di i rai eraill, o flaen bod yn ddiolchgar am y pethau a roddaist di i mi fy hunan. Fel hyn y darfu i mi, (O Arglwydd

*r 10. gorchymyn.*

Heb. 13. 5.

1 Tim 6. 6.

Phil 4. 11. 12.

 ydd

ydd yr hwn wyf bechadur cnawdol gwedi *yngwerthu tan bechod* drofeddu dy holl fanctaidd a'th ysbrydol orchymynnion, o'r *cyntaf* i'r *olaf*, o'r *mwyaf* i'r *lleiaf*, ac yma yr wyf yn fefyll yn euog o flaen dy Orfeddfaingc di, am dorri dy holl-gwbl gyfreithiau, ac am hynny yn haeddu dy felldith, ar holl drueni a eill cyfiawnder ei ofod allan ar y fath greadur melldigedig. Ac i ba le yr af fi am ymwared, rhag y trueni hyn? Y mae Angelion yn cywilyddio wrth weled fy meddyliau gwrthryfelgar, ac ni wnant ddim ymwared i mi. Y mae gwyr, yn euog o'r vnrhyw drofeddau, ac ni allant ddim cynnorthwy i mi. Am hynny a anobaithiaffi gyd â *Chain*, neu wneuthur am danaf fy hun gyd â *Iudas!* Na wnaf Arglwydd, Canys ni byddai hynny ond dibennu trueni y bywyd hwn, a dechrau poenau didrangcedig vffern: mi
Heb.4. *appeliaf* yn hytrach at Orfeddfaingc dy
*râd* lle y mae trugaredd yn rheoli ifaddau aml bechodau a throfeddau, ac
Pfal.130. 1. allan o *ddyfnder* fy 'n rhueni, mi lefaf
Iob.13. 12. gyd â *Dafydd* am *ddyfnder dy drugareddau.* Pe lleddit ti fi â blinderau etto

my

my fi mal *Iob* a ymddiriedaf ynot ti. Pe
rhôn ac i ti fy moddi ynghanol *cefn-
for dy anfodlonrhwydd*, gydâ *Ionas*, etto
mi ddaliaf y fâth afael yn dy *druga-
redd*, fel y gellir fynghodi i fynu yn
farw, yn plethu fy *nwy ddwylaw* am da-
ni hi. A pha teflit ti fi i *waelodion vffern*
mal *Ionas* i fol y Pyscodyn: Etto o- Ionas 2.
ddiyno y llefwn arnat ti: *O Dduw Tâd* 2.
*o'r nef, O Iesu Grist Prynwr* y byd, o
ysbryd glân fy Sancteiddiwr, tri
pherson ac vn *Duw tragwyddol, trugar-
hâ wrthif bechadur truan.* A chan we-
led mai daioni dy anian dy hun a ba-
rodd i ti ddanfon dy vnig-*anedig Fab* i
farw dros fy mhecodau, fel trwy ei fa-
rwolaeth ef y gallwn gael fynghym-
mod gan dy Fawrhydi: O Na thafl
ymaith ac na wrthod fy enaid edifei-
riol, yr hwn gan ei fod yn anfodlon
iddo ei hûn am bechod, fydd yn ewy-
llysio dychwelyd i'th wasanaethu, a'th
fodloni, mewn newydd-deb buchedd:
Ac estyn dy law ymwaredol o'r nef i
achub dy was tlawd yr hwn fydd
(megis *Petr*) yn barod i foddi ynghefn-
for *pechodau* a thrueni. Golch ymaith
liaws fy anwireddau â haeddedigaethau

y gwaed, yr hwn yr wyf fi yn ei Gredu ddarfod i ti ei dywallt yn helaeth tros bechaduriaid edifeiriol.

Ac yn awr gan fy mod i dderbyn y dydd hwn, y Sacrament fendigedig o'th werthfawroccaf *gorph a gwaed:* O Arglwydd, yr wyf yn attolygu i ti, gâd i'th ysbryd glân fod yn dy Sacrament, selia i'm henaid, fod o'm holl bechodau, trwy dy farwolaeth a'th ddioddefaint yn cael eu cyflawn faddau a'i gollwng dros gof, megis na ddêl y melldithiau ar Barnedigaethau, y rhi y mae fy mechodau yn eu haeddu, fyth i'm gwradwyddo yn y byd hwn, nac i'm heuog farnu yn y byd sydd i ddyfod. Canys fy ffydd ddisigl yw, ddarfod i ti farw dros fy mhechodau a chyfodi eilwaith er mwyn *fynghyfiawnhad.* Hyn yr wyf yn ei gredu, O Arglwydd cynnorthwya fy angrediniaeth. Gweithreda ynof hefyd yr wyf yn attolwg i ti *edifeirwch difrifol,* megis y gallwyf o eigiawn calon, ofidio tros fy mhechodau a aethant heibio, a'i ffieiddio, a'th wasanaethu o hyn allan mewn newydd-deb buchedd, â mwy mesur o sancteiddrwydd crefyddol, na âd

Rhuf. 4. ar olaf.

âd i'm henaid ei fyth anghofio aneirif gariad y cyfryw Iachawdwr anwyl, yr hwn a roddes i lawr ei fywyd i waredu pechadur cyn wacled. A channiadhâ, O Arglwydd, yn ol i mi dderbyn y selau ar arwyddion hyn o'm Cymmun i rhyngof a thi, i ti fod o hyn allan yn anneddu trwy dy ysbryd glân o'm mewn, a minnau felly i fyw mewn ffydd ynot ti, fel y gallwyf rodio holl ddyddiau fy mywyd mewn *duwioldeb* a *diweirdeb* tu ag attat ti, Ac mewn brawdol *gariad Perffaith* tu ag at fynghymydogion : megis gan fyw yn dy ofn, y gallwyf farw yn dy ffafr, ac ar ol marwolaeth, bod yn gyfrannog o fywyd targwyddol trwy *Iesu Grist* fy Arglwydd am hunig Iachawdwr Amen.

### *Am y moddion trwy ba rai y gelli di ddyfod yn Dderbynniwr teilwng.*

Y Moddion hyn ydynt ddyledion o ddau fath: y cyntaf, *parch ddyledus tu ag at Dduw*; yr olaf, *perchi ein cymodog*. Y rhai ydynt tu ag at Dduw ydynt

ydynt dri : yn gyntaf, *gwybodaeth ffrwythlawn*, yn ail, *gwir ffydd*, yn drydydd, *edifeirwch difrifol*, yr hyn tu ag at ein cymydog, nid yw ond vn, sef, *diammur gariad perffaith.*

**2.** *Am wybodaeth ffrwythlawn yr hyn a ddylai fod mewn Cymunwr teilwng.*

Heb.6.1.2. Ioa.17.3. 1.Tim.2.4. 1.Cor.12 29. 2.Cor.13 5.

*Gwybodaeth ffrwythlawn ydyw deall-twriaeth sancteiddiedig am brif seiliau crefydd.* Megis yn gyntaf, *am Drindod y personau yn vndod dy Duwdab.* Yn ail, am *greadigaeth dyn a'i gwymp.* Yn drydydd, *am y felldith* a'r *trueni dyledus i bechod.* Yn bedwerydd, *am naturiau a Swyddau Crist*, ac am *brynedigaeth y byd trwy ffydd yn ei farwolaeth ef:* yn enwedig, trwy athrawiaeth y Sacramentau yr hyn sydd yn sicrhau ac yn selio y prynedigaeth hwnnw i ni. Canys fel na ellir adeiladu *tŷ*, oni rôir y *sail* ar lawr yn gyntaf; felly ni eill *crefydd* chwaith mor *sefyll*, oni bydd hi gwedi ei *seilio* ar wybodaeth diogel o air Duw. Yn ail, o ni wyddom ni ewyllys Duw, ni allwn ni, nai gredu,

nai

nai wneuthur. Canys megis na ddichon neb wneuthur gorchwylion bydol: ond y rhai ſydd a gwybodaeth celfyddgar genthynt i'w gwneuthur: felly heb wybodaeth, rhaid yw eu ddynion fod yn fwy aneallgar ac anwybyddus mewn ysbrydol a goruchel bethau. Ac etto mewn *petkau amſerol* fe ddichon dyn wneuthur llawer trwy *oleuni naturiaeth*: Eithr mewn *dirgeledigaethau crefyddol*, pa fwyaf y bôm ni yn hyderu mewn rheſwm naturiol, bell-bell y byddwn ni oddiwrth ddirnad yr yſbrydol wirionedd. Yr hyn beth ſydd yn eglurhâu fod cyflwr ofnadwy i'r rhai ſydd yn derbyn heb *wybodaeth*, a chyflwr mwy ofnadwy, i'r Bigeiliaid hynny, y rhai ydynt yn gwenidogaethu iddynt heb eu *Cateceiſio* nai hathrawiaethau. 1.Cor.2. 14. Rhu.8.7.

2. *Am wir ffydd, yr hon a ddylai fod mewn Cymunwr teilwng.*

*Nid y gwybodaeth noeth or Scrythyrau, ar ſeiliau cyntaf o grefydd, ydyw gwir ffydd*, (Canys mae y cythreuliaid, ar gwrthodedigion mewn meſur trago-

godidawg, yn credu ac yn *crynu*) *eithr*
*vnion ffydd yw, yn gystal credu yr oll be-*
*thau, ar a ddarfu i'r Arglwydd eu dad-*
*cuddio, a'i hegluro yn ei Air*: *ac hefyd*
*neillduol ystur o ddyn er mwyn ei enaid*
*ei hun, yr holl addewidion o drugaredd*,
yr rhai a wnaeth Duw yng-Hrist i be-
chaduriaid credadwy. Ac o herwydd
hynny yn ddigwyddedig, fod Crist a'i
holl haeddedigaethau, yn perthyn iddo
ef yn gystal ac i vn arall. Canys yn gyn-
taf, o ni bydd gennym ni insel cyfiawn-
der y ffydd, nid yw y Sacrament yn se-
Rhuf. 4. 11. lio dim i ni; Ac y mae *pob dyn yn Swp-*
*per yr Arglwydd yn derbyn cymmaint ac*
*y mae yn ei gredu*. Yn ail, O blegid
heb ffydd na allwn ni y rhai ydym
Eph. 3. 17. yn Cymuno ar y ddaiar ymgyffred
Crist yn y nefoedd. Canys fel y mae
*yn trigo ynom ni trwy ffydd*, felly trwy
*ffydd* vn agwedd y rhaid i ni ei *fwyta*
ef. Yn drydydd, oblegid *heb ffydd* ni
allwn ni fodloni neu berswadio ein
Heb. 11. 6. cydwybod ein bod yn *Cymmuno* yn
Rhu. 14. 23. *gymmeradwy* ger bron Duw.

3. Am-

### 3. *Am ediſeirwch difrifol yr hyn a ddylai fod mewn Cymmunwr teilwng.*

*Gwir ediſeirwch ydyw ſanƈteiddiol* Eſa. 53.
*gyfnewid meddwl, pan fyddo dŷn yn ol* 7. Eze. 33.
*iddo* yn yſtyriol gymmeryd golwg ar 11. Aƈ. 26.
drugaredd Duw, ac ar ei drueni ei hun, 29.
yn troi oddiwrth ei holl ddirgeledig Aƈ. 3.19
ac annirgeledig bechodau, i *waſanaethu*
*Duw mewn ſanƈteiddrwydd a chyfiawnder* yr holl ddarn arall *o'i enioes*. Canys Luc. 1.
fel y mae vn glwth a fyddo wedi ei 74.75.
ymlenwi â bwyd, yn anghymmeſur i fwyta *bara:* felly yr hwn ſydd a'i gonglau yn llawn o bechodau, nid yw weddaidd i dderbyn Criſt. A chydwybod Hab. 2. 13.14.
gwedi ei ymddifwyno gan fudreddi Tit. 1.13.
ewyllyſgar, ſydd yn gwneuthur yr arfer or holl bethau ſanƈtaidd yn anſanƈtaiddiol i ni. Ni ellir bwyta mor offrymedig di-frycheulyd oen Paſc, gyd â lefain malis a drygioni, medd *Paul*, 1.Cor.5.8. Ac ni eill *hên* goſtrelau ein llygredig a'n amhur gydwybod ni, gadw y gwin newydd o wyrthfawr waed Criſt, fel y dywaid ein Iachawdwr.

dwr. *Marc.* 2. 22. Y mae 'n rhaid i ni gan hynny wir edifarhau, os mynnwn ni fod yn *gyfrannogion* teilwng.

2. Y *dyledfydd raid i ni ei gyflawni tuag at ein cymydog ydyw cariad perffaith.*

*Cariad perffaith ydyw maddeu yn ewyllysgar i rai eraill a waethant i'n herbyn*, ac ar ôl cyfundeb, tystiolaethu hynny yn dditffuant gyhoeddus o eigion traserch ein calonnau, trwy ddull geiriau, a gweithredoedd, cyn fynyched ac ir ymgyfarfyddom ni, neu y byddo yr achos yn gofyn. Canys yn gyntaf, heb gariad tu ac at ein cymydog, nid oes vn aberth yn gymeradwy gan
Mat. 5. 23 24. Dduw. Yn ail, o herwydd mai vn brif achos neu 'r diben, er mwyn yr hyn yr ordeiniwyd Swpper yr Arglwydd, ydyw cryfhau cariad Cristianogion y naill tu
Ioa. 13. 34. 34, 35. ag at y llall. Yn drydydd, ni eill vn dyn moi ficrhau ei hun o fod wedi cael maddeuant am ei bechodau gan Dduw, oni bydd ei galon ef yn ymroi i faddau i ddynion y beiau a wnaethant yn ei erbyn ef. Hyn yma am y dyledion cyntaf,

taf, sydd raid i ni eu cyflawni cyn dyfod i Fwrdd yr Arglwydd, yr hyn a elwir *Paradrwydd* neu *ymbaratoad*.

---

*2. Am yr ail fâth ar ddyledion y rhai sydd raid i Gymmunwr teilwng eu cyflawni wrth dderbyn Swpper yr Arglwydd, sef Myfyrdodau.*

Y Gorchwyl hwn o fyfyrdod ysprydol sydd yn ymgynnwys mewn llawer o byngciau.

Yn gyntaf, pan fyddo y bregeth gwedi darfod, a gwledd o Swpper yr Arglwydd i ddechrau ei chyssegru: myfyria wrthit dy hunan fel y mae Crist yn dy wahodd di i fod yn wahoddwr ar ei *fwrdd sanctaidd*, ac mor garedig y mae yn dy wahodd di: Mat. 22. 1. Pet. 1.
*O deuwch i'r dyfroedd bob vn y mae syched arno &c. deuwch prynwch win a llaeth heb arian, ac heb werth, bwytewch yr hyn sydd dda, ac ym hyfryded eich enaid mewn brasder. Cymmerwch bwytewch chwi hwn yw fyngorph yr hwn a dorrwyd trosoch, yfwch o hwn eu gyd; Canys hwn yw fyngwaed yr hwn a dywall-* Isa. 55. 1. 2. Mat 26. 26, 27.

*twyd*

*dwyd er mwyn maddeuant o'ch pechodau chwi.* Pa fwy o anrhydedd a ellir ei ganniadhau na chael cynhwyſiad i eiſtedd ar fwrdd yr Arglwydd ei hun? pa well llyniaeth a ellir ei roi, nac ymborthi o gorph a gwaed yr Arglwydd ei hunan? Os oedd Dafydd yn tybied
2. sam. mai mwyaf ffafr a allai ef ei wneuthur i
19. 33. *Barzillai* ddaionus am yr holl garedigrwydd a ddangoſaſai ef iddo yntau, yn ei orthrymderau, oedd gynnyg iddo, y cai ef fwyta ar ei fwrdd ei hun gyd ag ef yn *Ierusalem*, Pa faint wwy o ffafr ac o gariad y dylem ni gyfrif hyn ſef, pan fyddo Criſt *mewn gwirionedd* yn ein porthi ni yn ei Eglwys ar ei fwrdd ei hun, *a hynny a'i dra-ſanctaidd gorph a'i waed ei hunan?*

Gen. 22. 2. Fel y darfu ei *Abraham* pan aeth
5. ef i fynu i'r mynydd *i aberthu Iſaac ei fab*, adel ei weiſion i wared yn y gwaſtadedd; felly pan ddelych di at ysbrydol aberthiad *Swpper yr Arglwydd*, goſod heibio holl *feddyliau* ac *amcanion* bydol: fel y gellych di yn gwbl feddylio, a myfyrio am Griſt, ac aberthu i fynu dy *enaid* iddo ef, yr hwn a aberthodd ei enaid ai *gorph* droſot ti.

Yn

Yn drydydd, myfyria wrthit dy hun, mor werthfawr ac anrhydeddus *yw corph a gwaed Mâb Duw, yr hwn yw llywodraethwr nef a daiar:* Yr Arglwydd, wrth amnaid yr hwn y mae yr *Angelion* yn crynu, a chan yr hwn y caiff y byw ar marw eu barnu yn y dydd diwethaf, a thithau yn eu plith. Ac mai hwn yw ef, yr hwn gwedi ei *groeshoelio* am dy bechodau, sydd yr awrhon yn ymgynnyg i'th enaid i'w dderbyn *trwy ffydd.* Or tu arall, ystyria pa fath greadur pechadurus ydwyt ti: ac fel yr wyt ti yn gwbl anheilwng o'r fath *lettywr sanctaidd*; A chynddrwg yr wyt ti yn haeddu archwaethu y fath ymborth bendigedig? Gwedi dy gael mewn budreddi, a byth o hynny allan yn ymdrobaeddu mewn budr *byllau a thyllau* anwiredd; yn dwyn enw Cristion eithr yn gwneuthur gweithredoedd y cythraul; yn addoli Crist gan ddyedyd * *Ave rex* a'th enau, eithr *poeri llyfau* yn ei wyneb, ai groeshoelio ef o newydd a'th orchwylion anraslon.

* *Henffych well frenni.*

Yn bedwerydd, cydsynnia gan hynny, a meddwl a pha wynepryd y beiddi

iddi di gynnyg cyfwrdd corph mor *sanctaidd* a dwylaw mor *aflan?* neu i yfed y fath werthfawr waed, a'r fath enau celwyddog drygfawr? Neu i groesawu y fath fendigedig lettŷwr i stafell mor fudr? Canys os lladdwyd y *Bethshemitiaid*, am edrych yn anthyneddus yn *Arch yr hên Destament*, pa farnedigaeth a elli di ei ddisgwyl yn gyfion, yr hwn a'r cyfryw amhur olygon, a chalon, wyt wedi dyfod i edrych a derbyn *Arch y Testament newydd*, yn yr hon, y mae *cyflawnder y Duwdod*

Col.2.3, 9. yn presswylio yn gorphorol?

2.Sam.6, 7. Os trawyd *uzzah* â *marwolaeth ddisymmwth*, am gyfwrdd *Arch y cyfammod?* Pa farn oruchel a ddylit ti ei ofni? Yr hwn sydd mor hy a hull, â dwylaw aflan yn rhyfegu teimlaw Arch y *Testament tragwyddol, yn yr hon y cuddiwyd holl dryssorau doethineb a gwybodaeth?*

Os oedd *Ioan fedyddiwr* (y gwr duwiolaf ar a aned o wraig erioed)

Mat.3. 11. yn ei dybed ei hun yn *anheilwng* i ddwyn ei escidiau ef: O Arglwydd mor anheilwng yw 'r fath briddyn halogedig ac wyt ti, i fwyta ei *gnawd sanctaidd,*

*idd*, ac i yfed ei werthfawroccaf waed?

Os oedd y bendigedig Apostol S^t^ *Petr,* wrth weled dim ond llewyrch *ollalluog nerth* Crist, yn ei dybed ei hun yn *anheilwng i sefyll yn yr vn cafn* ag efo; oh, mor anheilwng wyt ti i eistedd gyd â Christ, ar yr vn bwrdd, lle y gelli di ganfod ei aneirif râd a'i drugaredd yn tewynnu?

Os oedd y *Canwriad* yn tybied nad oedd cronglwyd ei dŷ ef, yn deilwng i groesawu y fath lettywr gogoneddus; pa le a ddichon fod yn gymmwys dan dy asennau di, i sancteiddrwydd Crist i anneddu ynddo? Mat.8.8.

Os oedd y wraig glwyfus o'r diferlif gwaed, yn ofni cyfwrdd ag ymyl ei wisc ef; pa fodd y dylit ti grynu wrth fwyta ei gnawd ac yfed ei *oll iachusawl waed ef.*

Etto os ydwyt ti yn dyfod yn ostyngedig mewn *ffydd, edifeirwch, a chariad perffaith*, gan fficiddio dy bechodau a aethant heibio, a bwriadu yn ddi-ffuant wellhau dy fuchedd o hyn allan: Na fydded dy bechodau aethant or blaen i'th ofni, o ran ni roddir mo honynt

honynt fyth yn dy fauch di; ac fe fydd y Sacrament hon yn selio i'th enaid ti, fod dy holl bechodau ar barnedigaethau dyledus iddynt wedi cael eu cyflawn faddau au golchi ymmaith yn lân trwy waed Crist. Canys nid ordeiniwyd mor Sacrament hon i'r rhai oeddynt berffaith, ond i gynnorthwyo pechaduriaid edifeiriol i edifeirwch: Ni *ddaeth Crist i alw y rhai cyfion o-* Mat. 9. 12. 13.
*nid pechaduriaid i edifeirwch.* Ac y mae ef yn dywedyd nad rhaid *ir iach wrth* Mat. 11. 28.
*physygwr ond i'r* clwyfus, y rheini a alwodd Crist a phan ddeuent, y rheini erioed a gynnorthwyai ef. Bid yr holl Efengyl yn dystiolaeth na ddaeth yr vn pechadur erioed at Grist am drugaredd, a myned ymmaith heb ei neges. Trocha di vn agwedd dy enaid clwyfus yn y *ffynnon hon o waed Crist:* ac yn ol ei addewid ef yn ddi-ammau, Zach. 13. 1. di a gai dy iachau o'th holl bechodau a'th aflendid. Nid pechaduriaid gan hynny ond y rhai sydd yn anewyllysgar i ediferhau am eu pechodau, a waherddir oddiwrth y Sacrament hon.

Yn bumed, myfyria ddarfod ei Grist

adael

adael y Sacrament hon i ni yn brif Arwydd a gwystl o'i gariad ef: nid pan oeddynt yn amcanu ei wneuthur ef yn Frenin *Ioan.* 6. 15. (yr hyn a allasai fod megis yn dâl am ei hewyllys da) ond pan oedd *Iudas* a'r Arch offeiriaid yn gwneuthur ei frad ef (am hynny yn gwbl o'i wir gariad.) Pryd yr oedd *Nathan* yn dangos i Ddafydd ddaed oedd gan y dŷn tlawd ei *oenig fechan a laddasai y gwr cyfoethog*: Yr oedd ef yn rhoi iddi meddai ef, oi dammaid ei hun i *fwyta, ac o'i gwppan ei hûn iyfed,* 2. Sam. 12. 3. ac onid yw cariad Crist gan hynny iw Eglwys yn anrhaethadwy pan fyddo ef yn rhoddi iddi ei gnawd ei hun iw *fwyta ai waed ei hun iw yfed*, yn borthiant ysprydol a thragwyddol iddi? Os oes gan hynny ddim cariad yn dy galon di, cymmer phiol iechydwriaeth yn dy law, a pharcha ei gariad *ef a chariad am dano, Psal.* 116. 11.

Yn chweched, pan fyddo y Gwenidog yn dechrau cyssegru y Sacrament sanctaidd, yno dod heibio dy holl weddiau, dy ddarllain, ath oll fyfyrdodau eraill pa rai bynnac: a gosod dy feddy-

fryd yn vnig ar y gweithredon, a'r arferion fanctaidd hynny, y rhai yn ol trefnedigaeth Crist a arferir o fewn ac ynghylch y *Sacrament fanctaidd*: Canys fe ryngodd bodd i Dduw (gan ystyried ein gwendid ni) osod y trefnedigaethau hynny yn gyfryngau i gyfodi ein meddyliau i ddyfrifol fyfyrio ar ei radau nefol.

Pan fych di gan hynny yn gweled y Gwenidog yn gosod oddiwrtho y *bara* ar *gwin* ar *Fwrdd yr Arglwydd*, ac yn eu cyssegru hwynt trwy weddi a thrwy ordeinhad Crist, i fod yn Sacrament fanctaidd o fendigedig corph a gwaed Crist; yno myfyria, fel y darfu ei Dduw Dâd o'i wir gariad i *ddynol ryw*, osod oddiwrtho, a felio *ei vnig-anedig Fâb i fod yn foddion oll ddigonol*, ac vnig gyfryngwr, i'n gwaredu ni oddiwrth bechod ac i'n cymmodi ni a'i râd ef, ac i'n dwyn ni i'w ogoniant.

Pan fyddych di yn gweled y Gwenidog yn torri y bara wedi ei fendigo, y mae 'n rhaid i ti fyfyrio, ddarfod rhoi Iesu Grist *tragwyddol fab Duw* iw farwolaeth, a'i fendigedig Enaid a Chorph (gan oddef digofaint Duw) wedi eu torri

torri a'i gwahanu am dy bechodau di, chyn wiried ac y gweli di yr awrhon dorri y Sacrament ſanctaidd o flaen dy lygaid: a chyd â hynny galw i'th gôf greulondeb dy bechodau, a maintiolaeth digofaint Duw i'w herbyn hwynt, gan weled na fodlonid *cyfiawnder Duw*, ond a'r *cyfryw aberth*.

Pyn fyddo y gwenidog gwedi bendigo a thorri y Sacrament, ac yn ei ymbaratoi ei hunan i'w chyfrannu; yno myfyria, *fod y brenin* (yr hwn ſydd feiſtr o'r wledd) yn ſefyll wrth y bwrdd i weled ei wahoddedigion, ac yn edrych, arnat ti a yw *dy wiſc briodas* am danat; Tybia hefyd fod yr holl Angelion ſanctaidd, y rhai ydynt yn gwilio ar yr etholedigion yn yr Eglwys, ac *ydynt yn chwennych gweled arferu y dirgeledigaethau ſanctaidd* hynny, yn dal ſylw ar dy oſtyngeiddrwydd a'th ymddygiad: gâd i'th enaid gan hynny, yn y cyfamſer y byddo'r Gwenidog yn dwyn y Sacrament attat ti, aberthu hon, neu 'r cyfryw *unig-adroddiad* at Griſt.

Mat. 22. 11. Dad. 19. 8. 1. Cor. 11. 10. Eph. 1. 4. *olaf.* 1. Pet. 1. 12.

*Neilldnol draethawd ddiddanaidd i'w hadrodd yn ol cyssegriad a chyn derbyn y Sacrament.*

A *I gwir ywy pressylia Duw ar y ddaiar? wele y nefoedd, a nefoedd y nefoedd ni allant dy gynhwys di pa faint llai y dichon enaid y fath dywarchen bechadurus ac wyf fi dy dderbyn di!*

Eithr gan weled fod dy ewyllys bendigedig i ddyfod fel hyn i *Swpperu* gyd â mi ac i *bresswylio ynof*: ni allaf o wir lawenydd na ddywedwyf *beth yw dyn pan gydnabyddit ag ef? new fab dyn pan wnait gyfrifo honaw?* Pa cariad bynnac a fu gwyw gennit ti ddangos i mi o gyflawnder dy râs, yr wyf yn cyfaddef yn rhwydd pa beth ydwyf yn rhrueni fy *natur*. Yr wyf (i ddywedyd ar vnwaith) yn greadur cnawdol am henaid wedi *ei werthu tan bechod*: dyn truan gwedi ei amgylchu â corph marwolaeth. Etto, Arglwydd gan dy fod ti yn galw, wele fi yn dyfod, a chan dy fod ti yn galw *pechaduriaid*, fe ddarfu i mi fyngwthio fy hunan i mewn yn ymhlith eraill, a chan weled dy fod ti yn galw yr holl

Psal. 144. 3.

Rhu. 7. 24.

rai ſydd yn flinderog ac yn *lwythog*; ni welai ddim achos i mi i aros yn ol. O Arglwydd yr wyf fi yn glaf, ac i ba le yr af ond attad ti *phyſygwr* fy enaid? Ty di a iachauaiſt lawer, ond erioed ni threwaiſt di wrth yr vn mor drwm glwyfus: Canys yr wyf yn fwy gwahanglwyfus nac oedd *Gehazi*, yn fwy aflan na *Magdelen*, yn ddallach yn fy enaid nac oedd *Bartimeus* yn ei gorph; Canys myfi a fum fyw hyd yn hyn, ac erioed, heb weled gwir *lewyrch dy air*. Y mae fy enaid yn rhedeg gyd â mwy *llif o bechod*, nac oedd diferlif gwaed yr *Hemoris*. Nid oedd *Mephiboſheth* yn gloffach i gerdded, nac yw fy enaid i rodio ar dy ôl di mewn cariad. Ni bu frauch *Ieroboam* yn fwy gwywedig i daro *y prophwyd*, nac yw fy llaw anafusi, i roi ymwared i'r tlawd. Iacha fi o Arglwydd, ac ti a wnai cymmaint gweithred a'i iachau hwynt oll. Ac er bod ynof fi eu holl bechodau a'i hanafau hwynt; etto Arglwydd, mor gyfoethog yw dy râd ti, mor fawr yw dy *gelfyddyd*, megis os mynni, y gelli di ag vn *gair*, faddau y naill, ac iachau'r llall. A pha ham y dylwn i ammau dy

ewyllys da di; pryd na chyſt i ti yr awrhon er fyngwaredu, ond vn *wên gariadus*, yr hwn a ymddangoſaiſt dy hun mor ewyllyſgar i'm prynu, er ei ti golli holl *waed dy galon:* Ac yr awrhon wyt yn cynnyg mor raſuſol i mi arwydd diogel om prynedigaeth, a'th *waed:*
2. Sam. *Pwy wyf fi o Arglwydd Dduw?* a pha
7. 11. haeddedigaeth ſydd ynof, i'm prynu ar fath bris gwerthfawr? Nid yw ond dy wir drugaredd, ac nid wyf (o Arglwydd) deilwng or lleiaf o'th holl drugareddau di: llai o lawer i fod yn gyfrannog o'r Sacrament ſanctaidd hon, yr arwydd mwyaf ar a ganniadheuaiſt i feibion dynion y rhai a geri: Pa fodd y dylwn i o herwydd fy anheilyngdod fy hun, lefain allan rhag ofn,
1. Sam. wrth weled dy Sacrament ſanctaidd,
5 7. megis y darfu ir *philiſtiaid* pan welſant Arch yr Arglwydd yn dyfod ir gynnulleidfa; gwae fi yr awrhon bechadur. Oni bai fod dy Angel di yn rhoi cyſſur ynof
Mat. 28. megis yn *y gwragedd: nac ofnwch, canys mi*
5. wn mai ceiſio yr ydych *yr Ieſu yr hwn a groeſhoeliwyd.* Ty di yngwirionedd y mae fy enaid yn ei geiſio. Ac yma yr wyt ti yn dy Sacrament fendigedig.

Os

Os oedd *Elisabeth* gan hynny yn ei thybied ei hun mor *anrhydeddus* wrth fod yn dy wydd di, pryd yr oeddit yng-hroth dy fendigedig fam, fel y llammodd y plentyn yn ei *chroth hi o lawenydd*; pa fodd y dylai fy enaid i neidio ynof o lawenydd, gan dy fod ti yr awrhon trwy dy Sacrament sanctaidd, yn dyfod i drigo yn fynghalon yn dragwyddol? Oh pa fâth anrhydedd yw hwn, nid bod *mam fy Arglwydd*, eithr *bod fy Arglwydd ei hunan* yn dyfod fel hyn i ymweled â myfi? Mewn gwirionedd Arglwydd yr ydwyf yn cyfaddef gyd a'r Canwriad ffydlawn, *nad wyf deilwng i ddyfod o honot dan fy nghronglwyd: ac fel nad rhaid i ti ond dywedyd y gair yn unig, am henaid a fydd cadwedig:* Etto gan rhyngu bodd i luosawgrwydd dy râd, er mwyn cryfhau yn hytrach *fyngwendid* i, selio dy drugaredd i mi trwy yr *arwydd gweledig*, yn gystal a thrwy y gair gweledig; mewn holl ostyngeiddrwydd diolchgar y mae fy enaid yn treuthu wrthit *gyd â'r Forwyn fendigedig: wele wasanaethyddes yr Arglwydd bydded i mi yn ol dy air. Cura di Arglwydd*

Luc. 1. 43. 44.

Mat. 8. 8.

Luc. 1. 38. Dad. 3. 20. Luc. 18. 23.

 a'th

Luc.18. 13. a'th *air* ath *Sacramentau* wrth ddor fynghalon, a minnau megis y *Publican* a gura fy nwyfron am dauddwrn, cyn gynted ac y darfyddo i mi, fel y gellych di ddyfod i mewn: Ac onid egyr y ddor yn ddigon buan, tor hi i lawr o Arglwydd ath nerth ollalluog, ac yno tyred i mewn a phreswylia ynof yn gyfannedd, fel y cafwyf achos gyda *Zacheus* i gydnabod, *heddyw y daeth*
Luc.19.9 *iechydwriaeth i fewn fyn hŷ*. A thaflo honof fi allan bob peth a fyddo yn wrthwynebys i ti: Canys yr wyf yn rhoddi y cwbl feddiant o'm calon i'th Fawrhydi bendigedig, gan ymbil na *byddwyf byw o hyn allan*, hebot ti yn byw ynof, yn dywedyd ynof, yn rhodio ynof, ac felly i'm llywodraethu ath lân ysbryd, megis na byddo dim i'm bodloni ond y peth a fyddo *cymeradwy* ger dy fron di. Megis gan ddibennu yrfa fy mywyd, yn dy rád, y gallwyf yn ol hynny fyw gyd â thi yn dragwyddol yn dy deyrnas o ogoniant. Cennada hyn o *Arglwydd Iesu*, er mwyn haeddedigaethau dy farwolaeth a'th waed tywalltedig. *Amen.*

Pan fyddo y *Gweinidog* yn dwyn y

bara

bara tuag attat ti wedi ei fendigo a'i dorri, ac yn ei gynnyg i ti, gan erchi i ti *Cymmer bwyta &c.* Yno myfyria fod *Crist eihunan* yn dyfod attat ti: ac yn gystal yn cynnyg ac yn rhoi ei hun mewn gwirionedd i'th ffydd, ei wir gorph a'i waed, gyd á holl haeddedigaethau ei farwolaeth a'i ddioddefaint, i borthi dy enaid i fywyd tragwyddol: Cyn gypled a bod y Gwenidog yn cynnyg ac yn rhoi yr arwyddion oddiallan i borthi dy gorph i *fywyd amserol.* Bara yr Arglwydd y mae y Gwenidog yn ei roddi, eithr y *bara yr* hwn yw 'r *Arglwydd* y mae *Crist ei hun yn ei roddi.*

Pan fyddch di yn Cymmeryd y bara o law y Gwenidog i'w fwyta, yno cyffrô dy enaid i amgyffred ac i ymeulyd am Grist trwy ffydd: ac i osod ei haeddedigaethau ef i iachau dy drueni di. Cofleidia ef mor gynnes a'th ffydd yn y Sacrament, ac y darfu ei *Simeon* hên ei wascu a'i gofleidio yn ei freuchiau pan ydoedd yn ei *rwymyn.*

Pan fyddych yn bwyta y bara, tyb fod yn gweled Crist *yn crogi ar y groes*, a thrwy ei boenau anrhaetha-

dwy, yn cyflawn fodloni cyfiawnder Duw am dy bechodau di, ac ymegniai i fod yn wir gyfrannog o'r *rhâd ysbrydol*, megis o'r arwyddion defnyddiol. Canys nid yw 'r *Gwir* yn àbsennol oddiwrth yr arwydd, ac nid yw *Crist* chwaith yn sommi pan yw ef yn dywedyd, *hwn yw fyngborph*, eithr y mae ef yn ei roddi ei hun mewn gwirionedd i bob enaid a'i derbynnio ef yn ysbrydol trwy ffydd. Canys megis y mae y Swpper a arferodd neu a wenidogaethodd Crist, yn eiddom ni: felly y mae yr unrhiw Grist yn wir bresennol yn ei Swpper ei hun, nid trwy *drawsylweddiad* pabaidd, eithr trwy barthgymeriad sacramentaidd, trwy 'r hyn y mae ef yn gwir borthi y ffyddloniaid i fywyd tragwyddol: Nid gan ddyfod i lawr o'r nefoedd attat ti, eithr trwy dy dderchafu di oddiar y ddaiar atto ef, yn ol yr hên ymadrodd; *sursum corda*: derchefwch eich calonnau: *Canys pa le bynnac y byddo y gelain yno i'r ymgascl yr eryrod. Mat.* 24. 28.

Pan fych di yn canfod y Gwîn i ddyfod attat, o'r neilltu oddiwrth y Bara: yno cofia fod gwaed *Iesu Grist*, wedi

wedi ei neillduo mewn gwirionedd *oddiwrth ei gorph ar y groes*, er mwyn cael o honot ti faddeuant am dy bechodau: Ac mai hwn iw fêl y cyfammod newydd, yr hwn a wnaeth Duw o ran maddeu holl bechodau oll becharduriaid edifeiriol, ar a gredent yn haeddedigaethau ei waed tywalltedig. Canys nid yw y Gwîn yn Sacrament o waed Crist cynnwysedig yn ei withi, eithr megis y darfu ei dywallt o'i gorph ar y groes er *maddeuant o'i pechodau ir rhai a gredent ynddo ef.* Mat. 26. 28.

Pan fyddych yn yfed y Gwîn a phryd y bwrir ef allan o'r Caregl i'th *Ddwyfron*, myfyria a choelia mai trwy haeddedigaethau y gwaed, yr hwn a dywalldodd Crist ar y groes, y cai di faddeuant o'th holl bechodau cyn gypled ac a darfu i ti yfed yr awrhon y Gwîn sacramentaidd, yr hwn sydd ofewn dy ddwyfron. Ar pryd y byddych yn yfed, gosod yn gryno dy holl feddylfryd ar *Grist*, megis yr oedd ef yn crogi ar y groes; fel pe bait ti megis *Mair* ac *Ioan*, yn ei weled ef yn hoeliedig a'i waed yn llifeirio i lawr rhyd ei ystlys bendigedig, allan o'r briw

*Pwd fafon faddeuant pechodau neu fywyd tragwyddol, ir neb a yfai yn gorphorol, dauwaith y buasai Mair ac Joan, yn ei yfed: ond mae Ioan yn dangos fod y rhain weithiau yn y credinia-eth o'i dywalldiad ef.*

erchill, yr hwn a wnaethai y waiwffon yn *ei Galon ddiniweid* : gan ddymuned fod dy enau yn dynn wrth ei ystlys ef, megis y gellit ti dderbyn y gwerthfawroccaf waed hwnnw cyn ei syrthio ir ddaiaren briddlyd. Ac etto yfed y gwaed hwnnw yn gorphorol a'th enau, ni byddai elfydd mor ffrwythlon, ac yfed y Sacrament hon o'r gwaed hwnnw yn ysbrydol, trwy ffydd. Canys fe allasai vn o'r *Milwyr* yfed hwnnw, a bod yn golledig er hynny: eithr pwy bynnac a'i hyfo yn ysprydol trwy ffydd, yn y Sacrament, a fydd diogel o gael maddeuant am ei bechodau, a bywyd tragwyddol.

Fel y byddych di yn ymwrandaw ar gwîn Sacramentaidd yr hwn a yfaist, yn cynhesu dy ddwyfron, felly ymegnia i glywed yr Yspryd glân yn cyssuro dy enaid â gobaith hyfryd o faddeuant o'th holl bechodau, trwy haeddedigaethau gwaed Crist. Ac i'r diben hwn, y mae Duw yn rhoi i bob enaid ffyddlon yr Yspryd glân ynghyd ar *gwaed sacramentaidd iw yfed, ac ni a ddiodwyd, oll i vn yspryd*, ac felly i adcyfodi dy feddwl i fynu oddiwrth fyfyrio

1. Cor. 12. 13.

am

am Grist *fel y croesboeliwyd ef* ar y groes, i ystyried fel y *mae ef yn eistedd mewn gogoniant ar ddehenlaw ei Dâd*, i wneuthur cyfryngdod drosot ti, gan anrhegi ei Dâd ag *anrhaethadwy haeddedigaethau* ei farwolaeth, yr hon a oddefodd ef vnwaith drosot ti i fodloni ei gyfiawnder ef, am y pechodau a wnaethost ti beunyddiol yn ei erbyn. Rhu.8. 34. Heb.7. 25 Heb.9.24

Yn ol i ti fwyta ac yfed y *Bara* ar *Gwin*, gwna dy orau, i fod megis y mae yr *arwyddion Sacramentaidd hynny* yn troi yn faeth i'th corph, a thrwy ddygymmod y gwres yn dyfod yn vn ath sylwedd di: felly trwy weithrediad ffydd a'r Yspryd glân, y gellych di fod yn vn â Christ, a Christ â thithau: ac felly y cei di gryfhau a chynnyddu dy *Gymun* â Christ fwyfwy. Ac megis y mae yn amhossibl gwahanu, y Bara ar Gwin aeth yn faeth dygymmodedig yn dy waed neu sylwedd dy corph: felly y mae yn fwy amhossibl tynnu Crist oddiwrth dy enaid ti, neu dy enaid oddiwrth Grist. 1.Cor.10 17.

Yn ddiweddaf megis nad yw bara y Sacrament, er ei wneuthur o lawer o gronynnau ŷd, ond vn bara: felly rhaid i

ti gofio, er bod yr holl ffyddlonniaid yn llawer, etto nid ydynt ond vn *corph dirgeledig*, o'r hwn y mae *Crist yn ben*. Ac am hynny y mae 'n rhaid i ti garu bob Cristion fal dydi dy hun, ac megis aelod oth corph.

Hyd yn hyn am y dyledion sydd iw cyflawni wrth dderbyn y Sacrament sanctaidd, yr hyn a elwir rhagfyfyrdod.

---

3. *Am y dyledion sydd raid i ni eu cyflawni yn ol derbyn y Cymmun sanctaidd, yr hyn a elwir gweithrediad neu ymarfer.*

Y Ddylêd yr hon sydd raid ei chyflawni yn ol derbyn Swpper yr Arglwydd, a elwir *gweithrediad* neu *Arferiad*: heb yr hyn nid yw yr holl bethau eraill yn gwneuthur i ni ronyn lles na chysfûr.

Y gweithrediad hwn sydd i gyflawni dau fath ar ddyledion: Yn gyntaf, y pethau sydd raid i ni eu cyflawni yn yr Eglwys; neu ar ôl i ni fyned *adref*.

Y pethau ſydd raid i ni eu cyflawni yn yr Eglwys ydynt, vn a'i neillduol i ni, o'n heneidiau ein hunain, neu, gyſylledig ar gynulleidfa.

Y neilltuol ddyledion y rhai ſydd raid i ti eu cyflawni o'th enaid dy hun ydynt dri: yn gyntaf, rhaid i ti fod yn ofalus (yn gymmaint a bod Criſt yn trigo ynot ti yr awrhon) iw groeſhawu ef gan hynny â chalon lân, ac â ſerch *pur*: canys, y mae yn rhaid i'r tra-*ſanctaidd* fod yn *Sanctaidd* gyd a'r *Sanctaidd:* canys os darfu ei *Ioſeph* o *Arimathea* pan gafodd ef ei gorph marw ef gan *Pilat* iw *gladdu*, ei *droi* a'i *amdoi* ef mewn lliain main ag aroglau pêr, a'i oſod *mewn bedd newydd:* pa faint mwy y dylit ti lettyfa Criſt mewn *calon newydd*, a phereiddio ei ſtafelloedd ef a phêr *arogldarth gweddiau*, ag oll bur draſerch? Os darfu ei Dduw orchymmyn i *Moeſes* geiſio lleſtr o aur pur i gadw y manna a ſyrthiodd yn yr *anialwch*? pa fath galon bur a ddylit ti ei pharatoi i dderbyn y *Manna* ſanctaidd, yr hwn a ddaeth i lawr o'r nefoedd.

Psal. 18. 26. *Sancta non niſi ſanctè & ſanctis.*

Ac megis y daethoſt di tan alaru fel

*Ioſeph*

Luc.2.46 *Ioseph* a *Mair* i geisio Crist ir deml, felly yr awrhon wedi ei ti ei gael ef ynghanol ei air a'i *Sacramentau*, bydd ofalus trwy orfoledd iw ddwyn ef adref gyd â thydi fel y gwnaethont hwythau.

Ac os darfu ir dŷn, yr hwn a gafodd ei ddafad golledig *orfoleddu cymmaint*, pa fodd y gelli di wedi i ti gael *Iachawdwr y byd*, na orfoleddych *fwy o lawer?*

Yn ail, y mae yn rhaid i ti offrymmu aberth o *neillduol ddiolch* i Dduw am ei râd a'i drugaredd anrhaethadwy: Canys fel y mae y weithred hon yn gyffredin ir holl Eglwys, fe ellir ei chyfrif yn neillduol i bob vn or ffyddloniaid yn yr Eglwys, ac am y neillduol drugaredd hwn, y mae 'n rhaid i bob enaid offrwm i fynu yn llawen, neillduol *aberth o roddi diolch*. Canys os darfu i'r *doethion lawenychu cymmaint* pan welsant y Seren yr hon *oedd yn eu tywys hwynt at Grist*, ac a'i haddolasant ef mor grefyddol, pryd yr oedd ef yn *blentyn* yn gorwedd yn y *preseb*, ac a *offrymmyssant iddo ef aur; myrh, a thus;* pa faint mwy y dylyt ti orfoleddu yr

awrhon

awrhon ddarfod i ti yn gyſtal weled, a derbyn y *Sacrament hon*, yr hon ſydd yn arwain dy enaid di atto ef, lle mai yn *eiſtedd ar ddehenlaw ei Dâd mewn gogoniant?* A chan adgyfodi dy galon hyd yno, addola ef, ac abertha iddo ef yr *aur* o wir *bur ffydd*, a myrrh calon farweiddiol, a hwn neu y cyfryw felus *thus* neu arogldarth o *weddi* a *diolch*.

*Gweddi i'w dywedyd yn ôl derbyn y Cymmun ſanctaidd.*

PA beth a roddaf i ti (O Iachawdwr bendigedig) am yr holl fendithiau, y rhai mor raſuſol a dywelldaiſt di ar fy enaid? Pa fodd y gallaf fi roi diolch cymhesur i ti, pryd na allaf fi ond prin eu mynegi? Lle gallesit ti fyngwneuthur i yn anifail, ti am gwnaethoſt i yn ddŷn ar dy lun dy hunan: pryd yr oeddwn i trwy bechod wedi colli dy lun, â myfi fy hunan hefyd: di adnewyddaiſt dy lun trwy dy lân Yſpryd ynof, ac a waredaiſt fy enaid trwy dy waed drachefn:

ac yn awr di roddaist i mi dy sêl a'th arwydd o'm prynedigaeth: ie di a'th roddaist dy hûn i mi O Iachawdwr bendigedig; Oh pa fath drysor o gyfoeth anrhaethadwy, a ffynon lawnlifeiriol o *radau* ynnillodd yr hwn a'th ynnillodd di. Ni chyffyrddodd vn dyn â thi trwy ffydd, nas darfu i ti ei iachau ef *trwy râs*, o blegid ty di yw Awdur *iechydwriaeth*, yr ymddiffynfa rhag pob drwg, meddiginiaeth y claf, bywyd y rhai byw, ac adcyfodiad y meirw. Oedd ond matter bychan gennit ti orchymyn i'th Angelion sanctaidd wilio ar greadur mor wael ac wyf fi, eithr myned o honot ti dy hun i fewn i'm henaid, yno i'm ymddiffyn, i'm maethu, i'm cyssuro i fywyd tragwyddol? O gallodd corphilyn y *prophwyd marw fywhau dyn marw a roesid i gyfwrdd* ag ef. Pa faint mwy y geill corph bywiol *Arglwyd y prophwydi*, fywhau y ffyddlon, ynghalon yr hwn y mae ef yn *presswylio?* Ac os cyfodidi fynghorph i yn y dydd olaf allan o'r pridd; pa faint mwy y bywhei di fy enaid yr awrhon, yr hwn a *sanctei-ddiaist di a'th lân Yspryd*, ac a *burei-*

2.Bren. 13.21.

*ddiaist*

*ddiaist* di ath waed? O Arglwydd pa beth mwy a allaswm i, ei ddymuno, neu pa beth mwy a allasit ti ei ganniadhau i mi, na rhoddi dy *gorph* i mi yn *fwyd*, ath *waed* yn *ddiod*, a rhoi dy enaid ar lawr yn bridwerth o'm gwaredigaeth? Ty di Arglwydd a ddioddefaist y *boen*, a minnau a gefais y bydd, my fi a gefais *fadde-uant*, a thithau fu yn goddef *cospedigaeth*: dy *wylofain* di oedd fy *ymolchiadi*, dy *archollion* di fy *iechyd i*, ar anghyfiawnder a wnaethpwyd i ti, oedd yn bodloni am y farnedigaerh gyfiawn i mi. Fel hyn o herwydd dy *enedigaeth*, di a ddeuaist yn frawd i mi, o herwydd dy *farwolaeth* yn *bridwerth* i mi, o herwydd dy *Drugaredd* yn *wobr*, ac o herwydd dy *Sacrament*, yn *ymborth* i mi. O lyniaeth nefol, trwy 'r hwn y cyfnewidir *meibion dynion yn feibion i Dduw*, megis y byddo anian ddynol yn marwhau ac anian Duw yn bywhau ac yn rheoli ynom. Mewn gwirionedd yr oedd i'r holl greaduriaid le i ryfeddu, fynnu o'r creawdr ei gau *naw mis* ynghroth y Forwyn (er yw chroth hi yn ôl ei llenwi o'r Yspryd glân, fod yn fwy disclaer nar ffurfafen olau serennog.)

rennog.) Eithr darfod i ti fel hyn ymna dy ymostwng dy hun i fyw yn fyng. halon yn oestadol, yr hon a gefaist di yn fwy aflan na *themmen*; hyn a ddichon beri i holl greaduriaid nef a daiar sefyll yn syn ac yn fud. Ond gan weled mai dy wir ewyllys a'th râd nefol yw, ddyfod i gyfanneddu yn fynghalon, mi ddymunwn ar Dduw fod genif galon mor bur, ac y dymunai fynghalon ei bod, i'th croesawu di: a phwy sydd weddol i groesawu Crist? A phwy er cael ei wahodd, ni ddewisai, gyd â Mair, yn hytrach fyned ar ei liniau wrth dy draed, o flaen rhyfygu eistedd gyd â thi ar dy Fwrdd? Er bod arnaf fi eisiau calon bur i ti i aros o'i mewn, etto ni bydd byth arnaf eisiau llygaid llawn o ddagrau i olchi dy fendigedig draed: ac i alaru o herwydd fynghamweddau budron. Ac er na allaf fi wylo cynifer o ddeigrau ac a wasanaethai i olchi dy fendigedig draed, etto fe wasanaetha ddarfod i ti dywallt digon o waed i lanhau fy enaid pechadurus. Ac yr wyf o Arglwydd yn ffyddio yn ollawl, na allai yr holl ddanteithion melyswedd, a'r rhai

y

y darfu ir *Pharisead* coegfalch dy groesawu, ryngu bodd i ti gyſtal, a'r deigrau hynny, a ddarfu ei Fair edifarus eu tywallt tan dy fwrdd. Mi fynnwn gan hynny gyd â *Ieremi* pe bai fy mhên yn *ffynnon o wylofain*, megis gan weled na allaf fi mewn vn modd dalu cwbl ddiolch am dy gariad i mi, etto fel y gallwn trwy wylofain beunyddiol dyſtiolaethu fyngghariad i ti; ac er nad oes neb yn deilwng or fath râd aneirif: etto hyn yw fynghyſur, *ei fod ef yn deilwng, yr hwn yr wyt ti o'th cariad yn ei gyfrif yn deilwng.* A chan i ti yn awr oth wir râd, fynghyfrif (ymhlith dewiſedigion eraill) yn deilwng oth anrhaethadwy ffafr yma, a ſelio trwy dy Sacrament, hyſbyſrwydd oth cariad, a maddeuant o'm pechodau: O Arglwydd ſicrhâ dy gariad ith was, a dywaid am danaf fi megis y dywaid *Iſaac* am *Iacob*, *my fi a'i bendithiais ef, am hynny bendigedig yw ef.* Ac fel y gallwyf fi ddywedyd Gen. 32. 24. wrthit ti gyd â *Dafydd*; Ti di O Arglwydd, yn awr a *fendigaiſt dŷ dy was, i fod yn fendigedig ger dy fron* di yn dragywydd. A chan weled ryngu bodd i 1.Chr.17 27.

i ti fendigo. *Obed Edom a'i holl dŷ, tra y*
2. Sam. *oedd Arch yr Arglwydd yn aros yn ei dŷ:*
6. 11. 12 Nid wyf yn ammau na fendithi di fy
*enaid* i am *corph* yn fwy o lawer, a
chwbl sydd yn perthyn i mi, gan ryngu
bodd i'th fawrhydi o'th wir ewyllys
da dy hun, fyned tan y gronglwyd i
aros yn gyfannedd yn fy mythan tlawd
i: Bendiga fi ô Arglwydd, fel y byddo
i'm pechodau gael cwbl faddeuant
trwy dy waed, am cydwybod gael ei
sancteiddio trwy dy lân Yspryd, a'm
meddwl gael ei oleuo trwy dy wirio-
nedd, am calon gael ei rhagflaenu gan
dy Yspryd, am ewyllys ymhob peth
fod wedi e'i ostwng i wneuthur yn ol
dy fendigedig *air* a'th *ewyllys di:* Ben-
dithia fi a'r holl radau sydd yn ddiffy-
giol i mi, a chwanega ynof yr holl
ddoniau a'r rhai y darfu i ti fyngynys-
caeddu yn barod. A chan weled fy
mod yn dy ddal di, nid wrth fôn
brauch fel *Iacob* yn ymdrechu *oddia-*
Gen. 32. *llan*, eithr oddifewn i'th cael i gyfanne-
24. ddu ynof: Yn ddiau Arglwydd, *nia-*
*dawai i ti fyth fyned ymaith, oddieithr*
*i ti fy mendithio*, a rhoi i mi *enw newydd,*
*calon newydd*, ac *Yspryd newydd*, a nerth
trwy

trwy allu Duw i orchfygu y byd, y cnawd, ar cythraul. Ac yr wyf yn deisyfu arnat ti o Arglwydd, na chais mor ymadel â myfi fel y ceisiaist di oddiwrth *Iacob*, o ran bod y *dydd* yn *nessan*, a'th râd dithau yn dechrau *gwawrio* ac *ymddangos*. Canys yr wyf fi o eigion fy enaid, yn ostyngedig yn ymbil gyd a'r *Emmauit* arnat ti, *O Iesu gwyn am drigo gyd â myfi o ran bod y nos yn tynnu yn agos*. Canys y mae *nos profedigaeth*, nos *gorthrymder*, ie fy *hirnos olaf* o farwolaeth, yn nesshau. O fendigedig Iachawdr aros gyd â myfi yr awrhon ac yn dragywydd. *Ac onid aiff dy wyneb di gyd â myfi*, arwain fi i fynu oddiyma. Tyred gyd â myfi a bydd fyw gyd â myfi, a nâd nac i angau, nac i fywyd fy neillduo i oddiwrthit. Gyr fi oddiwrthyf fy hunan a thynn fi attat ti. Gâd i mi fod yn glaf, eithr yn bur ynot ti, ac ymddanghosed dy nerth di yn fyngwendid. Gad i mi fod i'm gweled megis yn farw, eithr fel y byddych di yn vnig i'th weled yn byw ynof fi, fel na byddo fy holl aelodau ddim ond offerau i weithredu ac i ddangos dy ewyllysiadau di. *Gosod fi megis* Exod. 33. 14.

*sêl*

Can.8.6. *fêl ar dy Galon,* a gad i'th *Zel* difod wedi ei gofod ar fy vn innau, megis y bwyf allan o gariad â phawb, fel y gallwyf yn vnig fod mewn cariad â thy-di. A channiadhâ O Arglwydd, fel y rhyngodd bodd i ti yn awr ddangos y ffafr hon i mi, i gael eisteddd ar dy Fwrdd i dderbyn y Sacrament hon yn dy Dŷ o râd: allael o honof yn ôl *hyn trwy dy drugaredd*, gael fy nerbyn i *fwyta ac i yfed ar dy Fwrdd yn dy deyrnas o ogoniant.* Ac am dy drugaredd, yr wyf fi yma gyd a'r *pedwar anifail* ar 24 *o henuriaid yn syrthio ger bron dy Orseddfaingc o râd:* gan gydnabod *mai tydi a'm gwaredodd a'th waed*, a bod iechydwriaeth yn vnig yn dyfod oddiwrthit ti. Ac am hynny i ti yr wyf yn rhoddi y *fendith* a'r *gogoniant*, a *doethineb a diolch, a'r anrhydedd* a'r gallu *a nerth a Mâwrhydi, O fy Arglwydd am Duw yn dragywydd.* Amen.

Yn drydydd, gan weled fod Crist wedi ei aberthu ei hunan drosot ti (a bod y cwbl ar a ellych di ei roddi yn rhy fychan) am hynny mae 'n rhaid i ti dy offrymmu dy hûn i *fod yn aberth bywiol, sanctaidd, a chymmeradwy gan*

*Dduw,*

*Dduw*, gan ei wasanaethu ef mewn *cyfiawnder* a *sancteiddrwydd* yn dy holl ddyddiau. Fal hyn y mae *Tertullian* yn tystiolaethu yr adwaenid Cristion rhagor dyn arall yn ei amser ef, yn vnig wrth ei *sancteiddrwydd* a'i *ymarweddiad buchedddol.*

---

2. *Am y dyledion rheiddiol iw gwneuthur yn ôl y Cymmun yn gysylltedig ar gynulleidfa.*

Y Dyledion iw cyflawni yn gysylltedig a'r Eglwys ydynt dri. Yn gyntaf, diolch cyhoeddus, yn gystal trwy *weddiau* a chanu *Psalmau:* fel hyn y gwnaeth Crist ei hunan a'i Apostolion. Yn ail, vno a'r Eglwys, i roddi (pawb yn ol ei allu) *elusen i'r tlawd.* Hyn oedd ddefod ac arfer y brif Eglwys, sef, gwneuthur casglau, a gwleddau o gariad, yn ol derbyn *Swpper yr Arglwydd*, i borthi angen eu cydfrodyr tlodion. Yn drydydd, pan ddiweddir rhoddi diolch a moliant, yno saf i fynu gyd a'g oll anrhydedd, i dderbyn tanghneddyf Dduw o enau ei

*Wenidog*

*Wenidog* ef,ac iw derbyn yn yr vn modd a pha bait ti yn clywed Duw ei hun o'r nefoedd yn ei hadrodd wrthit. Canys trwy *eu bendith hwynt y mae Duw yn bendithio ei bobl.*

*Hyn am y dyledion sydd iw hymarfer yn yr Eglwys.*

Y Dyledion y rhai sydd raid i ti eu hymarfer yn ol dy *fynediad* adref,ydynt dri: yn gyntaf, ystyried yn ddyfal a ddarfu i ti dderbyn Crist yn ynion yn y Sacrament: yr hyn a elli di yn y modd yma ei ddeall yn hawdd; canys gan weled fod ei *gnawd ef* yn wir fwyd, ai waed yn wir ddiod, a'i fod ef mor llawn o râs, na *chyffyrddodd* neb ag ef erioed drwy ffydd, ond a dderbynniodd rinwedd oddiwrtho, nid possibl fod amgen, os darfu i ti fwyta ei gnawd ac yfed ei waed, nas derbynni di râd a nerth i'm lanhâu oddiwrth dy holl bechodau a'th fudreddi.. Canys os darfu

Num. 6. 23. i'r wraig ni chyffyrddodd ond a'i wisc

Ioa. 6. 56. ef,yn y man gael gan ei diferlif *gwaed*

Marc 5. 29 *sychu*: pa faint mwy y sych difer-lif gwaed dy bechod di, os byddi di yno gwedi gwir fwyta ac yfed *gwir gnawd a gwaed* Crist? Ond os bydd dy

ddiferlif

ddiferlif yn rhedeg yn gyfan, y mae i ti le i dybied yn vnion, na wir gyffyrddaist di erioed â Christ.

Yn ail, gan weled ddarfod i ti dy gymmodi dy hun â Duw, ac adnewyddu dy gyfammod, ac addunedu gwellhâd a newydd-deb buchedd: y mae yn rhaid i ti gan hynny gymmeryd prif ofal, nad ymroddych di i wneuthur y cyffelyb bechodau ond hynny: gan wybod am yr *yspryd aflan*, o chaiff ef byth fyned i fewn ith enaid ti drachefn, *yn ol ei lanhâu ai yscubo, ef a aiff i mewn i gymmeryd meddiant cadarngryf â saith o gythreuliaid* eraill gwaeth nag ef ei hun gyd a'g efo, *ac yno diwedd y dyn hwnnw a fydd gwaeth nai ddechreuad.* Na fydd gan hynny yn debyg ir ci a ddychwelodd at ei chwydion, ci hûn, neu i'r hwch wedi ei golchi, yr hon a ymdreigla yn y dom. Ac na ymchwel at dy lid mal *y wiber*, yr hon sydd yn rhoi ei gwenwyn heibio tra byddo yn yfed, ac ai cymmer ei fynu drachefn pan ddarffo iddi. Eithr pan fyddo, naill a'i *diawl* a'i *dy gnawd* yn cynnyg dy hudo, neu roi codwm i't yn dy bechodau arferedig: Atteb hwynt mal y

2. Pet. 2. 22.

Aa mae

mae 'r eglwys *ynghaniadau* Salomon,
Can.5.3. *dioscais fy mhais ( o'm llygredigaeth a-*
*ferol ) pa fodd y gwiscaf hi, golchais*
*y nhraed pa fodd y diwynaf hwynt?*

Yn olaf, o cefaist di erioed na gor-
oledd na chyssur wrth dderbyn y *Sa-*
*rament sanctaidd*, ymddanghosed hyn-
ny yn dy ddeisyfiad chwannog i'w
Psal.45.7. derbyn drachefn. *Canys corph Crist,*
Heb.1.9. *fel yr eneiniwyd ag olew llawenydd yn*
Can.1.3. *fwy nai gyfeillion*, felly y mae 'n rho-
Psal.34.8 ddi arogl *pereiddiach* na'r holl ennaint
yn y byd: Y mae ei arogl melysber
yn denu yr holl eneidiau ar a'i harch-
waethodd, byth ar ol hynny i ddymuno
yn fynychach brofi ei felysdra drachefn.
*O herwydd arogl dy ennaint daionus,*
Can.1.3. am hynny y llangcesau a'th carant. *O*
*Profwch a gwelwch gan hynny yn fy-*
*nych mor dda yw 'r Arglwydd* medd
*Dafydd:* Dyma orchymyn Crist ei hun,
*Gwnewch hyn er coffa am danaf*, ac
wrth wneuthur hyn di fyddi, yn dy
ddangos dy hun yn fwy *meddylgar* a
*diolchgar* am ei farwolaeth ef. Canys
cyn fynyched ac *y bwytaoch y bara, ac*
*yr yfoch y cwppan hwn, y dangoswch*
*farwolaeth yr Arglwydd nes ei ddyfod.*

A bydded hyn yn brif ddiben o'th Cymmun, ac o'th fywioliaeth: fel y gellych di fod yn Gristion sanctaidd, yn awyddus i weithredoedd da, wedi ymlanhau *oddiwrth bechod, i fyw yn* Tit. 2. 12.
*sobr ac yn gyfiawn*, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awrhon; fel y bych cymmeradwy i Dduw, buddiol i'th frodyr, ac yn ddiddanaidd ith enaid dy hun. hyn yma am y modd i ogoneddu Duw yn dy fywyd.

---

*Yma y canlyn yr arfer o dduwioldeb i ogoneddu Duw yn amser clefyd, y pryd y galwer arnat ti i farw yn yr Arglwydd.*



CYn gynted ac y dealltych ti fod rhyw glefyd yn ymweled â thydi, myfyria wrthit dy hunan:

1. *Na ddaw cystudd* Iob 5. 6.
*allan o'r pridd, ac na flagura gofid allan o'r ddaiar.* Nid yw clefyd yn digwydd yddo o ddamwain neu draingwydd, 1 Sam. 6.
(megis yr oedd *y Philistiaid* yn tybied 9.
fod eu llygod neu glwyf y marchogion

yn

yn dyfod) *eithr oddiwrth anwiredd dŷn, yr hyn a ennyn fel gwreichion.* Y *mae dŷn* (*medd Ieremi*) *yn ymofidio am ei bechod.* Y*nfydion* (medd *Dafydd*) *o blegit eu camweddau, ac o herwydd eu hanwireddau a gystuddir.* Megis gan hynny y mae *Salomon* yn cynghori gŵr i'w ymddwyn ei hûn tu ag at dywysog daiarol: *Pan gyfodo yspryd pennadur yn dy erbyn, nac ymâd a'th le; canys ymostwng a ostega becho-*
Pro.10.4. *dau mawrion:* felly yr wyf fi yn dy gynghori di i wasanaethau Tywysog y tywysogion. Os bydd yspryd yr hwn sydd yn llywodraethu nef a daiar, yn cyfodi yn dy erbyn, na an-obeithied dy galon; Canys y mae edifeirwch yn
2.Cro.15 heddychu am bechodau mawrion. *A*
4. *phwy bynnac a ddychwelo yn ei gyfyngdra at Arglwydd Dduw Israel, ac a'i ceisio ef, efe a'i caiff.*

Cau ddrws dy stafell, ofna *yn dy*
Psal.4.4. *galon ar dy wely ac na phecha, prawa chwilia dy ffyrdd.* Chwilia mor ddyfal am dy bechod marwol, ac y chwiliodd *Iosua* am *Achan* hynny yw, nes iddo ei gael. Canys er bod Duw pan fyddo yn ceryddu ei blant yn craffu ar eu

holl

holl anwiredd, etto y mae ef yn cymmeryd achos yn bennaf i'w ceryddu, ac i fyned ag hwynt i'r *farn*, am ryw achos arbennig, yn yr hon y buont fyw heb edifeirwch.

3. Pan fyddych di fel hyn wedi ystyried dy holl bechodau, ymosod dy hun ger bron Gorseddfaingc Duw, megis lleidr neu lofrudd yn sefyll o flaen Barnwr daiarol, a thrwy gur a gofid calon, cyfaddef wrth Dduw dy holl bechodau adnabyddus, yn enwedig dy feiau marwol, yr rhai sydd fwyaf yn anfodloni Duw. Hyspysa hwynt yn eglur, a dangos y *pryd* y *lle* ar *modd* y gwnaethpwyd, megis y perthyn datcan creulonrhwydd dy bechodau, a maint yw dy edifeirwch am danynt. Cyfod dy ddwylaw a chydnabydda (ger bron Barnwr cyfiawn nef a daiar) dy fod yn euog o farwolaeth, a damnedigaeth dragwyddol, am yr echryslon bechodau a'r anwireddau hynny. A chwedi i ti fel hyn dy *gyhuddo* a'th *farnu* dy hunan; ymddarostwng dy hun ger bron gorseddfaingc ei râd, gan dy sicrhau dy hûn *pa wedd bynnac* yw brenhinoedd *Israel*, etto fod Duw *Israel yn*

*Dduw trugarog:* a llefain wrtho ef o galon ffyddlawn edifeiriol, am drugaredd a maddeuant mor daer a hallyg, ac y clywaist ti ddrwg-weithredwr a fai parod i dderbyn ei farn yn llefain wrth yr *Iesu* am râs a thrugaredd; gan addunedu gwellhâd buchedd, (a thrwy gynnorthwyad ei râd ef) i ochel byth wneuthur y cyfryw bechodau ond hynny, yr hyn oll a elli di ei wneuthur yn y geiriau a ganlyn, neu 'r cyfryw.

*Gweddi pan ddechreuo un fyned yn glaf.*

O Farnwr tra-chyfion yn enw *Iesu Grist*, fy nhad grasusol: myfi bechadur truan ydwyf yma yn dychwelyd attat ti, (er bod dygn boenau gofid yn fyngyrru) megis y Mâb afradlon, trwy newyn ac eisiau. Yr wyf yn cydnabod nad yw y dolur ar penyd hwn yn digwyddo o *ddamwein* neu o *dynged*, eithr trwy dy ragymweliad nefol, a'th prif ragluniaeth: pwys dy law ydyw yr hyn y mae fy mhechod yn ei gyfion haeddu: *a'r hyn a arswydais*

*ais a ddigwyddodd i mi:* etto yr wyf Iob 3 25
yn deall dy fod ti *yn dy lid yn coſio tru-* Hab. 3. 2
*garedd*, pan yſtyriwyf *niſer gorthrymder*
fy mhechodau, ac mor *anaml* ac *eſmwyth*
yw dy *gospedigaethau* di: Di a allaſit
fy nharo i â rhyw farwolaeth ofnadwy
ddiſymmwth, megis na allaſwn i gael
nac ennyd nac amſer, i alw arnat am
râs a thrugaredd; Ac felly y buaſwn
yn diſlannu yn fy mhechodau, ac yn
cael coſpedigaeth dragwyddol yn v-
ffern am danynt.

Eithr yr wyt ti o Arglwydd yn ym-
weled â myfi a'r cyfryw gerydd tadol,
ac a arferaiſt i ymweled a'th plant an-
wylaf, gan roddi i mi (trwy 'r clefyd
hwn) yn gyſtal, rhybydd ac amſer i
edifarhau, ac i ymbil â thydi am râd a
maddeuant. Nid wyf yn cymeryd
gan hynny o Arglwydd moth ymwe-
liad hyn, yn arwydd o ddigofaint na
chaſineb, eithr megis yn ddiogelaf
argoel ac arwydd o'th ffafr a'th ry-
wiogrwydd cariadol, trwy 'r hyn yr
ydwyt ti a'th Farnedigaethau amſerol
i'm tynnu *i'm barnu fy hunan*, ac i edi- 1. Cor. 11 13.
ferhau o'm buchedd anwireddus, me-
gis na byddwn gwedi fy mwrw heibio i

 ddam-

ddamnedigaeth gyd a'r ſtyfnig annuwiol gynnulleidfa. Canys y mae dy air
Heb. 12. 6, 7. ſanctaidd yn fy ſiccrhau mai 'r *hwna geri yr wyt ti fel hyn yn ei gospi: ath fod yn fflangellu pob mâb a dderbynni*: ac os goddefaf fi dy goſp, dy fod *yn ymgynnyg dy hûn i mi megis ith Fâb, a bod yr holl rai a barhânt i bechu, ac er hynny yn diangc yn ddi-gerydd* (o'r hyn y mae dy holl blant yn gyfrannogion) *yn ordderchiaid*, ac nid yn feibion: ath fod ti yn fyngheryddu o ran fy llês, megis y gallwn fod yn *gyfrannog o'th ſanctciddrwydd.* O Arglwydd mor llawn o ddaioni yw dy anian, mor raſuſol y gwnaethoſt di â myfi yn amſer fy icchyd am helaethrwydd? ac yr awrhon gwedi dy gyffroi o herwydd fy mhechodau am anniolchgarwch, yn trefnu y cyfryw *dadol* a *buddiol* gerydd, a hwn er mwyn lleſol *ddiben* i mi?

Yr wyf yn cyfaddef, Arglwydd, dy fod ti yn dra chyfion yn cyſtuddio fyngorph i â chlefyd: Canys yr oedd fy enaid yn glaf o'r blaen gan hir *hawdd-*
Eze. 19 19. *fyd*, ac yn rhylawn o eſmwythdra tanghneddyf, helaethrwydd, a digonedd bara. Ac yr awrhon O Arglwydd,

yr

yr wyf yn alaru ac yn alaethu am fy mhechodau;*yr wyf yn cydnabod fy anwiredd am pechodau sydd yn oestad ger fy mron.* Oh pa fath bechadur truan wyf fi, gwag o bob daioni o herwydd fy natur,a llawn o bob drygioni o herwydd ymarfer pechadurus. Oh pa âth aneirif liaws o bechodau a wneuthum yn derbyn di, tra 'r oedd dy hir ymaros yn disgwyl wrth *fyn road*, a'th fendithiau yn fy hudo i edifeirwch. Etto o fy Nuw, gan weled fod yn *briodoldeb* i ti, edrych yn fwy ar dy anian dy hun, nac ar haeddedigaethau pechaduriaid; yr wyf yn attolygu i ti o Dâd, er mwyn *dy fab Iesu Grist*, ac er mwyn haeddedigaethau ei *oll iachusawl* farwolaeth, yr hon yn ewyllysgar a oddefodd ef tros bawb a gredent ynddo. Psal. 51. 1. 11.
*Trugarhawrthyf yn ol lliaws dy drugareddau, tro dy wyneb heibio oddiwrth fy mhechodau, a deleua fy holl anwireddau:* na fwrw fi ymmaith oddiger dy fron di, *ac na thâl i mi yn ôl fy haeddedigaethau.* Psal. 25. 7.
Canys os gwrthodi di fi pwy am derbyn? Neu pwy a rydd i mi achles os bwri di fi ymmaith? eithr ty di o Arglwydd ydyw *ymwared y*

*di-ymwared*, canys *ynot ti y caiff y ymddifad drugaredd*. O blegit er bod fy mhechodau yn an-gerddol, etto y mae dy drugaredd o Arglwydd yn fwy nac hwynt oll.

Ac ni allaf fi drofeddu cymmaint ac a eill dy râd ti ei gyd-ddwyn a'i fa-ddau, *Golch* gan hynny, o Crift, fy mhechodau â rinwedd dy werthfaw-roccaf waed, yn enwedig y pechodau y rhai o galon edifeiriol a gyfaddefais wrthit. Yn bendifaddau o Arglwydd er mwyn Iefu Grift maddau i mi*. A chan weled mai o'th cariad y dodaift i lawr dy einioes yn *bridwerth* drofof, pryd yr oeddwn yn elyn i ti: O gwa-red yn awr werth dy waed dy hun, o ran ni chyft i ti ddim ond vn wên ga-riadus i edrych arnaf, neu ymddangos yn rafufol yngolwg dy Dâd trofof fi. Gwna fy vndeb i vnwaith drachefn, at dy dad, gyfryngwr trugarog, canys er nad oes dim ynof fi a eill ryngu bodd iddo ef, etto mi wn mai ynot ti, ac er dy fwyn di, y bydd ef bodlon i bawb ar a dderbynnych ac a gerych di. Ac os dy ewyllys bendigedig yw, fymmud y clefyd hwn oddiwrthif, ac adfe-

*Yma henwa'r pechod fydd yn pwyfo fwyaf ar dy gydwybod.

ra.

ra fi im hiechyd cynefin drachefn; fel y gallwyf fyw yn hwy i osod allan dy ogoniant di, ac i fod yn ddiddanwch im cynyfcifiaid, y rhai fydd a'i goglyd arnaf: ac i ynnill i mi fy hunan fwy dio-gelthwydd am gael meddiannu yr etife-ddiaeth nefol, yr hon a baratoist di i mi. Ac yno, Arglwydd, y cai di weled mor gall a chrefyddol y gwaredaf fi 'r amser, yr hon or blaen a ddarfu ei mi dreilio mor ddiffaeth ac mor halogaidd. Ac er mwyn caffael o honof fi yn gynt ac yn haws ymadel ar pennyd, ac ar clefyd hwn, cyfarwyddda fi O Arglwydd, yr wyf yn attolwg it oth ragluniaeth go-ruchel, at y fâth physygwr, neu feddig, megis y gallwyf (o herwydd dy waith yn bendithio dy foddion, gael fynghy-nefin iechyd am esmwythder drachefn megis or blaen. A chennadhâ Argl-wydd daionus, megis y danfonaist y clwyf hwn attaf, felly ryngu bodd i't ddanfon dy Yspryd glân im calon, trwy 'r hwn y gallo y clefyd hwn fod wedi ei sancteiddio i mi: fel y gallwyf ei arfer megis dy *yscol di*, yn yr hon y gallwyf ddyscu adnabod mawredd fy nhrueni, a galluogrwydd dy drugaredd,

fel

fely byddwyf mor oſtyngedig o ran y naill, megis na anobeithiwyf o'r llall: ac fel y gallwyf felly wadu a ſhei-ddio oll obaith o gynnorthwy a ddichon fod ynof fy hun, neu mewn nebryw greadur arall, fel y gallwyf yn vnig oſod yr holl gwbl hyder o'm hiechydwriaeth yn dy oll haeddedigol haeddedigaethau. Ac yn gymaint a'th fod ti yn gwybod o Arglwydd, y fâth leſtr gwan wyf fi, llawn o leſcrwydd ac amherffeithrwydd, am bod o herwydd fy natur yn ddigus, ac yn amhwyllig i oddef gwrthwyneb a chyſtudd.

Iag.1.17. Ioa.3.27 O Arglwydd yr hwn wyt *roddwr pob dawn daionus*, gwiſc fi ag ammynedd i oddef ac i dderbyn dy ſendigedig e-

1.Cor.10 13. wyllys a'th ymweliad, ac o'th drugaredd na oſod fwy arnaf, nag a allwyf fi ei oddef a'i gynnwys. Dod i mi râs i'm ymddwyn fy hun mewn oll ammynedd, cariad, a gweddeidd dra, tu ag at bob rhai a ddelant i ymweled a myfi, fel y gallwyf dderbyn yn ddiolchgar, ac yn ewyllyſgar gofleidio yr holl gynghorion, ar cyſſurau daionus a ddêl oddiwrthynt: ac megis y gallont hwy vn agwedd weled ynof fi, y

cyfriw

cyfryw ſiamplau daionus *o ddioddefgarwch*, a chlywed gennif y cyfryw addyſc dduwiol o *ddiddanwch*, ac a fytho; yn dyſtiolaeth, neu hysbyſrwydd eglur o'm ffydd am crefydd griſtianogawl: Ac yn athrawiaeth iddynt hwy i'w hymddwyn eu hunain, pan ryngo bodd i't ymweled ag hwynt ar cyfryw orthrymder a chlefyd. Mi wn o Arglwydd fy mod yn haeddu marwolaeth, ac nid wyf yn dymuned byw ddim hwy, nac y byddwyf i wellhau fy muchedd anwireddus, ac mewn mesur gwell i oſod allan dy ogoniant. Gan hynny o Arglwydd, os dy fendigedig ewyllys yw, dyro i mi fynghynefin iechyd drachefn, a channiadhâ i mi hoedl hwy. Ond os darfu i ti yn ol dy ragluniaeth dragwyddol, bennodi y clefyd hwn i'm galw allan o'r bywyd darfodedig yma: yr wyf yn fy ymroi fy hunan i'th law di: *bydded dy ewyllys bendigedig*, pa vn bynnac a'i bywyd a'i marwolaeth: yn vnig yr wyf yn attolwg i't o'th drugaredd faddeu i mi fy holl bechodau, a pharatoi fy enaid truan, megis trwy wir ffydd a diffuant edifeirwch, y gallo ef fod yn barod erbyn Pſa. 31. 5.

byn yr amser y gelwych di amo a-
llan o'm corph clwyfedig pechadurus.
O Arglwydd Dâd, *yr hwn a wrendewi*
Psal.65.2 *weddi*, clyw yn y nefoedd y weddi hon
a wneuthum, ac yn y cyfyngder hyn
canniadha i mi fy nymuniad, nid er
mwyn vnrhiw deilyngdod sydd ynof
fi, ond er mwyn haeddedigaethau dy
*anwyl Fab Iesu*, fy vnig Iachawdr am
cyfryngwr, er mwyn yr hwn i'r adde-
waist di wrando arnom, a channiadhau
Ioa.16.23. i ni pa beth bynnac a ofynnom yn ei
enw ef. Yn ei enw ef gan hynny, ac yn
yn ei eiriau ei hun, y terfynaf fi fy
amherffaith weddi hon, gan ddywedyd.

*Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd. &c.*

Gwedi i ti fel hyn dy gymmodi dy
hun â Duw *yng-Hrist*.

1. Bydded dy ofal nessaf di i osod
*dy dŷ mewn trefn a llywodraeth*, yn ôl
cyngor *Esai i'r Brenin Ezechias*: gan
wneuthur dy *ewyllys olaf*, a'th lythyr
Cymmun (onis bydd gwedi ei wne-
uthur) os bydd wedi ei wneuthur,
yno edrych yn fanwl a sicrhâ ef, ac
er mwyn cael gwared a gochelyd pob
ammheuon ac ymrafaelion, cyhoe-
dda

dda ger bron tystion: megis pan alwo Duw arnat ti allan o'r byd hwn y gallo fod mewn ffrwyth heb ei ail-gyfnewid, yn lle dy wir *feddwl* a'th ewyllys *olaf*: ac yno traddoda ef gwedi cloi arno neu ei selio mewn rhyw *flwch*, i gadwraeth rhyw gefaill fyddlon, yngwydd tystion onest bucheddol.

2. Eithr wrth wneuthur dy lythyr Cymmun cymmer addysc Eglwyswr duwiol, am y modd i gyfrannu dy elusenni; a chyngor gwr o gyfraith vniawn-ddoeth, i'w dynnu yn ôl cyfraith.

Pryssura i wneuthur hyn cyn i'th clefyd gynnyddu, a'th cof ddiflannu, rhag i'th lythyr Cymmun brisio i fod yn gwmbrysrwydd, ac felly i fod wrth fodd vn arall yn hytrach nac yn *ewyllys* i ti.

3. I dorri ymmaith amryw ymrafaelion, mi a ewyllysiwn i ti feddwl am ddau-beth:

1. Os bydd Duw wedi dy fendithio di â golud bydol, gwna dy *ewyllys* yn amser dy iechyd: ni wna hyn nath pellhau di oddiwrth dy dda, nath yrru di yn gynt i farw; eithr fe fydd hyn yn fwy esmwythder i'th feddwl, i'th

ryddhau

ryddhau di oddiwrth drafferth a blinder mawr, y pryd y byddo arnat ti fwyaf eisiau llonyddwch. Canys pan fyddo dy dŷ di wedi ei osod mewn *trefn*, di a fyddi yn gallael yn hawsosod dy enaid *mewn trefn*, a darparu o'th lwybr, a'th taith tu ag at y *Goruchaf*.

2. Os bydd i ti Blant, dod i bob vn o honynt gyfran yn ol dy *allu*, yn amser dy fywyd; megis y byddo dy fywyd yn ymddangos yn esmwythder, ac nid yn *iau* neu yn warcha arnynt: etto dôd felly, fel y byddo dy blant yn oestadol yn rhwymedig i ti, ac nid tydi iddynt hwy. Eithr os cedwi di y cwbl yn dy ddwylaw tra byddych yn fyw, hwynt hwy a allant ddiolch i farwolaeth, ac nid i ti am y *cyfran* a adewaist ar dy ôl iddynt. Os byddi di yn ddi blant, a Duw wedi dy fendithio â chryn gyfoeth o'r byd hwn, ac o meddyli di eu roddi tu ag at elusenaidd neu dduwiol weithred, na throsclwydda mor gwaith hwnnw i ymddiriaid rhai eraill, gan weled cynifer sydd o secutorion dynion yn prifio i fod yn fradwyr. Ac. os yw cyfeillion

mor

mor anffyddlon ym mywyd dŷn, pa faint mwy o achos sydd i ti i anghoelio ei ffyddlondeb hwynt ar ôl dy farwolaeth?

Y mae *siamplau* galarus yn dangos pa gynifer o *ewillysiau* 'r meirwon, yn hwyr o amser, naill a'i a guddiwyd, neu a fwriwyd i lawr, neu trwy *ddichellion* ac atcasfrwydd cyfraith a drowyd yn ôl, neu a ddifuddiwyd: lle na ddylid wrth gyfraith Dduw torri ar ewyllys y marw: ond bod ei holl amcanion duwiol gwedi eu gwneuthur i ben, a'i cyflawni yn gydwybodus, megis yngolwg Duw, yr hwn yn nydd yr *adcyfodiad*, a fydd *Farnwr cyfion i'r byw a'r marw.* Ac os digwydda i ddun yn ei ewyllys ef fod yn *fwysaidd* neu yn *ambeuus*, fe ddylid ei ddirnad y ffordd orau, megis y byddo yn dyfod nessaf at anrhydedd Duw, a meddwl gonesd y *testator*, sef y marw. Eithr discynned y dial dyledus i'r cyfryw weithredoedd anghristnogawl, ar ben y rhai a'i gwnelant: ac nid ar y deyrnas lle 'r ydis yn cynnwys eu gwneuthur. Cymered gwyr cyfoethogion eraill, rybydd oddiwrth y cyfryw siamplau gresynaidd, i beidio a phri-

Gal. 3. 15
Heb. 9. 17
2. Cor. 5. 10.
Rhuf. 2. 15.
1. Cor. 4. 5.
Act. 7. 32
32.

*Dedwydd yw a chall ei rol a diangol yn y derfyfc yr hwn a gymer rhag bod gwall o berigl arall a ddyfei*

a phriodi eu meddyliau a'i harian fel na wnelont ddim daioni a'i da, nes i farwolaeth eu hyfgar hwynt.

*Matrimonium inter Aurum & Arcam, diuortium inter Deum & Animam,* Aug.

fef:

*Priodau rhwng yr aur ar gist*
*Mae'n chwedl trist go arw*
*Yscar fydd, fydd ryw-ddydd raid,*
*Rhwng Duw ar enaid hwnnw.*

Wrth hynny gan yftyried fyrred yw dy enioes, ac anhyfbrwydd o weithredoedd cyfiawn rhai eraill ar ôl dy farwolaeth, yn y dyddiau anghyfiawn hyn: gâd i mi dy gynghori di (yr hwn a fendithiodd Duw â galluogrwydd, ac a meddwl i wneuthur daioni) i fod yn dy einioes yn *administrator* neu yn weinidogaethydd i ti dy hunan, gan wneuthur dy ddwylaw dy hun yn fecutorion, ath lygaid dy hunan yn olygwyr, pair i'th *lufern* roi goleuni o'th flaen, ac nid o'th ôl, dôd i Dduw y

gogoni-

gogoniant ac ti a gei gantho ef mewn
amser dyledus, dderbyn dy wobr ath
taledigaeth. yr hyn o'i ras a'i drugaredd
a addawodd ef i'th weithredoedd da.

4. Gwedi i ti fel hyn osod dy dŷ
ath enaid mewn trefn,( o bydd rhif go-
sodedig dy ddyddiau heb ragderfynu)
naill a'i fe gymmer Duw drugaredd Iob 14.5
arnat ti ac a ddywaid: O *Angau ang-* Iob 33.
*henfol gollwng ef rhag descyn o honaw* 24.
*i'r clawdd, my fi a gefais iawn:* Neu
oi dadol ragluniaeth ath cyfarwydda 2.Bren. 20.7.
di at y fâth physygwr, ac at y fâth fo- 2.Bren.5 7,8,10.
ddion, megis trwy ei fendith ef ar ei Ioa.6 7.
waith, y ceffych gynefin iechyd dra-
chefn. Eithr mewn vn modd gochel
di na neb trosot, ddanfon at *swynwyr*,
*dewiniaid*, neu *gonsurwyr*, am ymwared:
Canys hyn a fyddai adael *Duw Israel*,
a myned at *Baalzebub* Duw Ecron, am 2.Bre.1.
gynnorthwy; megis y gwnaeth *Aba-* 23.
*ziah* felldigedig, a thorri yr adduned
yr hon a wnaethost di a'r bendigedig
*Drindod* yn dy *Fedydd*: a bydd ddi-
ogel na rydd Duw ei fendith ar y
*moddion* a felldigodd ef: Ond os cyn-
nwys ef *Satan* i iachau dy gorph di, of-
na fod hynny yn tueddu at ddamnedi-

gaeth

gaeth dy enaid. Yr wyt ti yn cael dy brofi; gochel.

Leuit.20 9. 5. Pan fych di wedi danfon am y *Physygwr*, gochel roddi dy ymddiriaid
Deut.13. 3. yn y *Physygwr* yn hytrach nac yn yr *Arglwydd*, megis y gwnaeth *Azah* am yr hwn y dywedir, nad oedd ef yn ymgeisio ar Arglwydd yn ei ddolur, onid ar Physygwr: yr hyn sydd fâth ar ddelw-addoliad, ac a ennyn *lidiawgrwydd yr Arglwydd*, ac a wnaiff y physygwriaeth a gymmerer yn anfuddiawl ac anffrwythlawn. Arfer gan hynny o physygwr megis o offeryn Duw, a physygwriaeth megis o *foddion* Duw. A chan weled nad yw gyfreithlon heb weddi dderbyn llyniaeth cyffredinol, 1. Tim. 4. 4. llai o lawer physygwriaeth anghyffredinol (ffrwyth daionus yr hyn sydd yn sefyll ar law Dduw: cyn cymeryd physygwriaeth, *gweddia* gan hynny yn galonnog at Dduw, am ei fendithio yn dda ar dy les, yn y geiriau hyn, neu 'r cyfryw.

*Gweddi*

## *Gweddi o flaen cymmeryd physygwriaeth.*

O *Dad* trugarog, yr hwn wyt Arglwydd yr *iechyd* ar *clefyd*, y *bywyd*, a'r *farwolaeth*, yr hwn wyt yn
lladd, ac vn gwneuthur yn fyw, *yr* 1 Sam.2.
*hwn sydd yn dwyn i wared i'r bedd ac* 6.
*yn dwyn i fynu.* Yr wyf yn dyfod attat, megis at yr vnig *physygwr*, yr hwn a ddichon iachau fy *enaid* oddiwrth *bechod*, am corph oddiwrth *glefyd*. Nid wyf yn deisyfu na bywyd na marwolaeth, ond fy ymroi fy hun i'th ewyllys bendigedig. Canys er bod yn rhaid i ni *farw*, *a chwedi ein meirw, bod o'n bywyd megis dwfr a dennid ar y*
*ddaiar, yr hwn ni ellir moi gasclu dra-* 2.Sam.14
*chefn,* etto fe ddarfu i'th rasusol rag- 14.
ymweliad (tra byddo anadl yn gwasanaethu) ddarparu a threfnu *moddion*, y rhai a fynni di i'th plant eu harferu, a thrwy arfer cyfreithlon o honynt, i ddisgwyl dy fendith ar dy foddion dy hunan, er mwyn iachâd o'i clefydau, ac adferiad o'i hiechyd iddynt. Ac yr awrhon o Arglwydd yn fy angenoctid

hyn,

hyn, fe ddarfu i mi yn ol dy drefne-
digaeth dda fod am dy was, (y phy-
sygwr) yr hwn a baratoadd i mi y
p ysygwriaeth yma, yr hwn yr wyf
yn ei dderbyn megis moddion gwedi
eu danfon o'th tadol a'th cariadol law:
yr wyf yn attolwg it gan hynny. megis
Esa. 38. 21. trwy dy fendith ar y swp o ffigus y
meddiginiaethaist friw *Ezechias* fel yr
iachauwyd ef: A thrwy ymolchi saith
waith yn afon *Irddonen* y glanhaist *Na-
aman* y Siriad o'i wahanglwyf: ac y
rhoddaist ei olwg i'r dŷn oedd ddall o'i
enedigaeth, wrth *iraw ei lygaid a'r clai*
Ioa. 9. 6, 7. *ac a'r poer*, a thrwy ei ddanfon ef i ymol-
chi i lyn *Siloam*: ac wrth *gyffwrdd a'th
law* * â *mam gwraig Petr*, a'i iachauaist
* Chwegr
hi o'r Crŷd: ac a iachauaist y wraig a
c. 8. gyffyrddodd *ag ymyl dy wisc*, *oddiwrth
y diferlif gwaed*: felly o rhyngа bodd
it o'th aneirif ddawn a thrugaredd;
sancteiddia y *physygwriaeth hyn i fod yn*
fuddiol i mi, dôd y cyfryw fendith
arno fel y gallo (os dy ewyllys ben-
digedig yw) symmud y clefyd hwn a'r
boen oddiwrthif, am hadferu, am rhoi
i'm hiechyd am nerth drachefn. Ond
os yw rhif y dyddiau, y rhai a ordaist

i mi i fyw yn y dyffryn hwn o drueni, yn tynnu at eu diben, a darfod i ti ddanfon y clefyd hwn megis yn gennad i'n galw i allan o'r bywyd marwol hwn, yno *Arglwydd bydded dy ewyllys bendigedig.* Canys yr wyf yn fy ymddarostwng fy hunan i'th ragluniaeth bendigedig. Yn vnig yr wyf yn deisyfu arnat chwanegu fy ffydd am hammynedd, ac na âd i'th râd a'th trugaredd fod byth yn ddiffygiol i mi, eithr ym mhlith fy holl gyfyngderau, cynnorthwya fi a'th lân Yspryd, fel y gallwyf yn ewyllysgar ac yn gysurlawn roddi i fynu fy enaid (gwerth dy waed ti) i'th rasusol ddwylaw a'th gadwraeth. Canniadha hyn O Arglwydd er mwyn *Iesu Grist*, i'r hwn gyd â thi a'r Yspryd glân, y byddo oll anrhydedd a gogoniant, yr awr hon ac yn oes oesoedd. Amen. Iob 1

*Myfyrdod*

## *Myfyrdod i'r claf.*

TRa byddo dy glefyd yn parhau, arfer yn fynych ( er mwyn dy ddiddanwch a'th cyssur ) yr ychydig *Fyfyrdodau hyn*, y rhai a gymmerir allan o'r *dibennau*, o herwydd pa rai y mae Duw yn danfon cystuddiau i'w blant: sef y rhai hyn.

1. Megis trwy gystuddiau y gallo Duw nid yn vnig 'geryddu ein pechodau a aethant heibio, eithr hefyd gweithredu ynom gasineb dysnach i'n hanian llygredigol, ac felly yn rhagflaenu,ac achub y blaen arnom ni, rhag eu ni syrthio i lawer o bechodau eraill, i'r rhai oni bai hynny,y rhedem ni yn yngwrth : Megis *tâd da* yr hwn sydd yn cynnwys i'w blentyn losci ei fys yn y gannwyll, fel y gallo ef yn hytrach ddyscu gochelyd cwympo mewn *tân a fyddo mwy*. Felly y gall plentyn Duw ddywedyd gyd â *Dafydd*: da i mi fod wedi fy *ngystuddio, fel y gallwyf ddyscu dy gyfreithiau. Canys cyn fynghystuddio mi gyfeiliornais, ond yr awrhon mi*

*mi gadwaf dy air.* Ac medd S^t *Paul* yr Psal.119.
ydym ni *yn cael ein cospi gan yr Ar-* 67.
*glwydd rhag ein damnio gyd ar bŷd.* Ag 1.Cor.11.
vn gosp y mae Duw yn gwneuthur dau 32.
feddyginiaeth, cerydd am bechodau a
aethant heibio, ac achub y blaen ar y
pechod sydd i ddyfod. Canys er bod
tragwyddol gospedigaeth am bechod
(fel y mae yn deilliaw oddiwrth gy-
fiawnder) yn cael ei gyflawn *faddeu-
ant yn aberthiad Crist*: etto nid ydym
ni (heb ein difrifol farnu ein hunain)
wedi ein rhyddhau oddiwrth amserol
gerydd am bechod; Canys y mae
hyn yn vnig yn deilliaw oddiwrth ga-
riad Duw er daioni i ni. A hyn yw'r
achos a'r rheswm, y dywedodd *Na-
than* i *Ddafydd* (oddiwrth yr Ar-
glwydd) fod ei *bechod ef wedi ei dyn-* 2.Sam.18
*nu ymmaith*, etto na ymadawai *cleddyf* 10.
*cospedigaeth* a'i dŷ ef: ac *y cai ei fab
ef farw yn ddiau.* Canys Duw megis
physygwr celfyddgar, yn gweled yr
enaid wedi ei wenwŷno gan anwi-
redd cyfanneddol, ac yn gwybod mai
llywodraeth y cnawd a ddenai ddi-
nistr i'r yspryd, sydd yn trefnu i ni
chwerwaidd lymmeidiau ô orthrymder,

trwy 'r hyn y mae gweddillion pechod yn cael ei buro; a'r enaid yn cael ei iachau yn bureiddiach; y cnawd ei ymddarostwng, a'r yspryd ei sancteiddio: O atcasrwydd pechod yr hwn sydd yn peri i Dduw geryddu ei blant mor drwm, yr rhai oni bai hynny, a garai ef yn *anwyl.*

Heb. 12. 6,7. 2. Y Mae Duw yn danfon gorthrymder i selio i ni ein *mabwysiad*: Canys y neb y mae 'r Arglwydd yn ei garu y mae ef yn ei gospi: ac nid yw ond mâb ordderch, yr hwn nid yw yn cael ei geryddu. *A phrif nôd* diammau yw, lle mai Duw yn gweled pechod ac heb geryddu neu fflangellu, yno y mae ei gâs, ac nid e'i gariad. Am hynny y dywedir, iddo ef gynnwys meibion anwireddus Eli i barhau yn eu pechodau yn ddi-gosp: *am y mynnei yr Arglwydd eu lladd hwynt.* O'r tu arall nid oes vn arwydd nac argoel hynodach *o dadol gariad Duw a'i ofal,* na chael cerydd, neu ryw wrthwyneb, cyn fynyched ac y gwnelom ni vn bai pechadurus. Gorthrymder gan hynny ydyw fel o *fabwysiad* ac nid arwydd o fellidigedigrwydd. Canys yr

1. Sam. 2.25.

syd

ŷd pura a nithir yn lanaf, yr aur glanaf a amheuir yn fynychaf, ar Cristion vnionaf a wrthwynebir yn drymmaf.

3. Y mae Duw yn danfon gorthrymder, i ddiddyfnu ein calonnau ni, oddiwrth ormodd serch i'r byd hwn a gwagedd bydol; ac i beri i ni yn fwy difrifol ddymuned a hiraethu am fywyd tragwyddol. Canys *megis plant yr Israel* (oni buasai iddynt gael caethiwed a drygfyd yn yr Aipht) ni buasent fyth mor ewyllysgar i fyned tu a gwlad *Canaan*: felly oni bai y gwrthwynebion ar gorthrymderau yn y bywyd hwn, ni byddai blant Duw mor ewyllysgar, yn dymuno, ac yn hiraethu o eigiawn eu calonnau, am deyrnas nefol. Canys yr ydym ni yn gweled llawer o *Epicuriaid* (sef gloddestwyr neu wyr glythion) a fyddent fodlon i ado 'r nefoedd, tan ammod y caent hwy yn oestad feddiannu eu difyrrwch bydol a'i trachwantau cnawdol, (ac o ran na ddarfu iddynt archwaethu gorfoledd gwell) mor anewyllysgar ac anhawdd yw genthynt 2. Cor. 12. ymadel ar bywyd hwn? Lle mai 'r Apostol (yr hwn a welodd ogoniant

ynef) yn dywedyd i ni nad oes mwy cyffelybiaeth rhwng gorfoledd *y bywyd tragwyddol*, a llywenydd y byd hwn, nac sydd rhwng y dom budraf, a'r bwyd blasusaf: neu rhwng y dommen fryntaf a'r ystafell deccaf. Megis gan hynny y mae'r fammaeth gariadus yn rhoi *wermwod* neu fwsdard ar ei mynwes, i beri i'r *plentyn* yn hytrach gashau y fron: felly y mae Duw yn cymysgu gorthrymder weithiau, ynghyd â llywenydd a hawddfyd y byd hwn, rhag yddynt (fel plant y genedlaeth hon,) anghofio Duw, a syrthio mewn gormodd cariad i'r byd presennol anwireddus hwn; ac felly myned yn falch o ran eu cyfoeth, o ran eu geirda yn vchel, o ran eu *rhydd-dyd* yn afiaethus: *a gwingo eu sodlau yn erbyn yr Arglwydd pan elent yn freision.* Canys os
Deut. 32. 15. bydd plant Duw yn caru y byd hwn gystal, pan fyddo ef (*megis llysfam felldigedig*) yn ein curo a'n ceryddu, pa fodd y carem ni *y Butain* hon, pe byddai hi yn gwenu arnom, ac yn ein gorllyfnu ni, megis y gwna hi a'i *chywion bydol?* Fel hyn y mae duw (mal Tâd cariadus tradoeth) yn cymmyscu a

chwerwedd

chwerwedd gwrthwynebion, lawenydd y bywyd hwn i'w blant, megis (gan weled nad oes dim gwir a thrigannol orfoledd, yn y cyflwr bydol hwn) y gallont ochencidio a hiraethu am fywyd tragwyddol*, Lle mai diogel a gwasdadol dragwyddol orfoledd i'w gael a'i feddiannu. 1.Pe.1.7.

4. Trwy orthrymder cystudd a chlefyd, y mae Duw yn meithrin ei blant, a'r rhadau y mae ef yn eu ganniadhau iddynt. Mae ef yn pureiddio ac yn profi eu ffydd hwynt, megis y mae y Gof aur am ei aur yn y ffwrn, i'w wneuthur i ddiscleirio, yn loiwach ac yn oleuach: y mae ef yn ein cynhyrfu ni i weddio yn fwy dyfal a difrifol, i ddangos pa ammynedd a ddyscasom yn ei yscol ef. Yr vnrhyw brofedigaeth y mae ef yn ei wneuthur *o'n ffydd ni*, an cariad, a'r holl gwbl o'n rhinweddau cristianogawl: yr rhai heb eu brofi a'i hedrych, a *rydai* megis hauarn allan o waith; neu a lygrai fel dyfroedd safedig, yr rhai ydynt naill a'i heb redfa, neu heb eu tywalld *o lestr i lestr: archwaeth y cyfryw, ydynt vnmodd bob amser, ai harogl heb gyfnewid.* A phwy

ni ddymunai gael ei gyfnewid o gyflwr i gyflwr, trwy wrthwynebion a doluriau i iechydwriaeth, o flaen cael ei iechyd i ddilyn ei anian llygredigol i *ddamnedigaeth?* Canys megis y mae y *Camomil* yr hwn a sethrir yn tyfu yn orau, ac yn bereiddiaf ei arogl: Neu fel y mae y pyscodyn yn felysaf, yr hwn sydd yn byw yn y dwfr halldaf: felly yr eneidiau hynny ydynt fwyaf gwerthfawroccaf gan *Grist*, y rhai a arferir ac a orthrymmir fwyaf a'i *Gystuddi*ef.

5. Y mae Duw yn danfon cystuddiau, i ddangos i'r byd ffyddlondeb cariad a gwasanaeth ei blant ef. Pob *rhagrithiwr* a wasanaetha Dduw tra byddo yn llwyddo, ac ai bendithia ef, megis yr oedd Satan yn heuru ar gam fod *Iob* yn gwneuthur: Eithr pwy

Iob 1.9, 10. (ond ei Fab anwyl) a'i car ac a'i gwasanaetha ef mewn adfyd, pan fyddo Duw yn ymddangos megis yn ddigllon ac yn anfodlon wrtho? Ie a glynu wrtho ef yn dynn ac yn ddi-wahanol pryd y byddai ef (yn cuchio yn erwinaf) yn gwrthod dyn, neu yn ei daflu allan o'i ffafr: ie pryd y byddai ef yn briwo ac yn lladd megis pe bai elyn:

ie

ie yno i ddywedyd gyd â *Iob*; *Pelle-ddit ti fi o Arglwydd mi a obeithiaf ynot ti?* Caru a gwasanaethu Duw a gobeithio yn ei drugaredd yn amser ein cerydd a'n trueni, ydyw *y nôd hynodaf ar wasanaethydd, a phlentyn hyspysol i'r* Arglwydd. Iob 13. 15.

*6.* Cystudd sanctciddiedig sydd gynnorthwy neu gymmorth odiacthol, i ennyn ac i hyfforddi ein gwir droad, ac i'n gyrru ni ym mlaen trwy edifcirwch at ein Tâd nefol: *yn eu hadsyd* (medd yr Arglwydd) *i'm borau geisiant.* Beichiau yn yr *Aipht* oedd yn peri i *Israel*, feichio a'r Dduw. Cyfyngder oedd yn peri i *Ddafydd* weddio. Clefyd *Hezechias* a wnaeth iddo ef wylo. A thrueni a wnaeth i'r *Mâb afradlon* ddychwelyd ac ymbil a'i Dâd am *râs a thrugaredd.* Hefyd yr ydym ni yn darllain am lawer yn yr *Efengyl* (trwy glefydau a gofidiau) a yrrwyd i ddyfod at Grist, y rhai, pe cawsent iechyd a hawddfyd (fal eraill) a fuasent yn esceuluso, ac yn diystyru eu *Hiachawdwr*, ac ni cheisiasent fyth gantho ef, nac iechyd, na rhâd cadwedigol. Canys fel *Arch Noab* pa vchaf Exod. 3. 7 Psal. 86. 7. Esa. 38. Luc. 15. 16.

y curid ef gan y llifeiriant, negoſſaf yr oedd ef yn ymgyfodi tu ag at y nefoedd: felly yr enaid ſancteiddiedig, pa fwyaf y curir ef â gofid, negoſſach y mae yn ymdderchafu tu ag at Dduw. Oh bendigedig ydyw y gofid neu 'r gwrthwyneb hwnnw, yr hwn ſydd yn denu pechadur o eigion ei galon i ddyfod at Griſt, i gyfaddef ei drueni ei hun, ac i ddeiſyfu ei drugaredd anherfynol ef: Oh bendigedig, ie trabendigedig a fyddo 'r Criſt hwnnw, yr hwn nid yw vn amſer yn gwrthod y pechadur a ddêl atto ef, er ei fod yn dyfod gwedi ei gurfa o *gawodau* gofid a thrueni ei yrru.

7. Y mae cyſtudd yn gweithredu ynom ni drugaredd a thoſturi tu ag at ein cyd-frodyr, yr rhai ſydd mewn ing a thrueni: ac yn dyſgu i ni feddwl a chyd ymwrando a'i gofidiau hwynt: ac i refynu eu cyflwr hwynt, megis pe byddem ni yn cyd ddioddef gyd ag hwynt. Ac er mwyn yr achos hon y mynnai Griſt ei hun ddioddef, a chael ei *demptio* ymhob peth fel ninnau, eithr heb pechod, fel y gallai fod yn *Arch-offeiriad* mawr, i doſturio wrth ein

Heb. 13, 3.
Heb. 4. 13.

gwendid

gwendid ni. Canys ni eill neb mor gallonnog dosturio wrth drueni y llall, ond yr hwn a ddioddefodd ei hun yr vnrhyw gystudd. Yn hyn o beth y geill pechadur yn ei drueni, yn hyf ddywedyd wrth Grist:

*Non ignare mali miseris succurrito Criste.*

*Nid yw ddieithr i ti gledi,*
*Arglwydd ymwel â thrueni.*

8. Y mae Duw yn arfer o'n clwyfo ac o'n cystuddio ni, megis yn foddion a siamplau i ddangos, ac i egluro i rai eraill y ffydd a rhinweddau a ganniadhâodd efe i ni; a hefyd i nerthu y rhai ni dderbynniasant gymmaint mesur o ffydd ac a gawsom ni. O blegit ni eill fod mwy cyssur i gristion gwan a llesc, na gweled yr vnion ei grefydd, (ynhrymder llescrwydd ei gorph) yn cael ei ymgynnal trwy ammynedd a chyssur cynnyddiol yn ei enaid. Ymadawiad bendigedig a chyssurus y cyfryw ddŷn, a'i neitha ac a'i breichleda yn erbyn ofn Angeu, ac a'i siccrâ, fod *gobaith y du-*

*wiol yn fwy gwerthfawr* o lawer nac y geill *cig a gwaed ei ddeall, neu lygaid marwol ei weled, yn y dyffryn hwn o drueni.* Ac o ni buasai weled o honom ni lawer, o'r rhai a wyddem ni fod yn blant i Dduw yn ddiammau, yn di-oddef y cyfryw gystuddiau a gofidiau o'n blaen ni; gorthrymder y trueni ar gwrthwynebion yr ydym ni yn fynnych yn eu dioddef, a wnai i ni ammau pa vn a wnawn ni a'i bod yn blant i Dduw, a'i nad ydym. Ac i'r defnydd hwn, y mae S[t] *Iaco* yn dy-
Iac.5.10. wedyd: *Duw a wnaeth Iob ar prophwydi yn siamplau o ddioddef blinder ac o hir ymaros.*

9. Trwy gystuddiau y mae Duw yn ein gwneuthur yn debyg i ddelw *Grist* ei Fab, *yr hwn gan ei fod yn flaenor o'n iechydwriaeth ni a berffeithiwyd*
Rhy.8.18. *trwy ei ddioddefaint.* Ac am hynny efe
1.Pet.4.14. a ddug y groes yn gyntaf mewn cy-
Heb.2.10. wilydd, cyn iddo ef gael ei goroni mewn gogoniant, efe a archwaethodd y *bustl* yn gyntaf, cyn iddo ef fwyta y *diliau mêl.* Efe a watworwyd yn gynaf, dan ei alw *Brenin yr Iddewon* gan y milwyr yn *neuadd yr Arch-offeiriaid,*

o flaen

o flaen iddo gael ei gyfarch *Brenin y gogoniant* gan yr *Angelion* yn *llys* ei Dâd. A pha mwyaf bywiol y byddo ein Tâd nefol yn canfod llun ei *Fab* a-*nianol:* yn ymddangos ynom ni, mwyaf oll y câr ef nyni; a phan fôm ni *drôs amser* gwedi dioddef ar ei agwedd ef yn ein dioddefaint, ac ymdrechu, a gorchfygu: ni a gwan ein coroni gan Grist, ac eistedd gyd â Christ yn ei orseddfainge ef, ac a gawn dderbyn gan Grist y werthfawr *garreg wen*, a *se-ren y dydd*, i beri i ni lewyrchu yn debyg i Grist yn dragywydd yn ei ogoniant.

Psal. 24. 7.

2. Tim 4. 6. 7. 8.

10. Yn olaf, fel y byddo y duwiol yn ymostwng o herwydd ei gyflwr a'i drueni: a chael o Dduw ei ogoneddu am eu gwaredu hwynt oi blinderau a'i cystuddiau, pryd y galwont arno am ei gynnorthwy a'i ymwared. Canys er nad oes vn dyn mor bur a difreg, ar nas caiff yr Ayglwydd os crassa ef ar anwireddau, achos gyfion i'w gospi am ei bechod: etto nid yw yr Ar-glwydd bob amser ynghystudd ei blant yn edrych ar eu pechodau: eithr we-ithiau y mae ef yn trefnu blinderau a

gwrthw-

gwrthwynebion arnynt er nwyn ei o-
goniant ei hunan: fel hyn y dywedodd
ein Iachawdwr Crist i'w ddisgyblion,
na enesid mor dyn yn ddall am bechu
hono ef nai rieni, *eithr fel i'r amlygid
gweithredoedd Duw ynddo ef.* Felly y
dywedodd ef iddynt vn agwedd, *nad
oedd clefyd Lazarus i farwolaeth, onder
Ioa 9.3. gogoniant Duw.* O Aurhaethadwy
Ioa.11.4. ddawn Duw, yr hwn sydd yn troi y
cystuddiau (y rhai ydynt warth a chos-
pedigaeth dyledus i'n pechodau ni,) i
fod yn sail o'i anrhydedd ai ogoniant.

Y rhai hyn yw'r buddiol ar bendi-
gedig *ddefnyddiau* er mwyn yr hyn,
y mae Duw yn danfon clefyd a chy-
studd ar ei blant, wrth yr hyn, y mae
yn eglur i'w weled, nad yw cystuddiau
yn arwyddion nac o gasineb Duw, nac
o'n colledigaeth ninnau: Eithr yn hy-
trach argoelion neu arwyddion oi da-
dol serch i'w blant, y rhai y mae ef
yn eu garu; ac am hynny yn eu ce-
ryddu hwynt yn y bywyd hwn, lle,
ar eu hedifeirwch, y byddo iddynt o-
baith o *faddeuant*; a hynny sydd well
iddynt nac oedi eu cospedigaeth i'r by-
wyd hwnnw, lle nad oes dim gobaith o
faddeuant,

ſaddeuant, na diben ar boenedigaeth. Canys am yr achos hon y byddai y Criſtianogion yn y briſeglwys yn rhoi mawr ddiolch i Dduw, am eu cyſtuddio hwynt yn y bywyd hwn. Felly yr oedd yr *Apoſtolion yn gorfoleddu am eu cyfrif hwynt yn deilwng i ddwyn ammarch o achos enw 'r Ieſu.* Act. 5. 41. Ar Hebreaid Criſtianogawl *a gymmeraſant yn llawen eu yſpeilio am y pethau oedd ganddynt: gan wybod fod iddynt eu hunain olud gwell yn y nefoedd, ac vn parhaus.* Heb. 10. 34. Ac o herwydd y *dibennau* ſanctaidd hyn, y mae 'r Apoſtol yn dywedyd, *Na welir vn cerydd tros yr amſer preſennol yn hyfryd, eithr yn anhyfryd: ond gwedi hynny y mae yn rhoi heddychol ffrwyth cyfiawnder ir rhai ſy wedi eu cynnefino ag ef.* Heb. 12. 11. Gweddia gan hynny yn ewyllyſcar galonnog, ar ei Dduw fel yr anfonodd ef y cleſyd hwn attat ti; fod yn wiw ganddo, ddyfod ei hunan i ymweled â thydi yn dy ddolur: ac i'th ddyſcu di i gymmeryd addyſc a rhybudd ſanctaidd oddiwrtho, er mwyn pa achos i'th cyſtuddiwyd.

*Myfyrdod*

## *Myfyrdod i un a elo yn iacho glefyd.*

OS darfu i Dduw o'i drugaredd wrando dy weddiau, ath adferu di ith *iechyd* drachefn; yftyria wrthit dy hun.

1. Ddarfod i ti yr awrhon dderbyn gan Dduw, megis *bywyd arall*. Treilia ef gan hynny i anrhydedd duw, mewn newydd-deb buchedd: gâd i'th bechod farw gyd a'th glefyd: eithr bydd di fyw trwy râs i *fancteiddrwydd*.

2. Na fydd yn fwy *diofal*, o ran cael o honot dy iechyd, ac nac ymorfoledda ynot dy hun am ddarfod i ti ddiangc rhag marwolaeth: Eithr tybia yn hytrach, ddarfod i Dduw (gan weled mor amharod oeddit) o'i drugaredd wrando dy weddi, a'th arbed, a rhoi i ti ychydig yfbaid hwy, fel y gellych di wellhau dy fuchedd, ath osod dy hun mewn trefn a pharodrwydd gwell, erbyn yr amfer y galwo ef arnat ti yn ddi-ymaros allan or byd

byd hwn. Canys er darſod i ti ddiangc rhag hwn, fe allai na ddiengi di rhag y clefyd neſſaf.

3. Yſtyriaf pa fath gyfrif ofnadwy a wnaethit ti ger bron gorſeddfaingc Criſt erbyn hyn o amſer, pe buaſit ti yn marw or clefyd hwn. Treilia gan hynny yr amſer ſydd yn ol, fel y gellych di roi cyfrif mwy cyſſurus o'th fuchedd, erbyn yr amſer y byddo rhaid i ti *ymadel* heb *rwymedi.*

4. Na oſod mo ddydd marwolaeth ymhell oddiwrthit: ni wyddoſt ti er hyn ei gyd, negoſſed ydyw garllaw; (a chan i ti gael rhybudd gyn deceed) bydd *gallach.* Canys os delir dydi yn amharod yr amſer neſſaf, fe fydd i ti laieſcus, ath farnedigaeth yn fwy.

5. Cofia ddarfod i ti *addunedu gwellhâd* a *newydd-deb* buchedd. Ty di *addunedaiſt addunedi i Dduw na oeda ei thalu; canys nid oes ganddo flâs ar rai ynfyd,* am hynny y *peth a addunedaiſt,* tâl: yr yſbryd aflan a daflwyd allan: *Oh na âd iddo fyned i mewm eilwaith â ſaith o rai gwaeth nac ef ei hun, gyd a'g efo.* Ty di a ocheneidiaiſt riddfanau triſtwch, ti a wylaiſt ddagrau

Pre.5.4.

Mat.12. 43.

grau *edifeirwch:* fe ath olchwyd ti yn
llyn *Bethesda*, yr hwn oedd yn llifeirio
o *bum archoll gwaedlyd, nid o waith
Angel gythryblus* eithr Angel cydry-
Ioa.5.2. choldeb Duw, cynhyrfiedig gan ddi-
4. gofaint dyledus i'th pechodau: yr
Esa.63. hwn a ddescynnodd i vffern er mwyn
9. Luc. 16. rhoddi i ti y nefoedd ac iechydwria-
33. eth cadwedigol. Na ddychwel yn
awr, gyda ar *ci, at dy chwydion dy hun*,
neu fal yr hwch *newydd olchi, i ym-
drobaeddu* drachefn ym mudreddi dy
hên bechodau, ath aflendid: rhag yn
ôl i ti gael dy rwystro ath orchfygu
eilwaith gan *frynti dy bechodau*, (yr
hyn yr awrhon a ddarfu i ti ei oche-
lyd) i'th *ddiwedd* di fod yn waeth
2. Pet.2. nath *ddechreuad*. Dwywaith gan
20.21. hynny, y mae ein Iachawdwr Crist yn
rhoi dyfal rybudd i bechaduriaid ia-
chauol. Yn gyntaf, i'r dŷn a fuasai yn
glaf namyn dwy flynedd deugain: *wele
Ioa. 5. ti a wnaethpwyd yn iach na phecha mwy-
14. ach rhag digwyddo peth a fyddo gwa-
eth.* Yn ail, i'r wraig a ddaliwyd *mewn
godineb: nid wyf finnau yn dy gondem-
nio di dos ac na phecha mwyach:* gan
ddyscu i ni mor beryglus yw, *ail-*

*gwymp*

*gwymp neu syrthio drachefn* ir vnrhyw ormod rhysedd. Gochel gan hynny ar dy lwybrau, a gweddia am râs, fal y gellych *osod dy galon at ddoethineb*, tra parhao y rhif bychan o ddyddiau sydd etto yn annorphen. Ac am y trugaredd presennol, ar iechyd a dderbynniaist bydd gyffelyb ir *gwahanglwyfus diolchgar*, a dyro i Dduw hyn yma, neu 'r cyfryw *ddiolchgarwch*.

1.Pet 4.4

Psal. 90. 12.

---

## *Diolch iw adrodd gan vn a êl yn iach o glefyd.*



O Rasusol a thrugarog Dâd, yr hwn wyt Arglwydd yr iechyd, y clefyd, y bywyd ar farwolaeth; ar hwn wyt yn *lladd*, ac *yn bywhau*, *yr hwn wyt yn dwyn i wared ir bedd ac yn dwyn i fynu*, yr hwn wyt vnig ymddiffynnwr pawb a ymddiriedo ynot: fyfi dy was tlawd ac anheilwng, yr awrhon (trwy gynefindod clefyd poenus) wedi goddef *trymder* y trueni dyledus i *bechod*, a gweled *mawredd* dy drugaredd, yn rhoi maddeuant

i *be-*

i *bechaduriaid*: a chan ystyried a pha ryw dadol dosturi y gwrandewaist fyngweddiau, ac yr adferaist fi i'm hir. chyd am nerth drachefn: ydwyf yma o eigiawn dyfnder ostyngedig calon, yn dychwelyd (gyd ar gwahanglwyfus diolchgar) i gydnabod, mai tydi yn v. nig ydyw Duw fy iechyd am cad. wedigaeth: ac i roi i ti foliant a go. goniant am fy nerth am ymwa. red, oddiwrth y clefyd ar gofid gorth. ymddwys hwnnw: ac am droi fel hyn *fyngalar* yn *llawenydd*, fynghlefyd yn *iechyd*, am marwolaeth yn fywyd. Yr oedd fymhechodau yn haeddu cospedigaeth, a thydi am *ceryddaist*, ac ni roddaist ti mo honof fi i fynu i angau, my fi oeddwn yn *disgwyl o* Esa.38.9, 10.
*ddydd hyd nos pa bryd y gwneit ben am danaf: Yr oeddwn megis garan neu wennol yn trydar: griddfenais megis clommen pan oedd chwerwder y clefyd im gorthrymmu: fy llygaid a dderchefais ir vchelder attat ti o Arglwydd, a thi am diddanaist: canys ti a daflaist fy holl bechodau or tu ol i'th cefn, ac a wa. redaist fy enaid o bwll llygredigaeth: a phan oeddwn heb gynnorthwy ynof fy*

*hun,*

*hun, nac mewn vn creadur arall,* ( *yn dywedyd: difawyd fi o weddill fy mhlynyddoedd* ;ni chanfyddaf ddyn mwyach ymysg *trigolion y byd* ) *yno yr adferaist fi i iechyd drachefn, ac a roddaist fywyd imi: O Arglwydd mi a'th gefais di yn barod im gwaredu.*

Ac y 'r awrhon Arglwydd, yr wyf yn cyfaddef nad allai dalu mor cyfryw fesur o ddiolch ( am y dawn hwn ) ac a haeddit ar fy llaw. A ( chan weled nad allaf fi byth dalu i ti drachefn dy ddaioni, â gweithredoedd cymmeradwy. ) Oh na allwn i gyd â *Mair fagdelen* dystiolaethu cariad a diolchgarwch fynghalon, *ag aml ddagrau.* Oh pa beth a allaf fi roi i ti o Arglwydd am yr holl *ddoniau a'r rhai y* cynnyscaeddaist fy enaid. Yn siccr megis yn fynghlefyd, pryd nad oedd gennif fi ddim arall i roi i ti, yr offrymmais Grist a'i haeddedigaethau i ti, megis yn *bridwerth* dros fy mhechodau : felly yr awrhon wedi fy adferu trwy dy râd i'm hiechyd am nerth, ac heb fod gennif ddim gwell iw roddi; wele o Arglwydd yr wyf yn fy offrymmu fy hun i fynu i ti, gan attolygu i ti felly,

fyng-

fynghynnorthwyo a'th lân Yſpryd, megis y byddo hynny ſydd yn ol om henioes wedi ei dreilo yn ollawl yn goſod allan dy foliant a'th ogoniant. O Arglwydd maddau fy ynfydrwydd am hanniolchgarwch o'm cynfyd; am na bum yn fwy gofalus i'th caru di yn ol dy *ddaioni*, nac i'th waſanaethu di yn ol dy *ewyllys*, nac i vfyddhau i ti yn ol dy *orchymynnion*, nac i ddiolch i ti am dy *roddion*. A chan weled dy fod ti yn gwybod nad allafo *honof fy* hun, gymmaint a *meddylio vn meddwl da*, llai o lawer gwneuthur y peth ſydd dda a chymmeradwy yn dy olwg di: cynnorthwya fi a'th râd ac a'th lân Yſpryd, fel y gallwyf yn fy hawddfyd dreilio fy iechyd mor grefyddol, yn dy waſanaeth, megis yr oeddwn yn fynghlefyd yn daerllyd i ymbil am dano ar dy ddwylaw di. Ac na âd i mi fyth anghofio, nath *drugaredd* hyn, yn fy rhoi yn fy iechyd drachefn, nar addunedau a'r addewidion hynny, y rhai a wneuthum â thydi yn fynglefyd. Gyd a'm iechyd *newydd*, adnewydda ynof fi O Arglwydd yſpryd vnion: yr hwn am rhyddhâo i oddiwrth gaethiwed pe-

chod

chod, ac a ffurfio *fynghalon* yngwasanaeth dy *râd.* Gweithreda ynof fwy casineb a glanastra i'r holl bechodau (y rhai oeddynt achosion o'th lid ti, ac o'm clefyd innau:) A chwanega fy *ffydd* yng-Hrist Iesu, yr hwn yw 'r *Awdur* o'm *biechyd ac* am *cadwedigaeth. Gad i'th lan* Y*spryd fy nhywys* am *cynnal i yn y ffordd y dylwn i rodio: a dysc i mi wadu bob annuwioldeb a chwantau bydol, i fyw yn gyfiawn, yn sobr, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awrhon:* Fel y gallo eraill wrth gymmeryd siampl oddiwrthif, dybio yn well o'th wirionedd di. A chan na[illegible] 'r amser (sydd i mi etto i fyw) ond yspaid byrr, ac ychydig rif o ddyddiau, yr rhai ni eill hir barhâu: *Dysc i mi o fy Nuw felly gyfrif fy nyddiau fel y dygwyf fynghalon i ddoethineb ysprydol, yr hwn sydd yn arwain i iechydwriaeth.* Ac er mwyn hyn gwna fi yn fryttach, ac yn fwy tanbaid yn fy *nghrefydd:* yn fwy crefyddol yn fyngweddi: yn wresoccach yn yr *yspryd*; yn fwy gofalus i wrando, ac i gael budd oddiwrth bregethiad dy *Efengyl*: yn fwy ymwaredol i'm brodyr tlodion: yn fwy gwiliadwrys

Tit.2.12.

Psa.90.11.

iliadwrys ar fy ffyrdd; yn fwy ffyddlon yn fyngalwedigaeth: ac ym mhob ffordd yn amlhau ym mhob gweithred dda. Gad i mi (yn amser helaethrwydd hyfryd) ofni y dydd drwg o *gerydd*, yn amser iechyd, feddwl am glefyd, ym amser clefyd, fyngwneuthur fy hun yn barod i farwolaeth; a phan fyddo marwolaeth yn nesau, fy mharatoi fy hun i'r farn. Bydded fy holl fywyd yn ddiolchgarwch cyhoeddus i ti, am dy râd a'th drugaredd. Ac am hynny O Arglwydd, yr wyf yma o wir ddyfnder fynghalon, ynghyd â mil *Miliwn o Angelion, y pedwar anifail, ar pedwar henuriaid ar hugain, ar hoil greaduriaid yn y nef ar ddaiar yn cydnabod fod yn deilwng i ti o Dâd, yr hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc, ac i'r*
Dad. 5. 11. *oen dy Fab*, yr hwn sydd yn eistedd ar dy ddeheulaw, ac i'r Yspryd glan, yr hwn sydd yn deilliaw oddiwrth y ddau, Trindod lân o bersonau mewn vndeb sylwedd; holl *foliant*, *anrhydedd*, *gogoniant*, a *gallu*, o'r pryd hyn, yn dragywydd. *Amen.*

*Myfyrdod*

## *Myfyrdod i vn a fyddo ym mron marw.*

OS bydd dy glefyd di yn debyg i gynnyddu i farwolaeth ; yno myfyria ar dri pheth: yn gyntaf, mor rasusol y mae Duw yn gwneuthur â thydi; yn ail, oddiwrth ba ddrygau y mae marwolaeth yn dy ryddhau di; yn drydydd, pa ddaioni y mae marwoleth yn ei ddwyn i ti.

Yn gyntaf drugarog ymwelediad Duw â thydi.

1. Myfyria nad yw Duw yn arfer or *gospedigaeth* hon ar dy *gorph*, er mwyn dim ond o ran meddyginiaeth i'th enaid, gan dy dynnu di, yr hwn wyt glaf mewn pechod, i ddyfod trwy edifeirwch at Grist, ( dy physygwr ) i gael iachau dy enaid. Mat.9.12

2. Nad yw y dolur trymmaf nar clefyd tostaf, ar a elli di ei ddioddef, ddim i'w gyffelybu i'r gofidiau ar poenau, y rhai a ddarfu ei *Grist Iesu*, dy Iachawdwr, eu dioddef drosot ti: Pryd yt oedd efe mewn chwys gwaedlyd yn dioddef digllonedd Duw, poenau Luc.22.44. Psal.88.7 Esa.53.4. Psal.19.5 Heb.5.7. Gal.3.13

vffern,

vffern, ar farwolaeth felldigedig, yr hon oedd ddyledus i'th bechodau di. Am hynny fe a eill efe yn *gyfiawn* arferu geiriau *Ieremi:* Edrychwch, a gwelwch, *a oes vn cystudd yn debyg i'm cystudd i,* yr hwn a wnair *i mi, a'r hwny darfu i'r Arglwydd fyngorthrymmu yn nydd ei ddigofaint tanbaid?* A ddarfu ei Fab Duw ddioddef cymmaint er mwyn dy brynu di, ac oni ddioddefi di (ddyn pechadurus) ychydig, er mwyn rhyngu bodd iddo ef, yn enwedig pan fyddo hynny er mwyn dy ddaioni di?

3. Pan fô dy glefyd a'th ddolur yn y fan drymmaf, etto mae 'n llai, ac yn esmwythach, nac y mae dy bechodau di yn ei haddu. Gâd i'th gydwybod dy hun farnu gan hynny, o nid wyt ti yn haeddu gwaeth nac yr wyt yn ei ddioddef.

Na rwgnach gan hynny, eithr wedi i ti ystyried dy aml a'th *orthrymmion* bechodau, diolch i Dduw na chystuddiwyd mo honot ti â phoenedigaethau a fai trymmach o lawer. Meddylia mor ewyllysgar y dioddefai y rhai sydd boenedig yn vffern, dy boenau trymmaf

di

di fil o flynyddoedd, dan ammod y caent obaith o fod yn gadwedig, ac (yn ol hynny o flynyddoedd) gael esmwythder o'i pennydiau tragwyddol. A chan weled *mai trugaredd yr Arglwydd yw na ddarfu am danat ti*; pa fodd y gelli di na ddioddefych yn amyneddgar ei gerydd amserol ef, gan weled mai y diben yw, dy waredu di oddiwrth ddamnedigaeth dragwyddol. Gal.3.22.

4. Nad oes dim yn digwyddo nac yn damwain yn y cyflwr hwn i ti, ond y cyfryw beth ac a ddigwyddodd i eraill o'th frodyr di yn gyffredinol, y rhai gan eu bod yn ddi-amheus garedig weision i Dduw (pan oeddynt yn byw ar y ddaiar) ydynt yn awr yn ogoneddus fendigedig Seinctiau gyd â *Christ*, yn y nefoedd: mal *Iob*, *Dafydd*, *Lazarus*, *&c.* Yr oeddynt hwy yn griddfan dros amser dan yr vnrhyw fath fauch, ond y maent hwy yr awrhon wedi cael eu gwaredu oddiwrth eu holl ofidiau, eu trueni, a'i cyfyngderau: Ac felly vn agwedd cyn bo hir (os arhosi di yn amyneddgar ar dymp ac ewyllys yr Arglwydd) y cai dithau hefyd dy waredu oddiwrth dy 1.Pet.5.9.

glefyd a'th boen: naill a'i trwy ddadebriad neu *adferiad* i'th gynefin iechyd, gyd â *Iob*, neu (yr hyn sydd well o lawer) trwy gael dy dderbyn i'r orphwyssa nefol, gyd â *Lazarus*.

5. Yn olaf, Na roes Duw mo honot ti i fynu i ddwylaw dy elyn, i'th cospi a'th wradwyddo; eithr (gan fod yn Dâd caredig, y mae efe yn dy gospi di a'i law drugarog ei hun. Pan gafas *Dafydd*, ei ddymunaid, i ddewis ei gosp ei hun, efe a ddewisodd gael ei gosbi gan law Dduw, yn hytrach na thrwy vnrhyw fodd arall: *Bid i*
2. Sam. 24.14. *mi syrthio yn awr yn llaw yr Arglwydd, (Canys aml yw ei drugareddau ef) ac na chwympwyf yn llaw dyn.* Pwy ni chymmer bob cystudd mewn ffordd dda, pan fytho yn dyfod oddiwrth
Heb. 12. 11. law Dduw, oddiwrth yr hwn *(er nad oes vn gospedigaeth yn hyfryd dros yr amser presennol)* ni wyddom na ddaw dim ond sydd dda? ystyried yr hyn beth a wnaeth i *Ddafydd*, ddioddef melldigedig regiad *Shemeis* trwy fawr ammynedd: a'i geryddu ei hun amser arall am ei annioddefgarwch: *Aethum yn fud ac nid agorais fyngenau*

*canys*

*canys ti a wnaethost hyn.* A *Iob* yn hybu Psal.39.9
ac yn argyoeddi ymadrodd ynfyd ei
wraig, *llefaraist fel y llefarei un o'r
rhai ynfydion: a dderbynniwn ni gan* Iob 2.10
*Dduw yr hyn sydd dda, ac oni dderbyn-
iwn yr hyn sydd ddrwg?* Ac er bod
*phiol digofaint Duw* dyledus i'n pecho-
dau ni, yn beth arswydus i *anian ddy-* Mat.26.
*nol ein Iechawdwr*, fel y *gweddiodd* efe 36.
yn ddifrifol: *ar fyned o'r cwppan
hwnnw heibio oddiwrtho:* (etto pan
ystyriodd efe ei fod wedi ei estyn iddo
trwy law ac ewyllys ei Dâd) efe a
ymostyngodd ei hun yn ewyllyscar i
yfed y gwaelodion o honaw. Nid oes
dim well i'th gryfhau di, ac i'th nerthu
yn dy glefyd, na gweled ei fod yn dy-
fod oddiwrth law Dduw dy Dâd ne-
fol: yr hwn ni ddanfonai mo honaw
byth, oni bai ei fod efe yn ei weled yn *fu-
ddiol* ac yn angenrheidiol i ti.

*Yr ail fâth ar fyfyrdodau ydyw, ystyried oddiwrth ba ryw ddrygau y mae marwolaeth yn dy ryddhau di.*

Y Mae yn dy ryddhau di oddiwrth *gorph llygredig*, yr hwn a ynnillwyd ynnhystiolaeth y cnawd ym *mhochineb* chwant, *anafawd* pechod, ac a aned mewn *gwaed* budreddi: carchar bywiol i'th enaid, offer fywiol i bechod, sachlen o dom drewllyd; ammhuredd ffroenau yr hwn, ei glustiau, ei *ymgorau* a'i fannau eraill (wedi eu hystyried yn dda) a ymddengys yn fryntach ac yn ffieiddiach, nar pwll budraf, neu y gaudŷ aflanaf. Yn gymmaint a bod prennau a phlanigion, yn dwyn dail, blodau, a ffrwythau, a phêr aroglau, a chorph dyn heb ddwyn dim ond llau, *pryfed*, *pydredd*, a *sawyr drewllyd*. Ei enau sydd lawn o *scelerder*, *a holl fwriad meddylfryd ei galon sydd yn unic yn ddrygionus bob amser. O hyn y digwydd*, na chaiff yr *annuwiol* fyth Gen. 6. 5. ei ddigoni *o gabledd*, na 'r *afiaethus* o *drachwant*,

*drachwant*, na'r *balch* o *fawredd*, nar dichlyn o *grynodeb*, nar *maleisys* o *ddial*, nar *putteiniwr* o *aflendid*, nar *cybydd oelw*, nar meddwyn o yfed. *Arferau, digterau ac vellderau* newyddion ydynt beunydd yn cynnyddu: llidiau a gofidiau ydynt yn cyfodi yn gyfan: Yma y mae digofaint yn gorwedd mewn gwiliadwriaeth; accw y mae coegni yn ddrwg wrthynt; yma y mae balchder yn cyfodi, draw y mae gwradwydd yn bwrw i lawr, a phob vn yn gwilio pa vn a gaiff godi ban ostyngo 'r llall. Yn awr y brethir dyn yn ddirgel gan *bystingwyr* ac *enllibwyr*, fel seirph tanllyd: yn y man y mae ef mewn perigl o gael ei ddifa gan ei *elynion*, o fath llewod *Daniel*. A dyn duwiol ym mha le bynnac y byddo fyw a gaiff ei orthrymmu yn oestad, mal *Lot* gan aflendid *Sodom*.

2. Y mae marwolaeth yn dwyn i'r duwiol ddiben ar bechu, ac ar yr holl drueni y rhai ydynt ddyledus i bechod: megis yn ôl marwolaeth, na byddo na thristwch na llefain, na dim poen mwy: canys fe a ylch Duw y dagrau oddiwrth ein golygon. Ie trwy farwolaeth Rhuf. 6:7

eth yr ydym ni yn cael ein neillduo oddiwrth weithredwyr anwiredd. Y mae Duw *yn dwyn ymmaith y gwyr cyfion trugarog oddiwrth y*
Esa. 57. 1. *drwg sydd i ddyfod.* Felly y gwnaeth efe â *Iosiah*, o herwydd hynny, *wele mi a'th gymmeraf di at dy dadau*, a
2 Bre. 22. 20. thi a *ddygir ymaith i'th fedd mewn heddwch*, fel na welo dy lygaid yr *holl ddrwg yr ydwyf fi yn ei ddwyn i'r fann hon.* A Duw a'i *cuddia* hwynt *megis ennyd bach yn y bedd, hyd oni d elo y llid*
Esa. 26. 20. *heibio.* Felly fel y mae paradwys yn *fangre* o lawenydd i'r eneidiau: felly y gelwir y bedd yn *fangre* neu yn bannwl o orphywyssa i'r cyrph.

3. Lle y mae y corph anwireddus hwn yn byw mewn byd o anwiredd, fel na eill yr enaid truan edrych allan i'r *llygaid*, heb gael ei *glwyfo*, na gwrando trwy 'r *glust* heb *amharu*, nac aroglu trwy 'r *ffroenau* heb gael ei *lluassu*: nac *archwaethu* gyd a'r tafod, heb gael ei *hudo*: na theimlaw gyd a'r llaw, heb ymhalogi: a phob *synnwyr* ymhob profedigaeth sydd yn barod i fradychu yr enaid: eithr trwy farwolaeth, y caiff yr enaid ei ryddhau, a'i waredu

o'r

o'r rhwymedigaeth, a'r caethiwed hwn, *a'r corph llygradwy hwn a wisc anllygredigaeth, ar marwol hwn anfarwolaeth.* 1. Cor. 15. 53. Oh bendigedig triphlyg tra-bendigedig a fyddo y farwolaeth honno yn yr Arglwydd, yr hon sydd yn ein gwaredu ni allan or fâth fyd *drygionus*, ac sydd yn ein rhyddhau ni, oddiwrth y fâth *gorph* o rwymedigaeth a llygredigaeth daiarol.

*Y trydydd math ar fyfyrdod yw, ystyried pa ddaioni y mae marwolaeth yn ei ddwyn i ti.*

Y Mae marwolaeth yn dwyn enaid y duwiol i feddiannu *digyfrwng gymmun* a'r bendigedig Drindod, mewn hyfrydwch a gogoniant tragwyddol.

2. Y mae yn troi yr enaid o drueni y byd hwn, ac o ymlochlach â phechod, ac o gymdeithas pechaduriad, *i ddinas y Duw byw, i Ierusalem nefol, ac at fyrddiwn o Angelion, i gymanfa a chynulleidfa y rhai cyntaf-anedig, y rhai a scrifennwyd yn y nefoedd, ac at Dduw barnwr pawb, ac at ysprydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd, ac at* Iesu, Heb. 12. 22, 23, 24.

*cyfryngwr y Testament newydd.*

3. Y mae marwolaeth yn gosod yr enaid mewn cyflawn bresennol feddiant, o'r holl etifeddiaeth ar dedwyddwch, yr hyn a addawodd *Crist* i ti yn ei air, neu a brynodd efe i ti *trwy ei waed.*

Hyn yw'r daioni ar dedwyddwch, i'r *hyn* y mae marwolaeth fendigedig yn dy ddwyn di, a pha wir dduwiol Gristion, ar y sydd yn ieuangc ni ddymunai ei hûn yn hên, fel y gallai ei amser gosodedig nesshâu, i fyned i *mewn* i baradwys nefol? Lle y gelli di gyfnewid dy *efydd* am *aur*; dy *wagedd* am *happusrwydd*; dy *waeledd*; am *anrhydedd*; dy *gaethiwed*; am *rydd-did*; byrr *feddiant*; am *etifeddiaeth dragwyddol*; cyflwr *marwol*, am *anfarwol fywyd.* Yr hwn nid yw beunydd yn dymuno y dedwyddwch hyn, o flaen pob peth, o'r holl rhai eraill y mae efe yn annheilyngaf iw feddiannu.

Os darfu i *Cato uticensis*, a *Chleambrotus*, dau ni wyddent oddiwrth Dduw, sef *paganiaid* (wrth ddarllain llyfr *Plato* am anfarwoldeb yr enaid) yn ewyllysgar, y naill dorri ei wddf;

ar

ar llall redeg ar flaen ei *gleddyf*, fel y gallent (ynol eu tybygoliaeth hwynt) gael meddiannu y gorfoledd hwnnw. Pa gywilydd yw i Griſtianogion (y rhai ſydd yn gwybod y pethau hynny mewn meſur mwy odiaethol, a modd cyflawnach, allan o lyfr Duw ei hun) na byddent ewyllyſgar i fyned ir gorfoledd nefol hwnnw? Yn enwedig pan fo eu Harglwydd yn galw am danynt yno. Os bydd gan hynny ynot ti ddim cariad i Dduw, na dymuniad o gael dedwyddwch, neu iechydwriaeth i't dy hûn: Pan fyddo amſer dy ymadawiad yn neſſau, yr amſer hynny, meddaf, ar modd ar farwolaeth yr hon a ddarfu ei Dduw, yn ei gyngor digyfnewidiol ei raglunio, a'i ragddarparu i ti, er cyn dy eni; dyro a thraddoda i fynu, (yn ewyllyſcar ac yn llawen) dy enaid, i law drugarog *Ieſu Griſt*, dy Iachawdwr. Ac er mwyn y diben hyn, pan fyddo yr amſer yn dyfod, (mal i'r ymdderchafodd yr Angel yngolwg *Manoab* a'i wraig, *oddiwrth yr allor i fynu ir nefoedd yn fflam yr aberth*,) felly ymegnia dithau fel y gallo dy enaid yngwydd dy gyfneſeifiaid ym-

dderchafu oddiar allor calon ddrylliedig yn y bêr arogldarth hon, neu yn y cyfryw aberth ysprydol o weddi.

*Gweddi i ddyn claf, wedi dywedyd iddo nad yw efe ddyn i'r byd hwn, ond bod yn rhaid iddo ei baratoi ei hun i fyned at Dduw.*

Num.16.22. Ecc.38.16. O Dad nefol, yr hwn wyt Dduw yr ysprydion, a Duw pob cnawd, yr hwn a wnaethost yr eneidiau hyn i ni, ac a raglúniaist i ni amser, megis i ddyfod i'r byd hwn, felly gwedi gorphen ein hammod) i fyned allan o honaw. Rhif y dyddiau a osodaist i mi ydynt yr awrhon yn darfod, mi a ddaethym i'r diben diwaethaf a ordeniaist di i mi, tu hwnt i'r hwn ni *allaf fi fyned.* Mi a wn O Arglwydd,

Luc.22.15. Psal.143.2. *os a'i di i'r farn nad byw vn cnawd cyfiawn yn dy olwg di.* A myfi (O Arglwydd) or holl rai eraill a ymddengys yn fwyaf am-mhur ac anghyfiawn; Canys nid ymleddais i mor ymladdiad da, er mwyn ymddiffyn dy ffydd ath grefydd, yn frwd ac yn ddiſigl

fel

fel y dylawſwn: ond rhag ofn anfod-
loni y byd, mi a roddais ffordd i be-
chodau a beiau; ac er mwyn rhyngu
bodd i'm cnawd, mi a dorrais dy holl
orchymynnion, mewn meddwl, gair, Pſal.41.
a gweithred: *Fel y mae fy mhechodau* 22.
*yn dal y fath afael ynof, nad wyf yn* Pſal.130.
*meiddiaw mor edrych i fynu: ac y ma-* 3.
*ent yn fwy o rifedi, nac yw gwallt fy*
*mhen. Os ty di O Arglwydd a greffi ar*
*anwireddau, pa le i ſafaf. Os ty di am*
*pwyſi i yn y clorian fe am cair i yn rhy* Dan.5.27
*yſcafn.* Canys yr wyf yn wâg o holl
gyfiawnder i ynnill dy drugaredd:
Ac yn llwythog o bob anwiredd, i gy-
fion haeddu dy ddigofaint trymddwys.
Ond o fy Arglwydd am Duw, er
mwyn *Ieſu Griſt dy Fab, yn yr hwn yn*
*unig i'th fodlonir* gan oll edifeiriol be- Mat 3.17
chaduriaid credadwy: cymmer dosturi
a thrugaredd arnaf, yr hwn wyt ben
pechadur. Bwrw fy holl bechodau i Eze.18.
allan o'th gof, *a golch ymmaith fy holl* 22.
*anwireddau* allan o'th olwg di, a *gw-* 1.Pet.1.
*erthfawroccaf* waed dy Fab, yr hwn 19.
yr wyf yn ei gredu iddo ei dywallt
(mal Oen difrycheulyd) i lanhau fy
mhechodau. Yn y ffydd hon y bum

fy...

fyw, yn y ffydd hon y byddaf farw: gan *gredu i Iesu Grist farw dros fy mhe-*
Rhu.4.25 *chodau, a chyfodi drachefn er mwyn fyng-*
1.Cor.15. 34. *hyfiawnhad.* A chan weled iddo ef ddioddef y farwolaeth, a dwyn pwys y gospedigaeth, yr hon oedd ddyledus i'm pechodau i. O Dâd, er mwyn ei farwolaeth a'i ddioddefaint, lle 'r (wyf yn awr yn dyfod i ymddangos ger bron dy orseddfaingc di) rhyddhâ a gwared fi oddiwrth y farnedigaeth ofnadwy, yr hon y mae fy mhechodau yn ei gyfiawn haeddu. A chyflawna â myfi
Ioa. 5. 24. y rasusol ar gyffurus addewid, yr hon a wnaethost yn dy Efengyl: sef pwy bynnac a *gredo ynot ti a gaiff fywyd tragwyddol, ac ni ddaw i farn eithr efe a aiff trwodd o farwolaeth i fywyd.* Cryfhâ (O Crist) fy ffydd, fel y gallwyf osod oll hyder om iechydwriaeth yn haeddedigaethau dy vfydd-dod, a'th waed. Chwanega (O Yspryd glan) fy nioddefgarwch; Na osod fwy arnaf fi nac a allwyf ei ddwyn, a gwna fi i allael dwyn cymmaint ac a ryngo bodd i'th fendigedig ewyllys di. O fendigedig Drindod yn vndod; Creawdwr, Iachawdwr, a Sancteiddiwr,

ddiwr, canniadhâ fel y byddo fy nŷn oddiallan yn diflannu; felly fod o'm dyn oddifewn fwyfwy trwy dy râd a'th ddiddanwch yn cryfhau ac yn cynnyddu. O Iachawdwr, dod fy *enaid* i mewn parodrwydd i fod (megis *morwyn gall wedi cael y wisg briodas* o'th gyfiawnder a'th sanctei-ddrwydd yn barod i'th gyfarfod di, *ag olew yn ei lusern.* Prioda di ef â thydi dy hùn, fel y gallo ef fod yn vn â thydi mewn tragwyddol gariad a chymydeithas. O Arglwydd argyoedda Satan ac ymlid ef ymmaith: *gwared fy enaid oddiwrth allu y ci; cadw fi rhag safn y llew.* *Yr wyf* yn diolch i ti o Arglwydd am dy holl fendithion; yn gystal bydol ac yspryddol, a ganniadheuaist ti i mi, yn enwedig am fy mhrynedigaeth trwy farwolaeth fy Iachawdwr *Crist*. Yr wyf yn diolch i ti am ddarfod i't fy ymddiffyn a'th Angelion Sanctaidd o'm ieuengtid hyd yr awr hon. Arglwydd yr wyf yn attolwg i ti, dod orchymmyn iddynt i wilio arnaf nes i ti alw am fy enaid: ag yno ei ddwyn (fel y gwnaethant ac enaid *Lazarus*) i'th deyrnas nefol.

Mat. 25. 4.

Dad. 19. 7.

Psal. 12. 20. 21.

Luc. 16. 22.

Ac

Mat.8.11 Luc.13. 18. Ac fel y byddo amſer fy ymadawiad yn pwyſo neſ-nes attaf: felly *canniattâ* o Dduw i'm henaid dynnu neſnes attat ti: Ac fel y gallwyf yn llawen orchymmyn fy enaid i'th ddwylaw, megis i ddwylaw Tâd anwyl ac Iachawdwr trugarog: ac yn nroad yr *amrantyn* hwnnw, *O Arglwydd grasuſol derbyn fy yſpryd*, fel y gallwyf wneuthur hyn oll, cynnorthwya fi a'th râd: a gâd i'th Yſpryd glân fod gyd â myfi hyd y diwedd, ac yn y diwedd, er mwyn *Ieſu Griſt* dy Fab, fy Arglwydd am vnig Iachawdwr. Yn enw yr hwn, yr wyf yn rhoi i ti dy ogoniant, ac yn erfyn yr holl bethau hyn ar dy law, yn y weddi yr hon a ddyſcodd *Criſt* ei hun i mi gan ddywedyd:

Act. 7.59

*Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd. &c.*

*Myfyrdod*

## *Myfyrdod yn erbyn anobaith, neu rhag amman trugaredd Duw.*

YR ydis yn gweled trwy aml a chynefin wybodaeth, pan fo plant Duw yn wannaf, yn agos i amser eu marwolaeth, mai yno y dengys *Satan* yr eglurdeb mwyaf o'i nerth: ac a esyd arnynt ei brofedigaethau cryfaf: Canys efe a wyr mai 'r awrhon y mae iddo gael y fuddygoliaeth neu ni chaiff ef fyth. Oblegit os eu heneidiau a ânt i'r nefoedd ni cheiff efe moi gorthrymmu nai blino hwynt byth ond hynny. Ac am hyny efe a gymmer gymmaint ac a allo o boen, ac a ddengys o flaen eu golygon hwynt, yr holl fawrion bechodau a wnaethant, a barnedigaethau Duw dyledus am danynt: ac felly iw gyrru hwnt (os efe a cill) i annobeithio: yr hwn sydd bechod gorthrymmach na 'r holl bechodau a wnaethent, neu ar a allai efe eu cyhuddo hwy o honynt.

*Os bydd Satan gan hynny yn gorthrymmu dy gydwybod yn fwy tu ag at dy*

Dichell gyntaf Satan yn amser marwolaeth. Y gowheliad.

*dy farwolaeth, nac yn amser dy fywyd.*

1. Cyfaddef dy bechodau i Dduw, nid yn vnig yn gyffredinol eithr hefyd yn neillduol.

2. Gwna iawn a thâl i'r gwyr hynny y rhai y gwnaethost ti gamwedd â hwynt, os byddi yn gallael. Ac os wyt ti yn draws neu yn dwyllodrus yn dal, neu yn cadw yn dy feddiant, na thiroedd, na da, y rhai sydd o gyfiawnder yn perthynu i vn wraig weddw neu i blentyn ymddifad: na ryfyga fel yr wyt yn disgwyl am iechydwriaeth dy enaid, edrych yn wyneb *Crist y barnwr cyfiawn*; nes i ti ei roi yn ôl i'r perchennog drachefn. Canys y mae

Levit. 6, 2 3, 4.

cyfraith Dduw dan boen ei felldith yn dy orchymmyn di, i *roddi yn ei ol pa beth bynnac a rodded attad ti iw gadw*, neu yr hyn y rhoddaist di dy law *am dano, neu yr hyn trwy drawsder a ddygaist di, neu yr wyt ti yn ei gam attal oddiar dy gymydog, tâl hynny erbyn ei ben, chwanega ei bumed ran atto.* Ac oni roddi di yn ôl mal *Zacheus y cyfryw dda a thiroedd.* Ni elli di fyth wir edifarhau, ac heb wir edifeirwch ni elli di fyth fod yn gadwedig. Eithr er (trwy

bro-

brofedigaeth y cythraul ) i ti wneuthur trais a chamwedd, etto os wyt ti yn gwir edifarhau, ac yn rhoddi yn ôl, o herwydd dy allu, y mae 'r Arglwydd gwedi addo bod yn drugarog wrthyt ti, a gwrando ar weddiau ei wenidogion ffyddlon drosot ti, i faddau i ti dy ddyledion ath pechod, ac i dderbyn dy enaid yn haeddedigaethau *gwaed Crist* megis *oen perffaith-gwbl.* Luc.13.1 1. Pet.3. 8 Gen.29. 7.

3. Gofyn i Dduw nawdd a maddeuant er mwyn Crist. Ac yno nid yw y blinderau hyn o'r meddwl, ddim anghyssurdeb, eithr yn hytrach yn gynnorthwy arferedig, ac nid yn cospedigaethau. Y maent yn hysbysrwydd i ti dy fod ar yr vnion ffordd: Canys y *ffordd i'r nefoedd sydd heb law pyrth vffern:* hynny yw: trwy ddioddef poenau yn dy gorph ar cyfryw amheus ddialedd yn dy *feddylfryd.* Megis trwy fod dy gyflwr di yn y bywyd hwn, yn chwerwach bob dydd nai gilydd, y gallech di, archwaethu yn well, ac yn felysach flâs y bywyd tragwyddol.

*Os bydd Satan yn dywedyd i ti nad oes gennit ti ddim ffydd, am nad oes mo honot yn ei theimlaw: myfyria.* *Ail ruthr Satan. Derbyniad y Cristion.*

1. Fod

Psal.7.19 Marc.9.24. 1. Fod y ffydd vnionaf yn fynych ai cynnyrfiad lleiaf o honi, ar ammheuon mwyaf ynddi; eithr cyhyd ac y bych yn casshau yr amheuon, ni roddir mo hynny yn dy faich: Canys y maent yn perthynu i'r cnawd oddiwrth
Mat.14.31. yr hwn y darfu dy yscar. Pan ddiflanno dy gnawd, dy ddyn gwan oddifewn, yr hwn sydd yn eu casshau hwynt, ac yn caru yr *Arglwydd Iesu*, a fydd cadwedig.

Iob 13.15 2. Ai bod yn *well ffydd*, gredu heb ymglywed na thrwy ymglywed. Y ffydd leiaf sef *cymmaint a gronyn o*
Mat.17.20. *had mwstard*, neu gymmaint ac sydd mewn plentyn newydd fedyddio, sydd ddigon i gadw 'r enaid, a garo Grist ac a gredo ynddo ef.

3. Fod plentyn Duw yr hwn sydd yn dymuno teimlaw diogel hysbysrwydd o ffafr Duw, yn cael ei ddymuniad, pan welo Duw fod hynny yn ddaioni iddo: canys efe a addawodd Duw roi *dwfr y bywyd i'r sawl a sychedant*
Dad.2.6. *am dano.* Y mae i ni siampl o vn M^r. *Glouer Merthyr sanctaidd*, yr hwn ni allai gael dim ystyriaeth cyssurus o'i ffydd, nes ei ddyfod yngolwg y post

iw

iw losci, ac yno fe gurodd ei ddwylaw ynghyd o wir lawenydd, gan ddyweudod wrth ei gyfeillion: O *Awstin, efe a ddaeth, efe a ddaeth*, gan feddwl am orfoleddus ystyriaeth ffydd a'r Yspryd glân. *Disgwyl gan hynny wrth yr Arglwydd ymwrola ac efe a nertha dy galon.* Psa.27. 14.

*Os Satan a fanwl ddengys i ti faint, lliaws, a gorthrymder dy bechodau*, mysyria. *Trydydd ddadl Satan.*

*Atteb.*

1. Fod ar ol gwir edifeirwch mor hawdd cael maddeuant gan Dduw am y pechodau mwyaf, ac am y rhai lleiaf, a'i fod efe mor ewyllyscar i faddeu llawer, ac i bardynu vn. A bod ei drugaredd ef yn discleirio mwy ac yn oleuach o faddeu i bechaduriaid mawr, nac o faddeu i droseddwyr bychain: fel y mae yn eglur yn siamplau, *Manasses, Magdelen, Petr, Paul, &c.* Ac lle yr *amlhawyd pechod yno i'r amlhaodd gras yn fwy o lawer.* Rhu.5. 20.

2. Na wrthododd Duw vn dyn erioed, nes ei ddyn wrthod Duw yn gyntaf: megis y mae yn eglur yn siamplau, *Cain, Saul, Achitophel, Ahaziah, Iudas, &c.*

3. Fod

3. Fod Duw yn galw pawb, ie y pechaduriaid y rhai ydynt drwm *lwythog o bechod*, ac nad yw efe yn naccâu moi drugaredd i vn pechadur ar a ofynno ei drugaredd ef â i chalon edifeiriol. Hyn y mae histori yr Efengyl yn ei dystiolaethu: fe ddaeth at Grist bob rhywogaeth o bechaduriaid *clwyfus*, *dall*, *cloff*, *cloff-efrydd*, *gwahanglwyfisid*, a chyfryw oeddynt yn glaf o'r parlys, *diferlif gwaed*, ar cyfryw oeddynt *loerig*, neu gwedi eu meddiannu ag *ysprydion aflan*, neu *gythrauliaid*: etto or rhain eu gyd, nid aeth vn ar a ofynnodd ei drugaredd a'i gynnorthwy, ymaith heb gael ei neges. Os trugaredd a ofynnai, trugaredd a gai, er maint a fyddai ei bechod, er trymmed a fyddai ei ddolur. A hefyd efe a *gynnygiodd*, ac a roddes ei drugaredd i lawer or rhai ni ofynnasant erioed mo honaw (gwedi ei gynhyrfu yn vnig o eigion tosturi wrth weled eu trueni hwynt) mal i'r wraig o *Samaria*, i'r wraig weddw o *Naim*, ac i'r claf oedd yn gorwedd wrth lynn *Bethesda*, yr hwn a fuasai namyn dwy flynedd deugain yn glaf. Os darfu iddo ef yn ewyllyscar fel hyn roddi ei drugaredd iddynt

Mat. 11. 28.

Ioa. 5. 36
Luc. 7. 13

iddynt hwy, y rhai nid oeddynt yn gofyn, ac os caed ef (fel y dywaid y prophwyd) gan y rhai nis ceisiasant mo hono ef, a rydd efe nâg o'i drugaredd i ti, yr hwn wyt mor daer yn ymbil am dano trwy ddagrau? ac wyt mal y *publican* truan yn curo mor ddifrifol a dyrnau ysig, ar galon ddrylliedig edifeiriol. Yn enwedig pan weddiech di at dy Dâd yn enw ac yngyfryngdod *Iesu*, er mwyn yr hwn y mae ef yn addaw caniattau *pa beth bynnac a ofynnom ni iddo ef*: Cyn wiried a bod Duw yn vnion ni rydd efe nâg i ti. Er eu bechodau y *Ninifeaid* ennyn llid yr Arglwydd i roi y farn yn eu herbyn, etto ar eu hedifeirwch hwy, efe a'i galwodd hi yn ol drachefn, ac a arbedodd *y ddinas*: pa faint mwy os ty di a edifarhei, yn agwedd i'r arbeda efe ty di, gan weled nad yw ei farn ef etto wedi ei hadrodd yn dy erbyn? Os oedodd efe y farn oll ddyddiau *Ahab*, yn vnig er mwyn y llun, neu 'r ymddanghosiad oddiallan a wnaethai efe o ostyngeiddrwydd, pa faint mwy y try efe yn lân heibio ei ddial, os ty di yn ddiffuant a edifarhai o'th bechod, a dychwelyd

Ioa.14.14.

atto

atto ef am râs a thrugaredd?

Efe a gynnygiodd ei drugaredd i *Cain* (yr hwn a laddasai ei frawd
Gen.4.7 gwirion: *Os gwnei yn dda oni chai di oruchafiaeth?* Fel pe buasai efe yn dywedyd, os gadewi di dy lid a'th genfigen, ac aberthu i mi o galon ffyddlon edifeiriol: ty di a'th aberth a fydd cymmeradwy gennyf. Ac i *Iudas* (yr hwn ai bradychodd ef yn dwyllodrys.) gan ei alw ef yn gyfaill, enw
Mat.26.50. *cariadol*; a phan gynnygiodd *Iudas*, efe yn ewyllyscar a fu fodlon a'r genau (yn yr hwn *ni buasai dwyll erioed*,) i gusanu y gweflau gwenhieithus, dan
1.Pet.2.22. Psal.140.3. y rhai yr oedd *gwenwyn asp yn godechu*. Pa buasai *Iudas*, yn amgyffred y gair hwn *cyfaill* allan o enau *Crist*, megis y gwnaeth *Benhadad* y gair *Brawd*
1.Bren.20 31,32,33. o enau *Achab*, diammau y buasai *Iudas*, yn cael *Duw Israel* yn fwy trugarog, nac y cafas *Benhadad Frenin Israel*. Ond yr oedd Duw yn anfodlonach wrth *Cain* am anobeithio o'i drugaredd, nac am ladd ei frawd, ac wrth *iudas* am ei grogi ei hun, nac am fradychu ei *Arglwydd*. Yn gymmaint ac y mynnent hwy wneuthur pechodau

dau dynion marwol, yn fwy nac anfeidrol ac anherfynol drugaredd y tragwyddol Dduw: neu fel pe gallasent hwy fod yn llawnach o bechodau, nac oedd Duw o drugaredd. Lle y mae y defnyn lleiaf o waed Crist, a mwy haeddedigaeth ynddo, i ynill trugaredd Dduw er mwyn dy iechydwriaeth di, nac a eill yr holl bechodau (ar a wnaethost) fod o nerth i ennyn ei ddigofaint, i'th fwrw i *ddamnedigaeth.*

*Os bydd Satan yn sisial, fod hyn yn wir am drugaredd Dduw, eithr nad oes mo hynny yn perthyn i ti, am fod dy bechodau di yn fwy na phechodau dynion eraill, megis yn bechodau o wybodyeth, ac yn parhau er ystalm o flynyddoedd, a'r cyfryw yr anrhaithiwyd rhai eraill oi plegit: a chwbl oll (gan mwyaf) wedi eu gwneuthur o'th wirfodd, ac yn rhyfygus yn erbyn Duw ath cydwybod. Ac am hynny er iddo ef fod yn drugarog wrth rhai eraill, etto ni fydd ef drugarog wrthit ti,* myfyria: *Pedwerydd ddadl Satan.*

Fod llawer (o'r rhai ydynt yr awrhon yn ogoneddus ac yn fendigedig Seinctiau yn y nefoedd) wedi gwneuthur yn yr vn ffunyd (pan oeddynt *Yr atteb.*

yn

yn byw ar y ddaiar ) gymmaint pechodau a mwy nac a wnaethost di erioed, ac a barhausent (cyn iddynt edifarhau) yn y pechodau hynny cyhyd yn helaeth ac y gwnaethost dithau. Megis gan hynny na allai eu holl bechodau hwy, a'r *hir aros* ynddynt, luddies i drugaredd Dduw, ar eu hedifeirwch hwynt, faddau iddynt eu pechodau, a'i derbyn i'w râd drachefn: Ni dichon chwaith dy bechodau dithau a'th barhâd ynddynt, moi lrwystro ef i fod yn drugarog wrthit ti, os edifarhei di fel y gwnaethont hwythau: ie ar dy edifeirwch y mae siampl pob vn o honynt hwy, yn argoel y gwnaiff ef yr vn peth i ti ac a wnaeth iddynt hwythau. Canys fel y mae y pechod lleiaf yngyfiawnder Duw heb edifeirwch, yn ddigon i beri vn yn golledig, felly y pechod mwyaf ar edifeirwch yn ei drugaredd ef, sydd i gael maddeuant. Dy bechodau mwyaf ac hynaf, nid ydynt ond pechodau dŷn: eithr y lleiaf o'i drugareddau ef ydyw trugaredd Duw. Am dy fod di yn adnabod dy bechodau dy hun, yr wyt ti yn ammau na ellir eu maddau hwynt. Gwêl

fel

fel y mae Duw ei hunan yn gollwng yn rhydd y cwlm amheus hwn. Yr oedd llawer yn nyddiau *Esay* yn tybied (fel yr wyt tithau) iddynt hwy barhau cyhyd mewn pechod, fel yr aethai yn rhywyr iddynt hwy geisio dychwelyd at Dduw, am râs a thrugaredd. Eithr y mae Duw yn eu hatteb hwynt: *Ceisiwch yr Arglwydd, tra y galler ei gael ef, gelwch arno, tra fyddo yn agos.* Fel pe dywedasai efe, *tra byddo y bywyd*, neu *chwythod yn parhau*, am gair i'w bregethu, yr wyf yn agos i'm cael gan bawb oll ar am ceisiant, ac a weddiant attaf. Y mae 'r bobl yn ail-atteb: eithr nyni (O Arglwydd) ydym bechaduriaid anafus, ac am hynny ni feiddiwn ni ryfygu galw ar dy enw, neu ddyfod yn agos i'th sancteiddrwydd. Y mae 'r Arglwydd yn atteb i hynny: *Gadawed y drygionus ei lwybr, ar dŷn anwireddus ei fyddyliau: a dychweled attaf fi, ac myfi a gymmeraf drugaredd arno ef, ac a fyddaf yn Dduw iddo ef, ac myfi o roddaf nawdd iddo ef yn dra-aml.* Eithr nyni a dybiem (medd y bobl) pe buasai ein pechodau ni ond pechodau cyffredinol, y gallai yr addewid

Esa. 55. 6, 7, 8.

hon o drugaredd berthyn i ni. Ond gan fod ein pechodau cymmaint, ac yn parhau cyhyd, am hynny yr ydym ni yn ofni pân elom ni i ymddangos ger bron Duw, ei bwrw efe nyni heibio. Y mae *DUW* yn atteb i hyn drachefn: *Fy meddyliau i* (O drugaredd) *nid meddyliau i chwi ydynt: nid ych ffyrdd chwi* (*o faddau*) *ydyw fy ffyrdd i: canys megis y mae 'r nefoedd uwchlaw 'r ddaiar, felly y mae fy ffyrdd i yn uwch nach ffyrdd chwi, am meddyliau i yn uwch nach meddyliau chwi.* Pe bai gan hynny bob pechadur yn y byd, yn filoedd o gyfryw bechaduriaid ac ydwyt ti: na wna di ddim ond (y peth y mae Duw yn ei erchi i ti) *sef, edifarhau a chredu, a gwaed Iesu Grist,* Act. 20. 28. *gan ei fod yn waed Duw a'th lanhâ di* 1. Ioa. 1. 7. *a'n hwythau, oddiwrth eich holl bechodau.*

2. Megis y rhagwelodd D*uw* yr holl bechodau ar a wnai 'r byd, ac etto na allai yr holl rai hynny ei rwystro ef rhag caru y byd, fel y rhoddes ef *ei unig-anedig Fab i farwolaeth, i waredu cynifer o'r byd ac a gredent ac a edifarhaent:* Llai o lawer y geill dy bechodau

chodau di (gan eu bod yn bechodau yr aelod lleiaf o'r byd) fod o nerth i rwystro Duw rhag caru dy enaid, a maddau dy bechodau, os tydi a *edifarhei a chredu?*

3. Os darfu iddo ef dy garu di (pryd yr oeddit ti yn elyn iddo ef) fel y talodd ef drosot ti bris mor werthfawr, a thywalltiad gwaed ei galon; pa fodd y gall ef yr awrhon na byddo yn rasusol wrthit, pryd nad rhaid iddo er dy waredu, ond bwrw vn olwg yn rasusol arnat? Nac edrych di gan hynny ar faintiolaeth dy bechodau, ond ar anfeidroldeb ei drugaredd ef, yr hwn sydd felly yn fwy na mwy, fel pe rhoi ti dy oll orthrymmion bechodau ynghyd, a rhoi attynt bechodau *Cain* a *Iudas*, a rhoi attynt hwythau holl bechodau yr holl rai melldigedigion o'r byd: (diammau y byddai yn bentwrr mawr) etto cyffelyba y pentwr mawr hwn, ag anhersynol drugaredd Dduw, ac ni bydd mwy cyffelybiaeth rhyngddynt, na rhwng y twnpath lleiaf o bridd y wadd, ar mynydd mwyaf yn y wlad. Ni allai gwaedd y pechodau gorthrymmaf a'r

a ddarfu i ni ddarllain am danynt, gyrraedd ddim vwch nar nefoedd: ond trugaredd Duw (medd *Dafydd*) *sydd oddiar y nefoedd*, ac felly vwchlaw ein *holl bechodau*. Ac os yw *ei drugaredd ef yn fwy nai holl weithredoedd*, y mae yn rhaid iddo fod yn fwy nath holl bechodau di. A thra bo ei drugaredd ef yn fwy na phechodau yr holl fyd, na wna di ddim ond *edifarhau* ac nid oes ammau o *faddeuant*.

Psa. 108 4.

*Os bydd Satan yn haeru ddarfod i ti yn fynych o amser wneuthur adduned o edifeirwch, a gwneuthur llun o edifeirwch dros amser, ac etto cwympo ir vnrhyw bechodau, drachefn a thrachefn, ac nad oedd dy holl edifeirwch ond rhith twyllodrus a gwatwor Duw, a chan weled ddarfod i ti mor fynych dorri dy adduned, am hynny fe dynnodd Duw ymmaith ei drugaredd, ac a newidiodd ei gariad &c.* myfyria:

*Pumed ddadl Satan.*

1. Pa rhôn a bod o hyn yn wir, (yr hyn mewn gwirionedd sydd *anaml*) etto nid yw achos gymhessur (o herwydd yr hon y dylit anobeithio; gan weled mai dyma gyflwr cyffredin holl blant Duw yn y bywyd hwn, y rhai sydd

*Y derbyniad.*

ſydd yn addunedu a thynghedu cyn fynyched, y gadawant ymmaith ryw bechod, nes iddynt ddeall ei gwendid i gyflawni hynny, fel nad ydynt yn addunedu mwyach. Y mae eu *hadduneddau* yn dangos deiſyfiadau eu *dyn yſprydol*; eu gwaith yn ei dorri ſy 'n dangos gwendid eu cnawd llygredig. Au mynych lithro i'r vnrhyw bechodau yr ydoedd Duw yn ei ragweled, pan ddyſcodd efe i ni weddio beunydd, *O Dâd maddeu i ni ein dyledion.* A pha ham y mae Crist yn gorchymmyn i ti, (yr hwn nid wyt ond dyn pechadurus ) faddeu i'th frawd ſaithwaith yn y dydd, os dychwel ef ſaithwaith yn y dydd a dywedyd: Y mae 'n edifar gennif? ond i'th ſiccrhau di, y maddeu ef (gan ei fod ef yn Dduw 'r drugaredd, ac yn ddaioni ei hûn) i ti dy *ddengwaith a thrugain ſaithwaith* o'th ſaith ddyblyg bechodau, yn y dydd, y rhai a wnaethoſt yn ei erbyn ef, os dychweli di atto ef trwy wir edifeirwch. Fe iachauwyd yr *Iſraeliad* wrth edrych (a golygon gweiniaid) ar *y Sarph brês*, cyn fynyched ac y brathei y ſarph

Num. 21. 9.

*danllyd hwynt yn yr anialwch* : i'th sicrhau di, mai ar dy ddagrau o edifeirwch, y cai di dy iachau trwy ffydd yng-Hrist, cyn fynyched ac i'th frethir di i farwolaeth gan bechod.

2. Fod dy iechydwriaeth gwedi ei seilio nid ar ddi-anwadalrwydd dy vfydd-dod, eithr ar nerth disigl cyfammod Duw. Er dy fod di yn ymrafaelio neu yn neillduo oddiwrth Dduw, a bod y cyfammod wedi ei dorri o'th du di, etto y mae yn gyfan o'i du ef, ac am hynny y mae pob peth yn ei le, os tydi a ddychweli : Canys nid oes na chyfnewidiad na *chyscod o dreigliaeth gyd ag ef.* Efe a glodd i fynu dy iechydwriaeth, ac a'i gwnaeth ef yn ddiogel yn ei arfaeth digyfnewidiol ei hun, ac a draddododd i'th cadwraeth di yr *agoriadau*, yr rhai ydynt *ffydd* ac *edifeirwch* : a thra fyddont yn dy eiddo, di a elli dy berswadio dy hun, fod dy iechydwriaeth yn sicer ac yn ddiogel : Canys yr hwn y mae Duw *yn ei garu, y mae efe yn ei garu ef hyd y diwedd*, ac nid edifarha efe byth o herwydd bwrw ei serch ar y rhai a *edifarhant ac a gredant*.

Rhu. 9. 11

*Wrth yr agoriadau hyn yr agorodd Petr y nef iddo i hun ac yn ol hynny gida ar Apostolion eraill.*

Yn

*Yn olaf, o bydd Satan yn dwyn ar ddeall i ti dyfod ti yn amman yn hir o bryd, a bod yn orau i ti yr awrhon anobaitho, gan weled fod dy bechodau yn cynnyddu, a'th farnedigaeth yn tynnu yn agos* : myfyria : (*chweched ddadl Satan.*)

1. Na ddylai vn pechod (er maint a fâi) fod yn achos i beri i Grifstion anobeithio, tra byddo trugaredd Dduw o lawer myrddiwn ò raddau yn fwy: a bod pob rhyw bechadur edifeiriol credadwy yn cael maddeuant o'i holl bechodau, ffurfiedig trwy air a llwf Duw; *dau beth di-anwadal, yn y rhai y mae yn ambossibl i Dduw fod yn gelwyddog*. Ei air yw, pa bryd bynnac y byddo pechadur, neu pwy bynnac a edifarhâo o'i bechod, py beth bynnac, (canys y ddau fef *y pryd, y pechodau, ar pechaduriaid*, ydynt an-nherfynedig) *o eigion ei galon, efe a ollwng Duwdros gof yr holl anwiredd ar a wnaeth ef, fel na edliwir mo honynt iddo ef mwyach*. Oni chymmerwn ni ei air ef (yr hwn na atto Duw i ni ei ammau) efe a roes ei lwf i ni: *fel yr wyf byw nid wyf yn dymuno mo farwolaeth yr annuwiol ond troi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd a byw*. Fel pe dywedasai

Heb. 6. 18.
Eze. 18. 21.
Eze. 33. 11.

dasai, oni choeliwch i'm gair, yr wyf yn tyngu myn fy mywyd, nad wyf yn ymddigrifo yn rhoi vn pachadur yn y byd i farwolaeth, am ei bechodau, ond yn hytrach yn chwennych ei waredu ar ei droad a'i edifeirwch.

Myfyrio yr hyn beth a barodd i *Tertullian lefain: O dedwyddol ydym, er mwyn y rhai y mae Duw yn tyngu, nad yw yn ewyllysio ein rhoi i farwolaeth.* Oh pa fath *drueiniaid enbydus ydym ni, oni choeliwn i Dduw pan fyddo ef yn tyngu y gwirionedd hwn i ni.* Eurglyw o yspryd trwmbluog, enaid yr hwn a orthryblir gan donneu anobaith anffydlawn; mor ddedwydd a fyddai weled llawer o'th faeth di a *Hezechias? (yr rhai a ruddfanai megis clomennod gan orthrymder pechod, ac a fyddai yn trydar megis garanod neu wenholiaid rhag ofn digofaint Duw,* yn hytrach na gweled llawer o rai a fyddent marw megis anifeiliaid, heb ddim ystyriaeth o'i cyflwr eu hunain, na dim ofn digofaint Duw, neu 'r Orseddfaingc, o flaen yr hon y maent i ymddangos? Siria a chyssura dy di dy hunan o enaid gofidus, canys os oes

ar

ar ddaiar hon yr vn y darfu i Grist dywalld ei waed trosdo ar y groes, tydi yn dra-diogel ydwyt vn. Ymhyfryda gan hynny dy di dy hun yn yr oll-ddigonawl aberth o waed yr Oen, *yr hwn sydd yn dywedyd pethau gwell na 'r eiddo Abel.* Heb.12. A gweddia tros y cyfryw ni chawsont erioed etto râs, i ystyried a chasshau pechod. Ty di yn wir ydwyt vn tros yr hwn y bu Grist farw, Ac oddiwrth yr hwn y llefodd yspryd drylliedig, megis llef alarus ein Harglwydd Crist: *sef, fy Nuw pa ham im gwrthodaist?* Tim 2.12 *Ac* na ammau cyn bo hir na chai di deyrnasu cyn sicred gyd a'g ef, ac yr wyt ti yr awrhon yn dioddef gyd ag efo. 2 Cor.1. 20. Canys *ie* ac *Amen* a ddywedodd hynny. Dad.3.14 Nid oes vn pechod yn attal dyn rhag iechydwriaeth, ond yn vnig anobaith, a diedifeirwch: Nid oes dim a ddichon wneuthur y pechod yn erbyn yr Yspryd glân yn *ddifaddeuant* ond esiau *edifeirwch*. Y mae dy ddeisyfiad chwannog i edifarhau mor gymmeradwy gan Dduw, ac yw yr edifeirwch perffeithiaf ar a ddymunit ti ei gyflawni ag efo.

Myfyria ar y cyssurau Efengylaidd hyn, ac ti a gai weled mai yn y loes drangcedig olaf wrth farw, y cymmorthwya Duw dydi a'i lân yspryd, megis pan fyddo *Satan* yn edrych am yr oruwchafiaeth fwyaf, y caiff ef ei dwyllo yn bennaf; Ie pan fyddo llinynnau dy lygaid gwedi torri, megis na ellych weled mor goleuni, *Iesu Grist* a ymddengys i ti i gyssuro dy enaid, a'i Angelion sanctaidd a'th ddygant di iw *deyrnas nefol.* Yno y caiff dy gyfeillion di dy ganfod, megis *Angel Manoah*, yn gwneuthur iawn ryfeddodau: sef cael gweled dŷn diffrwyth yn ei wendid mwyaf (trwy gynnorth o wyad Yspryd Duw) yn gorchfygu cryfder *pechod*, chwerwder *angau*, a holl egni a gallu *Satan:* ac ym mrwdaniaeth ffydd, ac arogldarth gweddi, yn ymdderchafu i fynu gyd a'g Angelion, trwy oruchafiaeth i'r nefoedd.

### *Addysc i'r rhai a ddelont i ymweled ar clas.*

Y Sawl a ddelant i ymweled a'r clâf, y mae 'n rhaid iddynt gymmeryd prif ofal na safant yn *fud* i lygaid rythu yn wyneb y dyn clwyfus, i'w aflonyddu ef, ac na siaradant yn ofer. i ofyn rhesymmau neu ofynnion anfuddiol, fel y gwna llawer.

Os gwelant hwy gan hynny fod y dyn clwyfus yn debyg i farw, mogelant ei dwyllo ef, eithr yn gariadol ac yn weddus, rhybuddiant ef o'i wendid a'i lescrwydd, a pharant iddo ymbarotoi i fywyd tragwyddol. Vn awr wedi ei threilio yn dda, pan fyddo einioes dŷn agos wedi ei threilio allan, a eill ynnill i ddyn ddiogelrwydd o fywyd tragwyddol. Na phortha ei chwedl ef, i'w sommi â gwâg hyder neu ofer obaith o'r bywyd hwn, i fradychu ei enaid i farwolaeth dragwyddol. Rhybuddia ef yn ddi-ragrith o'i gyflwr, a gofyn iddo ar fyrr, yr rhai hyn, neu 'r cyfryw gwestiwnau.

*Gofynion*

*Gofynion i holi 'r dŷn claf a fyddo tebyg i farw.*

WYt ti yn credu mai 'r hollalluog Dduw, Trindod o bersonau mewn vndod o sylwedd, a wnaeth nefoedd a daiar, a chwbl oll ar sydd ynddynt trwy ei allu ei hunan? Ai fod ef yn oesdadol trwy ei *dduwiol ragluniaeth* yn eu llywodraethu hwynt? Fel nad oes dim yn digwyddo yn y *byd*, nac i *ettham*, ond yr hyn a ddarfu i'w nerth goruchel a'i *dduwiol ddoethineb*, *ei lywiaw a'i ragddarparu o'r blaen iw wneuthur?*

2. Wyt ti yn cyfaddef, ddarfod i ti drofeddu a thorri sanctaidd *orchymynnion* yr oilalluog Dduw, mewn meddwl, gair, a gweithred? A haeddu o honot am dorri ei *gyfreithiau bendigedig*, felldith Duw, yr hwn a gynnwys oll drueni y byd hwn, a phoenau tragwyddol yn nhân vffern, pan ddiweddo y bywyd hwn, pe gwnai Dduw â thydi yn ol dy haeddedigaethau?

3. O nid yw yn ddrwg gennit yn dy

dy galon, ddarfod i ti dorri ei gyfreithiau, ac esceuluso ei wasanaeth a'i addoliad, a chynllwyn y byd a'th trachwantau ofer dy hun mor ddyfal? Ac onid arweinit ti fywyd sancteiddiolach, pe byddit i ddechrau byw drachefn?

4. Onid wyt ti o'th galon yn deisyfu dy fod gwedi dy vno â Duw yn *Iesu Grist*, ei Fab bendigedig, dy gyfryngwr, yr hwn sydd ar ddeheulaw Dduw yn y nefoedd, yn awr yn *ymddangos drosot yngolwg* Duw, *ac yn gwneuthur ei erfynniad atto ef dros dy enaid?* Rhu.8. 34.

5 Wyt ti yn gwadu ac yn fficiddio pob hyder a chrediniaeth mewn cyfryngwyr neu ddadleuwyr eraill, fef Sainctiau neu Angelion, gan gredu fod Iesu Grist yr vnig gyfryngwr o'r Testament newydd, yn *dichon yn berffaith waredu* y sawl a ddelant at Dduw trwyddo ef, gan weled ei fod ef yn byw yn oestadol i wneuthur *cyfryngdod trostynt?* Ac a ddywedi di gyd â *Dafydd* wrth Grist: *Pwy sydd gennif fi yn y nefoedd ond ty di? ac ni ewyllysiais ar y ddaiar neb gyd â thydi?* 1. Tim.2 5. Heb.7. 25. Psal.73. 25.

6. Wyt

6. Wyt ti yn hyderus yn credu, ac yn gobeithio bod yn gadwedig, trwy vnig haeddedigaethau y farwolaeth waedlyd, a ddioddefodd *Iesu Grist* trosot ti? heb osod dim hyder oth iechydwriaeth yn dy haeddedigaethau dy hun, nac mewn vnrhyw gyfryngau na chreaduriaid eraill? gan dy sicrhau
Act. 4.12 Act. 10. 43. dy hun yn ddiogel, nad oes *iechydwriaeth yn neb arall: ac nad oes vn enw arall dan y nef, drwy 'r hwn y mae yn rhaid i'n fod yn gadwedig.*

7. Wyd ti yn ewyllyscar yn maddeu pob trais a chamwedd ar a wnaethpwyd neu a gynnygiwyd i ti gan bob mâth ar ddyn pwy bynnac? Ac wyt ti mor ewyllyscar o'th calon, yn gofyn maddeuant gan bawb, ar y gwnaethost di gamwedd ag hwynt hwy mewn gair, neu weithred, ac wyt ti yn taflu allan o'th calon bob *llid* a *chasineb*, oedd ynot ti? Fel y gellych di ymddangos ger bron wyneb Crist (tywysog tanghneddyf) mewn gwisc *o sancteiddrwydd a chariad perffaith*?

8. Ydyw dy gydwybod yn cyhuddo i ti ddwyn dim ar gam, neu fod yn

dal

dal dim wrth fôn brauch, oddiwrth vn wraig weddw, na phlentyn ymddifad, neu oddiwrth neb arall pwy bynnac? Bydd ficer a diogel, onis teli di yn ôl mal *Zacheus* y da neu y tiroedd hynny, ( o byddi di yn gallael) na elli di mor gwir edifarhau, ac heb wir edifeirwch, ni elli di mor bod yn gadwedig, nac edrych yn wyneb Crist pan fyddych i ymddangos ger bron ei Orseddfaingc ef.

9. Wyt ti ollawl yn credu, y cyfodir dy gorph di allan or bedd, ar lais yr vdcorn diweddaf? ac y caiff dy gorph ath enaid eu cyfylltu yn vn drachefn, yn nydd yr adcyfodiad, i atteb ger bron yr Arglwydd *Iesu Grist*; ac oddiyno i fyned gyd a'g ef i deyrnas nefoedd, i fyw mewn tragwyddol hyfrydwch a gogoniant?

Os y dyn clwyfus a etyb i'r holl ofynion hynny, megis Cristion ffyddlawn, yno gadewch i bawb ar a fyddo yn bresennol vno ynghyd i weddio trosto ef, fel hyn, neu mewn geiriau or cyffelyb.

Gweddi

*Gweddi iw dywedyd dros y claf, gan y rhai a ddelant i ymweled ag efo.*

O Drugarog Dad, yr hwn wyt Arglwydd a roddwr y bywyd, i'r hwn y perthyn dirwyon marwolaeth; Nyni dy blant sydd yma gwedi ein ymgynnull, ydym yn cydnabod, mai (o herwydd amldra ein pechodau) nad ydym ni deilwng i ofyn vn fendith i ni ein hunain ar dy ddwylaw di: llai a llawer i fod yn negesswyr at dy *Fawrhydi* dros eraill: etto o herwydd i ti ein gorchymmyn i weddio y naill
Iac.5.16 dros y llall, yn enwedig dros y claf, ac a ddywedaist mai llawer a ddichon gweddi y cyfiawn gyd â thi: gan hynny yn vfydd-dod dy orchymmyn, ac mewn hyder o'th addewid grasusol, yr ydym ni mor hŷf a dyfod yn ostyngedig ymbilwyr at dy dduwiol Fawrhydi, dros ein anwyl frawd (neu ein chwaer,) a'r hwn yr ymwclaist di a cherydd dy law dadol dy hun. Ni a ddymunem o ewyllys ein calon-

naū

nau iddo ef gael ei iechyd drachefn, a chael ei griſtianogawl gymydeithas yn hwy, yn ein plith: Eithr yn gymmaint ac yr ymddengys (fel yr rydym ni yn gweled) ddarfod i ti *raglunio* trwy yr *ymweliad* hyn, i alw arno ef allan or bywyd marwol hwn: yr ydym ni yn daroſtwng ein deiſyfiadau i'th fendigedig ewyllys, ac yn ymbil yn oſtyngedig er mwyn *Ieſu Griſt*, a haeddedigaethau ei chwerw-angau ai ddioddefaint (yr hon a ddioddefodd troſto ef) ar i ti faddeu a gollwng tros gôf ei holl bechodau: yngyſtal y pechod yn yr hwn yr *ymeillwyd ac y ganwyd*, a'r holl feiau ar troſeddau eraill hefyd, ar a wnaeth efe, o'r pryd hynny hyd y dydd ar awr hon, mewn meddwl, gair a gweithred, yn erbyn dy dduwiol Fawrhydi. Pellhâ hwynt y tu ôl i'th cefn: ſymmud hwynt cyn belled o'th wydd di, ac yw *y dwyrain* Pſal. 103
*oddiwrth y gorllewin.* Gollwng hwynt 12.
dros gof, na ddôd mo hynynt yn ei fauch ef: golch hwynt ymmaith â *Gwaed Criſt*, fel na byddo mwyach hanes am danynt, a gwared efe oddiwrth yr holl famedigaethau, y rhai ydynt ddyledus

ledus iddo am ei bechodau, fel na allant fyth bwyso ar ei gydwybod, na chyfodi *yn erbyn ei enaid Ddydd y Farn, a chyfrif iddo ef gyfiawnder Iesu Grist:* Megis y byddo yn gyfiawn yn dy olwg di. Ac yn ei gyfyngdra y pryd hyn, ni attolygwn i ti edrych i lawr o'r nefoedd arno ef ar cyfryw olygiad o râs a thosturi, ac y byddi arfer o edrych ar dy blant yn eu gorthrymder a'i trueni. Trugarhâ wrth dy *was clwyfus*, megis wrth y *Samaritan da:* Canys y mae yma enaid clwyfus ac eisiau cynnorthwy y fâth *physygwr nefol.* O Arglwydd chwanega ei ffydd, fel y byddo 'n credu farw o Grist trosto ef, a bod ei waed ef yn ei lanhau ef oddiwrth ei holl bechodau: ac naill a'i esmwytha ei boen, a'i chwanega ei ammynedd i groesawu dy fendigedig ewyllys. Ac na osod Arglwydd daionus, ddim mwy arno ef, nac a wnelych di iddo allael ei ddwyn: cyfyd ef i fynu attat ti, gyd a'i *ocheneidiau* a'i *riddfanau*, y rhai ni ellir moi hadrodd. Gwna iddo ef yr awrhon *glywed* beth yw gobaith ei alwedigaeth, a pha beth yw tra-odidawg fawredd dy drugaredd

redd a'th allu tu ag at y rhai a gredant ynot ti. Ac yn y gwendid hwn o Arglwydd, dangos di dy nerth, ymddiffyn ef rhag oll *ruthrau a phrofedigaethau Satan*: yr hwn (megis y gwnaeth bob amser oi fywyd) sydd yr awrhon yn enwedig yn ei wendid yn gosod arno, ac yn ceisio ei ddifa ef. Oh achub ei enaid, ac argyoedda *Satan*, a gorchymmyn i'th Angelion Sanctaidd fod o'i amgylch iw ddiddanu, ac i ymlid ymaith holl ysprydion drygfawr maleusys ymhell oddiwrtho. Gwna iddo ef fwyfwy ffieiddio y byd hwn, a dymuno *ei ymddattodiad ai fod gyd â Christ*. A phan ddelo yr *awr dda* a'r amser (yn yr hon y rhaglunieaist ei alw ef allan or byd presennol hwn) dôd iddo râs yn danghneddyfus, ac yn orfoleddus, i roddi ei fynu ei *enaid i'th ddwylaw trugarog di*. Derbyn di ef i'th drugaredd, a gâd i'th Angelion sanctaidd ei ddwyn i'th dragwyddol deyrnas. Gwna ei awr *olaf*, yn awr *wrolaf*, ei *eiriau olaf*, yn eiriau *gorau*, ei feddyliau *olaf*, yn feddyliau *gweddolaf*. A phan fyddo llewyrch ei lygaid yn methu, a'i dafod yn pallu

yn

yn ei swydd: canniattâ (o Arglwydd) iw enaid allael (gyd â *Stephen*) gan-fod *Iesu Grist*, yn y nefoedd yn barod i'w dderbyn ef: Ac fel y byddo
Rhu. 8 26 *dy yspryd di yn erfyn trosto ef ag ochenéidiau anrhaethadwy*: Dysc ninnau ynddo ef i weled ein *diwedd* ein hunain, a'n *marwoldeb*. Ac am hynny i fod yn ofalus i'n paratoi ein hunain, erbyn ein *dyddiau diweddaf*, a'n gosod ein hunain mewn trefn a pharodrwydd, erbyn yr amser y gelwych di amdanom yn yr vn agwedd. Fel hyn o Arglwydd yr ydym ni yn gorchymmyn ein anwyl frawd (neu ein chwaer) dy wasanaethydd clwyfus, i'th dragwyddol râd ath drugaredd, yn y weddi a ddyscodd Crist i ni gan ddywedyd.

*Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.*

*Dy Râd, o Arglwydd Iesu, dy serch o nefol Dâd, dy gymdeithas a'th ddiddanwch o Yspryd sanctaidd, a fyddo gyd â nyni oll, ac yn enwedig gyd a'th wasanaethydd clwyfus hwn, hyd y diwedd ac yn y diwedd.* Amen.

Darllennant yn fynych i'r claf rhai pen-

pennodau hynodol o'r Scrythyrau ſanctaidd, megis:

Y tri phennod cyntaf o lyfr *Iob.*

Y 14. ar 19 pennodau o *Iob.*

Y 34. pennod o *Deuteronomi.*

Y Ddau benod olaf o *Ioſuah.*

Y 17. pennod o'r cyntaf o'r *Brenhinoedd.*

Yr 2. 4. ar 12. pennodau, or ail llyfr o'r *Brenhinoedd.*

Y 38. 40. ar 6. 5. pennodau o *Eſay.*

Hiſtori dioddefaint Criſt.

Yr 8. pennod at y *Rhufeiniaid.*

Y 15. pennod or llythyr cyntaf at y *Corinthiaid.*

Y 4. or llythyr at y *Theſſoloniaid.*

Y 5. pennod o ail lythyr *Paul* at y *Corinthiaid.*

Y cyntaf ar olaf o bennodau S^t. *Iaco.*

Yr 11. ar 12. at yr *Hebraaid.*

Y llythyr cyntaf ei *Petr.*

Y tri phennod cyntaf neu y tri olaf o Dadcuddiad *Ioan*, neu rai or rhain.

Ac felly athrawiaethu a chynghori y dyn clwyfus i wilied ac i ddiſgwyl wrth

wrth Dduw trwy ffydd ac ammynedd, nes iddo efe ddanfon am dano; a chan weddio at yr Arglwydd, am roi iddynt gyfarfod llawen yn nheyrnas nefoedd, ac adcyfodiad bendigedig yn y dydd diweddaf: hwy a allant ymadael pan fynnont yn nhanghneddyf Duw.

---

### *Amryw gyffur diddanaidd yn erbyn annioddefgarwch mewn clefyd.*

OS yn dy glefyd o herwydd trymder dy boen, y byddi yn annoddefgar, myfyria:

1. Fod dy bechodau yn haeddu poenau vffern, am hynny di a elli trwy fwy ammynedd oddef y cospedigaethau tadol hyn.

2, Mai y rhain yw gwialenodiau dy Dad nefol, a bod y wialen yn ei law ef. Os dioddefaist di trwy vfydd-dod gerydd dy Dâd neu'th fam pan oeddit yn fachgen; pa faint mwy y dylit ti yr awr hon dy ddarostwng dy hun (a thithau yn blentyn i Dduw) i gosp dy Dâd

Dâd nefol; gan weled fod hyn yn dragwyddol ddawn i ti?

3. Ddarfod ei Grist oddef yn ei enaid a'i gorph, fwy dirmygus a gofidus boenau drosot ti: am hynny ti a ddylit fod yn fodlonach i ddioddef ei fendigedig ewyllys, er mwyn dy ddaioni dy hun. Am hynny (medd *Petr,*) *Crist a ddioddefodd drosoch chwi gan adel i chwi siampl, fel y canlynech ei ol ef. A gadewch i ni* (medd S[t] *Paul*) *redeg mewn ammynedd yr yrfa o osodwyd on blaen ni, gan edrych ar Iesu pen tywysog, a pherffeithydd ein ffydd ni, yr hwn yn lle y llawenydd a osodwyd iddo a ddioddefodd y groes &c.* *Vir dolorum.* Esay 53.3 1.Petr 2.21. Heb. 12.1.2.

4. Nad yw y gofidiau yr ydych chwi yr awrhon yn eu dioddef, ddim ond y *cyfryw a gyflawnir yn eich brodyr, y rhai ydynt yn y byd*, fel y tystiolaetha *Petr:* Ie cystuddiau *Iob* oeddynt o lawer yn fwy gofidus. Nid oes yr vn or Sainctiau, y rhai ydynt yr awrhon yn yr orphywyssa nefol, na oddefodd gymmaint ac yr ydych chwi yn ei oddef, cyn iddynt fyned yno; Ie llawer o honynt a ddioddefodd yn ewyllyscar, yr holl boenau ar dialeddau 1.Petr.5.9.

aleddau, ar a allai Orthrechwyr, neu wyr creulon ei osod arnynt, fel y gallent fyned i'r llawenydd nefol, i'r hwn i'ch gelwir chwi 'r awrhon. Ac y mae i chwi addewid: *sef, Duw pob grâs, wedi i chwi oddef ychydig; ach perffeithia chwi, ach cadarnhao chwi, a'ch cryfhao ac ach sefydlo. Ar Duw hwnnw o'i ffyddlondeb, ni âd eich temtio uwch-law yr hyn a alloch, eithr gyd a'r * temtasiwn y gwna efe ddiangfa fel y galloch ei ddwyn.*

1.Pet.5.10. 1.Cor.10.13.

* Profedigaeth.

5. Ddarfod i Dduw rag-ddarparu yr amser y caiff dy glefyd ti *ddiben* yn gystal ar amser e'i cafodd *ddechreuad.* Namyn dwy flynedd deugain oedd wedi ei ordeinio *i'r dŷn clwyfus wrth lynn Bethesda. Dauddeng-mhlynedd* i'r wraig *ar diferlif gwaed*: Tri mîs i *Moses*: dêg diwrnod o gystudd i'r *Angel o Eglwys Smyrna*; Tridiau o bla haint i *Ddafydd.* Ie y mae rhif dagrau y Duwiol gwedi eu *rhoi ar lawr yn llyfr Duw*, a chymmaint sydd o honynt, yn *gadwedig yn ei gostrel ef.* Amser ein blinderau (medd Crist) nid yw ond ychydig: Nid yw digofaint Duw (medd *Dafydd*) yn para ond

Ioa. 5.5. Mat.9.20 Exod.2.2 Dan 10 2 2.Sam.24 13.

tros

tros amrantyn, *ychydig amser* medd yr Arglwydd, ac am hynny nid yw yn galw holl amser ein blinder, ond awr o gystudd. *Dafydd* sydd yn cyffelybu ein cystudd i lif cornant, o ran ei chwŷrnwyrned: Ac *Athanasius* i gawod. Cyffelybwch y trueni hwyaf ar a ddioddefo dŷn yn y byd hwn, i dragywyddoldeb y llawenydd nefol, ac nid yw ddim yn ei herwydd. Ac fel y mae y golwg ar Fab a enir yn iach ddianaf, yn peri i'r fam anghofio ei llafurus boen o'r blaen: felly y golwg ar Grist yn y nefoedd, yr hwn a aned er dy fwyn di, a wna i ti anghofio yr *holl* ofidiau angau hyn, fal pe buasent erioed heb fod: Megis *Stephen*, yr hwn cyn gynted ac y gwelodd efe *Grist*, a anghofiodd ei archollion ei hun, dychryn y bedd, ac ofn y cerrig: ac yn ddiddanus esmwythlan a orchymynnod ei enaid i ddwylaw i Iachawdwr. Anghofia dy boen dy hun, meddwl am friwiau Crist: *Bydd ffyddlawn hyd farwolaeth, ac efe a rydd i ti goron y bywyd tragwyddol.*

Psal.8. Dad.6.11. Ioan.16. Psal.110.7.

Act.7.

Dad.2.10

6. Ych bod chwi yr awrhon wedi ych galw i'ch ail-holi i ysgol Grist, i

weled pa faint o *ffydd*, *ammynedd*, *a dywioldeb* a ddyscassoch chwi hyd yn
Iob 2.10 hyn: a pha vn a wnewch chwi mal *Iob* a'i gallel derbyn peth drwg ar law Dduw, yn gystal ac y darfu i chwi hyd yn hyn dderbyn llawer o ddaioni. Megis gan hynny y gweddiasoch bob amser, *bydded dy ewyllys*, felly na fydd yn awr yn amhwyllig o herwydd yr hyn y mae ei ewyllys bendigedig yn ei wneuthur.

Rhu 8. 28. 7. Fod *pob peth yn cyd-weithio er daioni i'r rhai a garant Dduw, yn gymmaint nad oes nac angau, nac einioes nac Angelion, na thywysogaethau na meddiannau &c. A eill ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd Yng-Hrist Iesu ein Harglwydd.* Byddwch chwi ddiogel fod pob gwaiwloes neu drymgur yn achub rhag poenau vffern; a phob yspaid esmwyth, yn argoel o'r orphywyssa nefol: a pha gymmaint o ffynnodiau a dybygech chwi a dâl y nefoedd? fel yr oedd ych bywyd yn ddiddanwch ac yn gyssur i eraill: felly rhowch i'ch cyfeillion siampl gristianogawl i farw, a sonnmwch y cythraul fel y gwnaeth *Iob*. Nid yw

ond

ond croes Crist wedi ei danson o'r blaen i groeshoelio cariad y byd ynot ti: Megis y gellych di fy..ed yn dragwyddol i fyw gyd â Christ yr h..n a groeshoeliwyd trosot ti. Fel yr wyd ti gan hynny yn w..r Gristion cymmer i fynu (mal *Simon o Ciren*) a'th ddwy law, ei groes sanctaidd ef, dwg hi ar ei ol iddo ef; dy boenau ar fyrr a ballant, dy lawenydd byth ni dderfydd.

---

*Cyssurau yn erbyn ofn marwolaeth.*

OS byddi di yn dy glefyd yn dy glywed dy hun yn ofnus gennyt farw, myfyria:

1. Fod hynny yn arwyddoccau meddwl llwfr aruthr, ofni y peth *nid ydyw*. O blegit *yn Eglwys Dduw nid oes vn farwolaeth*, *Esay* 25. 7. 8. A phwy bynnac sydd yn fyw, ac yn credu yng-Hrist ni fydd marw byth *Ioa.* 11. 26. Gadewch i'r rhai a fyddo byw heb Grist ofni marwolaeth. Nid yw Cristianogion yn marw, ond pan welo Duw fod yn dda, maent hwy (fel *Enoch*) yn cael eu *cyfnewidio* at Dduw. Gen. 5. 24.

Nid yw eu poenau ond *cerbydau tanllyd Elias*, iw dwyn ir nefoedd: neu megis cornwydydd *Lazarus*, i'w danfon i fynwes *Abraham*. I fod yn fyrr, os wytti vn or rheini sydd mal *Lazarus* yn caru Crist, *nid yw dy glefyd hyd farwolaeth, ond er gogoniant i Dduw:* yr hwn o'i gariad a *gyfnewid dy farwolaeth fywiol* i *fywyd tragwyddol*. Ac os darfu i lawer o'r gwyr anghristianogawl, sef y cenedloedd, *Socrates, Curtius, Seneca &c*, farw yn ewyllyscar (pryd y gallasent fyw) mewn gobaith o anfarwoldeb yr enaid; a fyddi di wedi cael dy ddygiad i fynu cyhyd yn *yscol Grist*, (ac yr awrhon wedi dy alw i *wledd briodas* y bendigedig *Oen*) *Dad*. 19. 7. yn vn o'r gwahoddwyr hynny a naccâodd o ddyfod ir *wledd orfoleddus honno?* Na atto Duw.

1. Bren. 2. 11. Luc. 16. 23.

2. Cofia nad yw dy drigfa di yma, ond ail radd o'th fywyd: o blegit wedi i ti fyw yn gyntaf nawmis ynghroth dy fam, yr oedd yn anghenrhaid dy yrru oddiyno i fyw yma mewn ail-radd ar fywyd. A phan ddarfyddo y rhif or misoedd, a osododd Duw i ti i fyw yn y bywyd hwn, y mae 'n rhaid i ti vn

ffunyd

ffunyd adel hwn, a myned i'r trydydd radd yn y byd arall, yr hwn ni ddiwedda byth. Yr hwn, i'r rhai ſydd yn byw ac yr marw yn yr Arglwydd, ſydd yn rhagori cyn belled ar y fâth fyd a hwn, ac y mae hwn yn rhagori ar fywyd vn a fâi yn byw ynghroth ei fam. I'r bywyd olaf ar godidoccaf hwn, trwy y drws hwnnw yr aeth Criſt ei hun, a'r holl Sainctiau a fuont o'th flaendi, ac felly yr aiff y cwbl o'r lleill ar au hôl hwynt a thithau. Pa ham y dylit ti ofni y peth ſydd gyffredin i holl *etholedigion Duw?* Pa ham y bydd hynny mor anfodlon gennit ti, yr hyn oedd mor groeſawgar gyd a'g hwynt oll? Nac ofna farwolaeth, canys fel y mae hi yn *Exodus* o'r drwg, felly y mae hi yn *Geneſis* o fyd gwell: diwedd amſerol, ond dychreuad bywyd tragwyddol.

3. Yſtyria nad oes ond tri pheth a eill beri marwolaeth mor ofnadwy i ti: yn gyntaf, y golled ſydd i ti o'i phlegit: yn ail y boen ſydd ynddi: yn drydydd, y digwyddiadau echryſlon ſydd yn canlyn ar ei hol. Nid yw y rhai hyn eu gyd, ond megis gwreichion o dân ellyll

 ac

acofn diachos. Canys am y cyntaf, os wyt ti yn gadel yma, dda darfodedig, y rhai a eill lladron eu lledratta, di gai yn y nefoedd wir drysawr, yr hwn ni ellir byth moi ddwyn oddiarnat: nid oedd y rhai hyn ond benthyg i ti, megis i oruchwiliwr dan gyfrif. Y rhai hynny a roddir yn wobr tragwyddol i ti. Os wyt ti yn gadel *gwraig gariadus*, di gai dy briodi â *Christ*, yr hwn sydd *gariadusach.* Os wyt ti yn gadel *plant* a *chyfeillion*, di gai weled yno dy holl *henafiaid duwiol*, ar *plant* a ymadawsant: Ie Crist a'i holl Sainctiau a'i Angelion; a chynifer o'th plant ti ac ydynt blant i Dduw, a *ddaw* yno ar dy ol di:

Ioa.14. 1. yr ydwyt ti yn gadel *meddiant daiarol, a Thŷ o glai*: a thi a gai feddu etifeddiaith nefol, ac eisteddle mewn gogoniant, yr hon a brynwyd, a baratowyd, ac a gadwyd i ti. A pha golled sydd itti? Na, onid yw marwolaeth yn elw i ti? *Dos adref. dos adref*, a nyni a ganllynwn ar dy ol di.

Yn ail, am y boen ym marwolaeth: y mae ofn marwolaeth yn *poeni* llawer, yn fwy na gloes angau: Canys y mae llawer Cristion yn marw heb na gloes

na

na phoen. Planna *Angor dy obaith ar y sail gadarn* o *Air Duw*, yr hwn a addawodd berffeithio ei nerth yn dy wendid di, ac ni chynnwys dy *demtio di vwchlaw yr hyn a ellych ei ddwyn.* 1 Cor. 10. 3.

Ynolaf, am y digwyddiadau echryslon yr rhai a ganlynant ar ól marwolaeth, nid ydynt yn perthynu i ti yr hwn wyt aelod o Grist: Canys fe ddarfu ei Grist trwy ei farwolaeth, dynnu ymmaith *golyn Angau* i'r ffyddlonniaid. *Fel nad oes yr awrhon ddim damnedigaeth ir rhai sydd yng-Hrist Iesu.* Ac y mae Crist yn rhag-dystiolaethu, *fod yr hwn a gredo ynddo ef i gael bywyd tragwyddol, ac nad eiff i ddamnedigaeth, eithr myned trwodd o farwolaeth i fywyd.* Ir perwyl hyn, y mae yr ysbryd glân yn dywedyd : *Bendigedig yw'r meirw y rhai sydd yn meirw yn yr Arglwydd :* A'i bod *o hynny allan yn gorphywyso oddiwrth eu blinderau* ; a'i gweithredoedd a'i canlynant. Gan hynny er mwyn y ffyddlonniaid y *llyngcwyd angau mewn buddugoliaeth, ai golyn, yr hwn yw pechod*, ar cyflog am dano a dynnodd Crist ymmaith yn ollawl. Oddi yma y gelwir marwolaeth

Rhu. 8. 1

Ioa. 5. 24

eth o herwydd ein cyrph ni, yn *hun gwst ac yn orphywyssa*: O herwydd ein e-
Dad 14. neidiau, *ymadawiad mewn heddwch, a*
Esa. 2. 6. *myned at ein Tâd nefol: symudiad oddi-*
Ioa. 14. 1 *wrth y corph hwn, i fyned at yr Arglwydd: ymddattodiad yr enaid a'r corph i fod gyd â Christ*. Beth a ddwedai?
2. Cor. 5. *gwerthfawr yngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei Sainctiau ef*. Nid yw y poenau hyn, ond llafur a chlefyd i ti i escor ar fywyd tragwyddol. A phwy nid a'i trwy vffern i fyned i baradwys? chwaithach trwy *farwolaeth?* Nid oes dim sydd raid i ti ei ofni yn ôl *marwolaeth*: nid rhaid i ti ofni moth bechodau, oblegit i *Grist* dalu dy *bridwerth*, na'r *Barnwr*, oblegit efe yw dy *Frawd* cariadol, na'r bedd, o blegit *gwely yr Arglwydd yw*, Nac vffern oblegit dy Iachawdwr sydd yn cadw yr agoriadau, nar cythraul, o blegit mae Angelion sanctaidd Duw yn *gwersyllu o'th amgylch*, ac nid ymadawant â thydi nes dy ddwyn i'r nefoedd. Ni buost erioed negossach i fywyd tragwyddol; gan hynny gogonedda Grist yn dy farwolaeth fendigedig. Dywaid yn gyssur-lawn, *tyred Arglwydd Iesu*, Canys

y mae dy was yn dyfod attat, yr wyf yn ewyllyscar Arglwydd, Cynnorthwya *fyngwendid.*

*Saith o feddylian sancteiddiol, ac ocheneidian galarus vn claf lesc, yn barod i farw.*

YR awrhon, yn gymaint a bod Duw o'i anfeidrol drugaredd felly yn tymeru ein poen a'n clefyd, fel nad ydym ni ym mron llewygu bob amser, mewn eithafion trymder a gofid; eithr weithiau ynghanol ein trymgur a'n cystudd y mae yn cennadu i ni beth esmwythder a llonyddwch, i'n cyssuro a'n dadebru ein hunain: y mae 'n rhaid i ti gymmeryd prif ofal (gan ystyried mor fyrr yw 'r amser sydd i ti, naill a'i i ynnill, a'i i golli y nefoedd yn dragwyddol) i wneuthur y gorau o'r amser tra fo dy chwythod yn gwasanaethu, yr hyn y mae Duw yn ei ganniadhau i ti: a thra fo yr ychydig amser o esmwythder, i gasclu *nerth* yn erbyn *gofidian* mwy o gystudd. Gan hynny tra byddo i ti amser i ymdroi, a pheth llonyddwch, arfer o rai or meddyliau ar ocheneidiau byrrion sydd yn canlyn.

## Y meddwl Cyntaf.

GAn weled fod pob dŷn yn dyfod i'r byd hwn mewn *dagrau*, yn myned trwyddo mewn *chwys*, ac yn ei derfynu mewn *galar*. Oh pa beth sydd ynddo: y dylai ddyn ddymuno byw yn hwy ynddo. Oh pa ynfydrwydd yw, lle mae y *Mordwywr* yn rhwyfo a'i holl nerth i fyned i'r *hafn dymunol*, neu lle mai 'r *ymdeithydd* byth heb orphywys nes myned i ben e'i daith; ein bod ni yn ofni cael golwg ar yr hafn; ac am hynny yn chwennych bwrw ein *llestr* yn ol, i gael ei churo beunydd gan dymestloedd dryccinog? Yr ydym ni yn wylo wrth weled pen ein *taith*, ac am hynny yn dymuno ein siwrnai yn hwy, fel y gallem ni fod yn flinach wrth ymdeithio rhyd coeglwybr ceccrusfrwnt.

## Yr ysprydol Ocheneid ar hynny.

Gen. 47. 8.

O Arglwydd nid yw y bywyd hwn ond pererindod trafferthus, ychydig ddyddiau, a llawn drygioni,

ac

ac yr wyf wedi blino arno o herwydd fy mhechodau. Gâd i mi gan hynny (O Arglwydd) ddeisyfu ar dy Fawrhydi yn fynghlaf wely hwn, fel y gwnaeth *Elias* dan y *ferywen yn ei gystudd:* digon yw O Arglwydd ddarfod i mi fyw cyhyd a hyn, yn y dyffryn hwn o drueni: *Cymmer fy enaid i'th law drugarog, canys nid wyf well na'm Tadau.* 1.Bre.19 4.

## *Yr ail Feddwl.*

MEddwl â pha ryw fath gorph o bechod i'th amgylchwyd, pa fath ryfel dinesig ac amrafael cartrefol a gynnwysir yn *y byd bychan*; y cnawd yn gwthryfela yn erbyn yr yspryd: *anwydau* yn erbyn *rheswm*: *daiar* yn erbyn y *nefoedd*, ar fath fyd o'th *fewn* am y byd o'th *amgylch*; ac heb fod ond un modd yn unig i ddibennu yr ymryson hwn, sef marwolaeth, yr hon (yn yr amser y gwelo Duw fod yn dda) a neilldua dy yspryd oddiwrth dy gnawd, yr rhan bur *adgenedledig* o'th enaid, oddiwrth y rhan sydd amhur a *di-adgenedledig*.

Rhu.7. 24. Iac.4.1. Gal.5.17

Yr

## Yr Ochenaid yſprydol ar yr ail Feddwl.

Rhu.7.24 YS *truan o ddyn wyf fi : pwy am gwared; oddiwrth gorph y farwolaeth hon ?* O fy anwyl Iachawdwr *Ieſu Griſt, ti am prynaiſt i a'th werthfawr*
1.Petr.2. *waed* : Ac o blegit i ti *achub fy enaid*
Dad 5.9. *rhag pechod*; *fy llygaid rhag dagrau,*
Pſal.116. 8. *am traed rhag llithro*; yr ydwyf yma o eigion fynghalon, yn rhoddi yr holl fawl a gogoniant o'm iechydwriaeth i'th vnig râs a'th drugaredd, gan ddywe-
1.Cor.15 57. dyd ( gyd a'r Apoſtol Sanctaidd ) *i*
Pſal.145. 9. *Dduw i bo 'r diolch yr hwn a roddodd i mi fuddugoliaeth trwy Ieſu Griſt ein Arglwydd.*

## Y Trydydd meddwl.

MEddwl fel y dylit ti fod yn ddiogel, mai eiddaw Criſt yw dy enaid : Canys y mae angau wedi cymeryd gwyſtlon digonol i'w ſiccrâu ei hunan o'th corph di, gan weled fod dy holl ſynhwyrau yn dechrau marw yn barod, oddieithr yn vnig ſynwyr i glywed

glywed poen : eithr gan fod dychreu-ad dy ſylweddiad, yn dechrau mewn poen, rhyfedda lai os dy ddiben a derfyna mewn griddfanau. Ond os yw y cyſtuddiau amſerol hyn (yr rhai ydynt yn vnig yn dolurio dy gorph) mor boenus : O Arglwydd, *pwy a ddichon oddef tân yſſol? pwy a eill breſſwylio yn y lloſcfeydd tragwyddol.*

Yr *Ochenaid yſprydol ar y trydydd Meddwl.*

O Arglwydd Ieſu Griſt Mâb y Duw byw, yr hwn wyt yr vnig physygwr a ddichon eſmwythâu y dolur ar fynghorph, a rhoi fy enaid i fywyd tragwyddol : goſod dy *ddioddefaint*, dy *Groes*, a'th *Angau*, rhwng fy enaid a'th *Farnedigaethau* di : a gâd i haeddedigaethau dy vfydd-dod ſefyll rhwng *cyfiawnder* dy Dâd am *anufydddod* innau, ac oddiwrth y poenau corphorol hyn, derbyn fy enaid i'th dragwyddol danghneddyf : Canys yr wyf yn llefain wrthit gyd â *Stephen*, *Arglwydd Ieſu derbyn fy yſpryd.* Act.7.59.

## Y *pedwerydd Meddwl.*

MEddwl nad yw yr hyn gwaethaf a eill marwolaeth ei wneuthur, ond anfon dy enaid yn gynt nac y mynnai dy gnawd, at Grist a i lawenydd nefol: cofia mai 'r hyn gwaethaf yw dy obaith gorau. Y gwaethaf gan hynny o farwolaeth, sydd yn gynnorthwy ac nid yn beth niweidiol.

## Yr *Ochenaid ysprydol ar y pedwerydd Meddwl.*

O Arglwydd Iesu Crist, Iachawdwr pawb oll ar â ymddiriedant ynot ti: na thro heibio mor hwn sydd yn rhedeg yn ei drueni, at dy *Râs*, am ymwared a thrugaredd. O datcan y llefērydd melys ynglustiau fy enaid, yr hyn a adroddaist wrth y lleidr editeLuc. 23.
43. riol ar y groes: *sef, y dydd hwn y byddi gyd â myfi ymharadwys*. Canys yr wyf fi (gyd a'r Apostol) o'm henaid yn dywedyd wrthit ti, *yr wyf yn deisyf, sy*
Phil. 1. 23. *ymddattodiad a bod gyd â Christ*.

Y

## *Y pummed Meddwl.*

MEddwl (os wyt ti yn ofni marw) *nad oes ym mynudd Sion un farwolaeth: Canys yr hwn sydd yn credu yng-Hrist ni fydd marw byth*, A phe bait ti yn dymuno byw, yn ddi-ammau y mae y bywyd tragwyddol (i'r hwn y mae y farwolaeth hon yn dy ddwyn) yn rhagori ar bob peth. Yno y mae yr holl ffyddloniaid a ymadawsant (gwedi gwneuthur diben ar eu trueni) gyd â Christ, yn byw mewn hyfrydwch: ac yno yr a yr holl rai duwiol ydynt yn fyw wedi eu hymgasclu allan o'u blinderau, i feddiannu yr orphywysfa dragwyddol gyd a'g ef. Ioa.11. 25.

### *Yr Ochenaid ysprydol ar y pummed Meddwl.*

O Arglwydd, yr wyt ti yn gweled llid a malis *Satan*, yr hwn (megis *llew rhuadwy yn rhodio oddiamgylch*, gan geisio y neb a allo ei lyngcu, ac yn ei ddangos ei hun yn fwyaf *trafferthus*, pan fo dy blant di yn *wannaf* 1.Pet.5.8

ac

ac yn tynnu yn *nessaf* i'w diben. O Arglwydd argyoedda ef, ac ymddiffyn fy enaid. Y mae ef yn ceisio fy nychrynu i â marwolaeth, yr hon y mae fymhechodau yn ei gwbl haeddu. Ond gâd ti i'th Yspryd glân ddiddanu fy enaid â diogelrwydd o fywyd tragwyddol, yr hwn a *brynodd* dy *werthfawr waed.* Esmwytha ar fy mhoen, chwanega fy amynedd, ac (os dy fendigedig ewyllys yw) dibenna fy mlinderau: Canys y mae fy enaid yn deisyfu gyd a'r hen *Simeon* fendigedig: yr awrhon

Luc.2.29 *Arglwydd gollwng fi dy was i ymadel mewn tanghneddyf yn ôl dy air.*

## Y *chweched Meddwl.*

MEddylia wrthyt dy hun, pa fath fendith a roddodd Duw arnat ti, vwchlaw *lawer miloedd* o'r byd, megis lle y maent hwy naill ai yn *baganiaid*, yr rhai nid ydynt yn addoli'r gwir Dduw, neu yn ddelw-addolwyr, y rhai ydynt yn gau-addoli y gwir Dduw. Ty di a fuost fyw mewn Eglwys wir Gristianogawl, ac a gefaist râd i farw yngwasanaeth ffydd *Grist*, ac i

gael

gael dy gladdu ym medd gweiſion Duw, y rhai oll a wiliant am *obaith Iſrael*, cyfodiad eu cnawd yn Adcyfodiad y cyfiawn. Act.26.6, 7. Luc. 14. 14.

*Yr ochenaid yſprydol ar y chwecbed meddwl.*

O Arglwydd Ieſu Griſt, *yr hwn wyt yr adcyfodiad ar bywyd, yr hwn pwy bynnac a gredo ynddo a fydd byw er iddo farw, yr wyf fi yn credu pwy bynnac ſydd fwy, ac yn credu ynot ti, na fydd ef byth farw. My fi a wn y caf fi gyfodi yn adcyfodiad y dydd olaf: o ran yr wyf yn ddiogel dy fod di fy Mhrynwr yn byw: ac er eu bryfed, yn ôl marwolaeth, ddiſa y corph hwn, etto mi a gaf dy weled ti fy Arglwydd am Duw, yn y cnawd hwn.* Canniadhâ gan hynny o Griſt, er mwyn dy chwerw angau a'th ddioddefaint, i mi fod yn vn or rhcini, wrth ba rai yr adroddi di y farn ar adnod hyfryd, ſef: *Deuwch chwi fendigedig blant fy nhad, meddiennwch y deyrnas a baratôwyd i chwi er cynſeiliad y byd.* Ioan.11. 25,26. adnod 24 Iob 19. 25,26. Mat. 25. 34.

Y

## Y *Seithfed meddwl.*

MEddylia wrthit dy hun, fel y dioddefodd Crist drosot ti fai woaeth felldigedig, a digofaint Duw, yr hyn oedd ddyledus i'th bechodau di, a pha fath boen ofnadwy, a dialeddau creulon, a ddioddefodd yr Apostolion, ar Merthyron yn ewyllysgar er mwyn ymddiffyn ffydd Grist, pryd y gallasent gael byw pe buasent heb gymmeryd arnynt neu yn ei wadu ef: pa faint mwy ewyllyscar y dylit ti fod i ymadel yn ffydd Grist, gan fod i ti lai o boenau i'th pennydio, ath orthrymmu, a mwy o foddion i'th cynnorthwyo ath ddiddanu?

## Y *seithfed ochenaid ysprydol ar y seithfed meddwl.*

Ioa.1.29 OArglwydd y mae fy mhechodau
Dad.5.8 yn haeddu poenau yfferu a marwolaeth dragwyddol; chwaithach y cospedigaethau tadol hyn, a'r rhai i'm cystuddiaist: Eithr o *fendigedig Oen Duw yr hwn wyt yn tynnu ymmaith bechodau y byd,*

*byd*, trugarha wrthif, *a golch ymmaith fy holl anwiredd, ath werthfawroccaf waed, a derbyn fy enaid i'th teyrnas nefol: canys i'th law di (o Dad) yr wyf yn gorchymmyn fy yspryd, a thydi am prynaist i. o Arglwydd, tydi Dduw y gwirionedd.* Psal.31.5

---

*Yr awrhon fe ddylai y clwyfus ddanfon am ryw Fugail duwiol dyscedig.*

ER dim ar a fo cofia (os bydd i ti fodd yn y byd) ddanfon am ryw *Fugail* duwiol bucheddol, nid yn vnig i weddio drosit ti, yn dy farwolaeth, (canys Duw yn y cyfryw achos a addawodd wrando *gweddiau y prophwydi cyfiawn ac Hennriaid yr Eglwys*) Gen.20.7. Ie.18.20 eithr hefyd ar dy gyffes a'th edifeirwch difrifol, i'th rhyddhau di oddiwrth dy bechodau. Canys fel y rhoddes Crist iddo ef alwedigaeth i'th fedyddio di i *edifeirwch*, er mwyn *maddeuant pechodau: felly y rhoes ef hefyd iddo ef alwedigaeth a gallu ac awdurdod ar dy edifeirwch: i'th rhyddhau di oddi-* Mar.1.4. Act.9.4. 1.Cor.5.4.

*ddiwrth dy bechodau : mi a rof i ti a-
goriadau Teyrnas nefoedd, a pha beth
bynnac a rwymach di ar y ddaiar, a
fydd yn rhwym yn y nefoedd : a pha*
Mat.16. 19. *beth bynnac a ryddaech di ar y ddaiar,*
Mat.18. 18. *a ryddheuir yn y nefoedd.* A thachefn,
*yn wir meddaf i chwi, y peth a rwy-
moch ar y ddaiar a rwymir yn y nefoedd,
a pha beth bynnac a ryddhaoch ar y
ddaiar a ryddheuir yn y nefoedd.* A
trachefn, *derbynniwch yr Yspryd glân,
pechodau pwy bynnac a ollyngoch a oll-*
Ioa.20. 21.23. *yngir, a phechodau pwy bynnac a attali-
och a attelir.* Yr oedd yr athrawiaeth
hon cyn hyned yn Eglwys Dduw, ac
Iob 33.13 oedd *Iob*, canys y mae *Elihu* yn dy-
wedyd iddo *pan fyddo Duw yn taro
dyn a thrymgwsc ar ei wely, fel y byddo
ei enaid yn nesbau i'r bedd, a'i fywyd i'r
dinistrwyr, os bydd gyd a'g ef gennad o
ladmerydd, vn o fil i ddangos i ddyn ei
vniondeb ef : yna efe a drigarhâ wrtho,
&c.* ac yn cydatteb i hyn medd S[t]
Iac.5.15. *Iaco, O's gwnaeth y claf bechodau (ar ei
edifeirwch a gweddi yr Henuriaid) hwy
a faddeuir iddo.* Y mae i'r rhain aw-
durdod i gau y nefoedd, ac i dra-
ddodi ( y pechadur aflan di-eidifeiriol)

i Sa-

i Satan: *Canys nid yw arfau eu gweinidogaeth hwynt yn gnawdol, eithr galluog, trwy Dduw, i daflu i lawr, &c.* 1.Cor.5. 1.Cor.10 3.
ac i fod a dial mewn parodrwydd yn erbyn anufydd-dod. Y *mae iddynt yr agoriad i ryddhau, am hynny y gallu.*

Nid yw yr *Escobion* a *Bugeiliaid* yr Eglwys yn maddeu pechod trwy vnrhyw allu ollawl neu *gyflawn awdurdod* o honynt eu hunain, (canys felly yn vnig y mae eu *Meistr Crist* yn maddau pechodau) eithr yn weinidogawl, megis gweision i Grist a'i oruchwiliwr, o herwydd ddarfod iw Harglwydd a'i Meistr orchymmyn yr agoriadau yn eu hymddiried ffyddlawn: a hynny yw, pan fyddont yn mynegi neu yn adrodd, naill a'i yn gyhoeddus, a'i 'n ddirgeledig, trwy air Duw, y peth a rwymo neu y peth a ryddhâo, a thrugareddau Duw i bechaduriaid edifeiriol, neu ei Farn i bechaduriaid styfnig di-edifeiriol: ac felly yn gosod, ac yn adrodd yr addewidion cyffredinol, neu fygythiau, i'r edifeiriol, neu i'r di-edifeiriol. Canys y mae Crist or nesoedd trwyddynt hwy (megis trwy ei

ei weinidogion daiarol) yn adrodd *pwy y mae ef yn ei ryddhau a'i rwymo, ac i bwy i'r egyr ef byrth y nefoedd*, ac yn erbyn pa rai y cau efe hwynt: Ac am hynny nid ydis yn dywedyd: pechodau *pa rai bynnac a arwyddoccaoch chwi, neu a ddywedoch eu bod yn cael eu rhyddhâu: eithr pechodau yr hwn y ryddaoch chwi.* Y maent hwy gan hynny yn rhyddhau pechodau, oblegit bod *Crist*, trwy y eu gweinidogaeth hwynt yn rhyddhau pechodau, megis y darfu ei Grist, *trwy ei ddisgyblion ollwng Lazarus yn rhydd Ioa.* 11. 44. Ac fel na allai vn dwfr arall olchi ymmaith wahanglwyf *Naaman*, ond dwfr yr *Iorddonen*, (er bod afonydd eraill mor loiwon) oblegit bod yr addewid wedi ei gyfylltu at ddwfr yr *Iorddonen*, ac nid at afonydd eraill, felly er gallael o ddŷn arall *adrodd* yr vn geiriau, etto nid oes iddynt mor cyffelib nerth a gallu, i weithio yn y cydwybod, megis y mae pan fŷddont wedi eu hadrodd o enau Gweinidog Duw: oblegit bod yr addewid gwedi ei gyfylltu at air Duw yn eu genau hwynt: Canys hwynt hwy a etholodd efe, a alwodd,

ac

ac a neillduodd efe i'r gorchwyl hwn, ac iddynt hwy y gorchymynnodd *efe weinidogaeth y Cymmod.* Trwy eu sanctaidd alwedigaeth, hwy a dderbynniasant yr *Yspryd glân*, a'r *gallu gweinidogawl* o rwymo a rhyddhau. Hwynt hwy a ddanfonwyd allan gan yr Yspryd glân, i'r gorchwyl hwn, i'r cyfryw y galwyd hwynt. Act. 1. 24. Rhu. 1. 1. 2. Cor. 5. 18. 19. Act. 13. 2.

Ac y mae Crist yn rhoi gallu iw weinidogion i faddeu pechodau i'r edifeiriol, yn yr vnrhyw eiriau ac y mae efe yn dyscu i ni yngweddi yr Arglwydd, ddymuno ar Dduw faddeu i ni ein pechodau, i siccrhau holl bechaduriaid edifeiriol, fod Duw trwy ryddhâd ei weinidogion, yn haedddedigaethau *Crist*, yn cyflawn faddeu iddynt eu holl bechodau. Felly pa beth bynnac y mae *Crist*, yn ei osod ar lawr yn y nef, *in foro iudicij*, yr vn peth y mae ef, yn ei adrodd ar y ddaiar, trwy ei weinidogion tanghnefeddus *in foro pænitentiæ*: felly megis y cymododd Duw y byd ag ef ei hun, trwy *Iesu Grist*, felly y darfu iddo ef (medd yr Apostol) *roddi i ni weinidogaeth y cymmod hwn*: sef, i Fugeiliaid praidd *Crist*. Luc. 11. 4. 2. Cor. 5. 18.

Yr

Yr hwn a'i danfonodd hwynt i fedyddio gan ddewedyd: *ewch a dyscwch bob cenedloedd: gan eu bydyddio hwynt &c.* A'i danfonodd hwynt hefyd i ryddhau pechodau, gan ddywedyd, *fely danfonodd fy nhâd fi, felly yr wyf finnau yn eich danfon chwithau: pechodau pwy bynnag a ryddhaoch a ryddhaunir iddynt.* Me-
Ioa.20. 12,13. gis gan hynny na ddichon neb fedyddio (er iddo arfer o'r vn dwfr ar geiriau) ond yn vnig y gweinidog cyfreithlawn, yr hwn a alwodd *Crist* ir swydd ddwywawl hon, ac y rhoddes iddo awdurdod ynddi: felly er gallu o eraill gyssuro â geiriau da, *etto ni eill yr vn ryddhau oddiwrth bechod, ond yn vnig yr*
2.Cor.5. 18,19. *rhai y gorchymynnodd Crist y Weinidogaeth sanctaidd, ai air o gymmod iddynt:* Ac am ei *Absolution* hwynt, y mae Crist yn dywedyd, *yr hwn ach gwrandawo*
Luc.10. 16. *chwi* am gwrendy innau: mewn achos amheus, di a ofynni gyngor i gyfreithiwr celfyddgar: ymherygl clefyd dy a ofynni addysc dy physygwr discedig, ac onid oes dim perygl mewn ofn damnedigaeth, i bechadur fod yn farnwr iddo ei hun?

*Caluin* ddyscedig sydd yn deongli y ddys-

ddyſceidiaeth hon yn dra-eglur: *Etſi omnes mutuo nos debeamus conſolari &c. Er bod yn ddyledus ini gyſſuro a nerthu y naill y llall yn hyder trugaredd Dduw (medd efe), etto yr ydym ni yngweled fod y gweinidogion gwedi eu gorchymmyn ai hordeinio, megis yn dyſtion, ac yn feichiau i ſicrhau ein cydwybodau o faddeuant pechodau: yn gymmaint ac y dywedir eu bod hwy yn rhyddhau pechodau, ac yn gollwng eneidiau yn rhyddion.* Cofied pob dŷn ffyddlawn *gan hynny, y dylai efe (os bydd efe oddifewn wedi ei orthrymmu a'i gyſtuddio gan bwys ei bechod)* nad eſgluſo *y cymmortha'r ymwared y mae'r Arglwydd yn ei gynnyg iddo ef, ſef yw hynny, wneuthur o honaw (er mwyn eſmwythâu ei gydwybod) gyffes neillduol oi bechodau, wrth ei Fugail neu ei Dâdenaid, a deiſyfu ei neillduol gynnorthwy ef, yn gyſſur a diddanwch iw enaid: ſwydd yr hwn yw (yn gyſtal yn gyhoeddus ac yn neillduol, weinidogaethu diddanwch Efengylaidd i werin Duw.*

Y mae *Beza* yn mawr ganmol yr arfer hon, A *Luther* yn dywedyd, mai gwell oedd ganddo ef golli *milo-*

*edd o fydoedd, na chynnwys taflu cyffes neilldnol allan or Eglwys.* Yr oedd ein Eglwys ni erioed yn ymddiffyn, ac yn maentumio yn dynn y gwirionedd o'r athrawiaeth hon, ac yn dra-chyfion, yn diddymmu ac yn ymwrthod a'r Anghriſtnogawl gamarfer o'r babeidd-gluſt gyffes, yr hon y maent hwy yn ei frathu a'i oſod a'r eneidiau Criſtia-nogion, megis yn aberth perthynaſſol, ac yn dâl haeddedigol am bechod: gan waſcu eu cydwybodau i gyffeſſu, pryd y byddont heb gynnwrf o gledi, ac i riſo eu holl bechodau, yr hyn ſydd am-hoſſibl, megis y gallent hwy yn y modd hyn feiſio i waelod dirgelion yr holl bobl, yr hyn yn fynych ſydd yn di-gwydd ei fod *yn beryglus*, nid yn vnig i ddynion neillduol, eithr i bob gra-ddau cyffredinol hefyd. Eithr gwiri-onedd *gair Duw* yw, na ddichon vn dŷn a gafas vrddau yn *Eglwys Rufain* rhyddhau pechadur yn vnion: O ble-git agoriadau *rhyddhâd* neu *abſolution* ydynt ddau: vn ydyw agoriad yr Aw-durdod, a hwnnw yn vnig ſydd ei-ddaw *Criſt*, y llall ydyw agoriad y weinidogaeth, a hwn y mae ef yn ei

roddi

roddi iw weinidogion ei hun, y rhai y-
dynt o'r achos honno yn weinidogion Mar. 2.
Crist: *Goruchwilwyr Dirgeledigaethau* 7.
*Duw: cennadau y Cymmod, Escobion, Ru-* Luke 5.
*geiliaid, Henuriaid &c.* Eithr nid ordeini- 21.
odd Duw erioed yn y Testamēt newydd, Mat. 16.
vn offeiriadaeth i aberthu, ac nid yw 19.
yr enw ἱερεὺς yr hyn yn briodol a arw- 1. Cor 4.
ydddocca *Sacerdos* sef offeiriad i aber- 2 Cor 5.
thu, wedi ei roi ar vn swyddog ei *Grist* 2.
yn yr holl Destament Newydd. Ac 1. Cor. 12. 16.
nid ydym ni yn darllain am yr vn a gy- 1. Ioa 4. 1.
ffessodd wrth offeiriad yn yr holl De- Ier. 25. 10.
stament Newydd, ond vn, a hwnnw Ioa 0.
oedd *Iudas.* Ac nid oedd yr vn gwir Mat. 27. 4.
offeiriad yn y Testament Newydd,
ond *Crist* yn vnig. Ac nid oes vn rhan
oi offeiriadaeth ef iw chwplau ar y Heb. 7. 24.
ddaiar, ond yr hyn y mae ef yn ei Heb. 8. 4.
gyflawni yn y nefoedd, trwy wneuthur
*cyfryngdod* trosom ni. Wrth weled Heb. 7. 15.
gan hynny nad ordeiniodd *Crist*, vn
drefn ar offeiriadau i aberthu: a bod
yr offeiriadau pabaidd yn goeg gan-
ddynt gael eu galw yn *weinidogion yr*
*Efengyl*, i'r rhai yn vnig y gorchymyn-
nodd *Crist* ei agoriadau, y mae yn digw-
ydd yn angenrheidiol na eill vn *offeiri-*

*dd pabaidd*, nac *escymuno* na *rhyddhau* vn pechadur yn vnion, ac nad oes iddynt ddim cyfiawnder cyfreithlawn i ymyrryd ag agoriadau *Crist*. Eithr nid y camarfer Anghristnogawl o'r ordeinhad oruchel hon, a ddylai fwrw i lawr yr arfer gyfreithlawn o honi, rhwng *Cristianogion* a'i Bugeiliaid mewn cyflwr o gyfyng gyngor, neu orthrymder cydwybod, o herwydd yr hyn beth, yr ordeiniwyd yn bennaf.

Ac mewn gwirionedd nid oes vnrhyw foddion mor odiaethol i ostwng calon falch neu i adcyfodi yspryd gostyngedig, ac ydyw yr ymddiddan ysprydol hwn, rhwng y *Bugeiliad* a'r defaid gosodedig tan eu dwylaw hwynt. Os oes gan hynny vn pechod yn pwyso ar dy gydwybod, cyfaddef wrth weinidog Duw: gofyn ei gyngor, ac os gwir edifarhei, derbyn ei *rhyddhâd ef*. Ac yno nac ammau *in foro conscientiæ* sef, yn llys dy gydwybod, na bydd dy bechodau wedi eu maddau yn ollawl ar y ddaiar, cystal a phe bait ti yn clywed Crist ei hun *in foro iudicij* sef yn llys y farn, yn adrodd maddeuant am danynt yn y nefoedd.

foedd. *Qui vos audit, me audit*; yr Luc.10.
hwn ach gwrandawo chwi am gw- 16.
rendy i. Prawf hyn, a dywaid i mi pa vn a wnai di ai cael mwy o esmwythder yn dy gydwybod, nac a ellir ei adrodd mewn geiriau. Pe bai ddynion halogedig yn ystyried Teilyngdod y galwedigaeth tra-vchel hwn: hwynt hwy a barchent y galwedigaeth yn fwy, ac a anrhydeddent y gwyr sydd ynddaw.

Fe wnai 'r clwyfus yn dda (wedi esmwythhau ei gydwybod, a derbyn ei *ryddhâd*) a chael rhif perthynassol o Gristianogion ffyddlawn i vno ag ef) dderbyn y Sacrament sanctaidd o Swpper yr Arglwydd, iw gyssuro ef, ac iw gefnu yn ei ffydd, ac i ddigalonni y cythraul yn ei *aruthrol amcanion*. O herwydd hyn y mae y gymanfa O *Nis* yn galw y Sacrament *viaticum*, sef llyniaeth yr enaid iw daith. Ac er bod Swpper yr Arglwydd yn orchwyl eglwysig, etto yn gymmaint a darfod i'r Arglwydd (pan drefnodd, gyntaf) ei gyssegru mewn tŷ neillduol, a bod S^t^ *Paul* yn galw tâi Cristianoigion yn Eglwysi i Grist: a bod Crist ei hun *we-*

Rhuf.16.5. Phil. 5. 2. Mat. 18. 20.

*di addo fod ynghanol y ffyddloniaid, lle byddo dau neu dri wedi ymgynnull yn ei enw ef.* Ni welaf fi reswm, pryd y byddo Cristianogion yn deisyfu (pan fyddont mor glaf na allant ddyfod i'r Eglwys) Na allant *ei dderbyn*, ac na *ddylai* y Bugeiliaid weinidogaethu y Sacramentau iddynt gartref. Y mae ef yn dangos mwy o aneallgarwch na gwybodaeth, yr hwn sydd yn tybied fod hyn yn tueddu at y *Mas* neu *opheren neilldual*: Canys yr *opheren* a elwir yn neillduol, nid o ran ei dywedyd mewn tŷ neillduol, ond o blegit (mal y mae Escob *Iewel* yn dyscu allan o *Aquinas*) bod yr offeiriad yn derbyn y Sacrament ei hun, heb e'i gyfrannu i eraill, ac yno y mae yn neillduol, er bod yr holl blwyfolion yn bresennol, ac yn edrych arno. Y mae cymmaint o ragoriaeth rhwng y *Cymmun* hwn, ar *llun Anghristnogawl* o'r *opheren* neillduol, ac sydd rhwng nef ac uffern. Oblegit yn y Cymmun mewn neillduol deulu ar y cyfryw achos digwyddedig, yr ydis yn dilyn arfer *Crist*: y mae llawer or brodyr ffyddlawn yn ymgyfarfod, *yn aros y naill am y llall.*

Yr

yr ydis yn cofio angau Crist, ac yn ei ddangos, ac y mae y Gweinidog gyd a'r ffyddlonniaid ar dŷn clwyfus, yn Cymmuno. Mae yr athro *Caluin* yn *dywedyd, ei fod efe o ewyllys ei galon yn canniattau rhoddi 'r Cymmun ir rhai clwyfus pan fyddo'r achos yn gofyn.* Ac mewn man arall, y mae ef yn dywedyd, *fod llawer o rysymmau trymmion yn ei ortrechu ef, fel na allai naccau*, Swpper yr Arglwydd i'r claf. Etto mi a ddymunwn ar yr holl Gristianogion ei dderbyn yn fynych (yn eu hiechyd) yn enwedig vnwaith bob mis efo'r holl Eglwys. Canys felly nid rhaid iddynt hwy mor boen yn casclu eu cyfeillion ar y fath achos, na chymmaint gofid eisiau y Cymmun. Canys fel y mae'r Athro *Perkins* yn dywedyd yn rhagorol, *nid yw ffrwyth a nerth y Sacrament i'w synnied yn osodedig at ryw amser pennodol iw derbyn: eithr y mae mor helaeth ac y geill dyn ei chymmeryd yr amser a fynno o'i einioes:* nerth yr hon, pe bai ddynion yn ei gwbl ddeall, ni byddai raid moi mynych gynghori hwynt iw derbyn.

Epist. 5. 6.

Epist. 36. 1.

*Pastores omnes hic exoratos vellem,*

*Admonitio ad pastores.* *vt in huius controuersiæ statum penitus introspiciens; nec fideles ex hac vita migrantes, & panem vitæ petentes, viatico suo fraudari sinant, ne lugubris in ijs adimpleatur lamentatio:* Paruuli panem petunt, & non sit qui frangat eis.

Yn gymraeg fal hyn: *Mi a ddymunwn ar yr holl fugeiliaid edrych ynysyriol ar dull yr ymrafael hon, ac na adawent i'r rhai ffyddlon a fyddo yn myned o'r bywyd hwn, ac yn ceisio bara y bywyd, gael eu sommi am eu lluniaeth, rhag ofn i'r galarnad trist hwnnw gael ei gyflawni ynddynt hwy:* sef y plant a ofynnant fara ond nid oedd a dorrei idynt, Galarn. 4. 4.

Felly pan fyddo dŷn o fuchedd drygionus yn marw, fe a eill ddywedyd wrth Angau, mal y dywedoedd *Ahab* wrth *Eliah, A gefaist ti fi o fyngelyn?* Ac o'r tu arall pan fyddis yn dywedyd i'r pechadur edifeiriol fod Angau yn curo wrth ei ddrws, ac yn dechrau edrych yn ei wyneb; efe a eill ddywedyd am angau mal y dywedodd *Dafydd* am *Ahimaaz*, *Deled a chroesaw wrtho, o blegit y mae ef yn wr da ac yn dyfod a newyddion da:* efe yw cennad

2.Bren. [illegible]

2 Sam. 18. 18.

nad Crist, ac sydd yn dwyn i mi newyddion llawen o fywyd tragwyddol. Ac megis yr oedd y *môr coch* yn sygn i lyngcu yr *Aiphtwyr* i ddinistroid, ac yn llwybr i'r *Israeliaid* iw tywys i feddiant gwalad *Canaan*. Felly y mae marwolaeth i'r drygionus yn sygn neu genllos, i fyned i uffern a damnedigaeth, ond i'r duwiol yn borth i fywyd tragwyddol, ac iechydwriaeth. Ac *un dydd* i farrw yn fendigedig, a wna iawn am holl flinderau y bywyd chwerw-frwnt.

Pan fych di gan hymry yn deall fod dy enaid yn ymadel a'th gorph, gweddia a'th tafod os gelli, ac oni elli gweddia yn dy galon a'th feddwl, y geiriau hyn, gan dannu golygon dy enaid ar *Iesu Grist*, dy Iachawdwr.

*Gweddi wrth roddi yr Yspryd a fynu.*

O Oen Duw yr hwn trwy dy waed a dylynaist ymmaith bechodau y byd o'i trugarha wrthyf bechadur, i *Arglwydd Iesu derbyn fy Yspryd.* Amen. Ioa.1.29. Act 7.59.

*Pan fyddo y dyn clwyfus yn ymadel a'r byd; yno eled y ffyddloniaid a fyddo yn bresennol i lawr ar eu gliniau, i orchymmyn ei enaid i Dduw yn y geiriau hyn, neu 'r cyfryw.*

Psal. 46. 1. O Rasusol Dduw, a thrugarocaf Dad, *yr hwn wyt yn noddfa a nerth i ni, cymmorth hawdd ei gael mewn cyfyngder dercha lewyrch dy lân wyneb* yn gariadol yn hyn o bryd, ar dy was, yr hwn sydd yn dyfod yr awrhon i ymddangos yn dy wydd. Golch ymmaith Arglwydd daionus, ei holl bechodau ef trwy haeddedigaethau gwaed Crist, fel nas rhodder hwynt fyth yn ei fauch. Chwanega ei ffydd, ymddiffyn a chadw ei enaid yn ddiogel rhag diafol ai holl Angelion diffaith. Cynnorthwya ef a'th lân yspryd, pâr iddo ef yn awr ystyried a gwybod mai ty di ydyw ei Dâd cariadol, ai fod ef yn fab i ti trwy *Fabwys a Rhad.* O Gwared (o *Crist Iesu*) werth dy waed dy hun, a nâd iddo fe fod yn golledig, yr hwn a brynaist di mor werthfawr. Derbyn ei enaid, fel ynderbynniaist

bynniaiſt di y *lleidr* edifeiriol i'th *para-
dwys* nefol. Gâd i'th Angelion ſancta-
idd ei ddwyn ef yno, megis y dyga-
ſant enaid *Lazarus*: a channiadhâ iddo
adcofydiad llawen yn y dydd diwa-
ethaf. O Dâd, eurglyw ainom troſto
ef, a chlyw dy Fâb dy hun ein vnig
Gyfryngwr, yr hwn *ſydd yn eiſtedd ar* Rhu 8.
*dy ddehenlaw*, troſto ef a ninnau oll: 34.
Er mwyn haeddedigaethau y chw-
erw angau a'r dioddefaint, yr hyn a
oddefodd efe droſom ni. Mewn diogel
obaith o'r hyn beth, ni ail-orchymyn-
nwn ei enaid ef i'th law dadol yn y
weddi fendigedig, yr hon a ddyſgodd
ein Iachawdwr yn holl amſer ein tra-
llod a'n blinfyd i ddywedyd wrthit.

*Ein Tâd yr hwn &c.*

*Hyn yma am arfer duwioldeb i farw
yn yr Arglwydd.*

---

Ymm-

## *Yma y canlyn yr arfer o dduwioldeb i farw tros yr Arglwydd, neu o achos yr Arglwydd.*

YR Arfer o dduwioldeb yn marw tros yr Arglwydd a gyfenwir, *Merthyrdod.*

*Merthyrdod ydyw y dystiolaeth, yr hon y mae Cristion yn ei ddwyn i athrawiaeth yr Efengyl*, trwy ddioddef pob mâth ar farwolaeth: i wahodd llaw-
1.Cor.12 eroedd, i nerhu a chyd-ffurfio pawb, i ymwascu ac i ymgofleidio a'r gwirionedd hwnnw. *I'r cyfryw fâth a'r* farwolaeth y mae *Crist*, yn addo coron: *Bydd di ffyddlon hyd y diwedd ac mi a roddaf i ti goron y bywyd.* Yr addewid hon yr oedd yr Eglwys yn credu iddi gystal, megis y galwasant *Ferthyrdod* ei hun yn *Goron.* A Duw, i annog Cristianogion i fyned yn galonnog i'r yrfa hon, a fynnai trwy ei ragwybodaeth, i *Stephen* y Merthyr cyntaf gael ei enw allan or gair *Coron.*

Y Mae tri rhywogaeth ar *Ferthyrdod:*

1. *Sola*

1. *Sola voluntate*, mewn ewyllys yn vnig, megis *Ioan yr Efangylwr* yr hwn (wedi ei ferwi mewn pair neu badell llawn o olew) a ddaeth allan wedi ei eneinio yn hytrach nai ferwi, ac a fu farw o henaint yn *Ephesus*.

2. *Solo opere*, mewn gweithred yn vnig, megis *y gwirioniaid o Bethlehem*. Mat. 2.

3. *Voluntate & opere*, yn gystal mewn ewyllys a gweithred; Megis yn y Brif-Eglwys, *Stephen*, *Polycarpus*, *Ignatius*, *Laurentius*, *Romanus*, *Antiochanus*, a miloedd. Ac yn ein dyddiau ninnau *Cranmer*, *Latimer*, *Hooper*, *Ridley*, *Farrar*, *Bradford*. *Philpot*, *Sanders*, *Glouer*, *Taylor*, ac aneirif o rai eraill: traserch a ffyddlondeb y rhai hynny i wirionedd Duw, a'i dygodd i eirias-dan *Merthyrdod*, i seilio ei ffydd yng-Hrist. Nid creulondeb y farwolaeth, eithr gwiriondeb, diniweidrwydd, a sancteiddrwydd yr achos, sydd yn gwneuthur Merthyr. Ac nid yw gau gydwybod yn ddigon o achos i oddef Merthyrdod: oblegit gwybodaeth yng-Air Duw sydd raid i hyfforddi cydwybod ynghalon dyn. Canys yr rhai a laddasant yr Apostolion, yn

Act.7.

1.Pet.2.19.

yn eu cydwybodau cyfeiliornus, oeddynt yn tybied fod yn gwneuthur gwasanaeth da i Dduw. A *Phaul* o frydaniaeth a serch iw ffydd, *oedd yn chwythu bygythiau a chelanedd yn erbyn*
Ioa. 16. 2. *Seinctiau yr Arglwydd.* Yr awrhon pa
Act. 9. 1. vn a wna achos ein *Offeiriaid* a'n *Myneich Rhufeiniaidd*, a'i bod mor sanctaidd, *vnion* a *diniweidiol*, ac y gall ddiofalhau a sicrhau eu cydwybodau, i ddioddef marwolaeth ac i roddi pwys a goglyd eu tragwyddol iechydwriaeth arni: Bydded Epistol S^t^ *Paul* at yr hên Rufeiniaid (eithr yn erbyn ein Rhufeiniaid newyddion Anghristnogawl) yn farnwr. Ac fe ymddengys yn eglur, fod yr athrawiaeth, yr hon a ddyscodd S^t^ *Paul* ir hên Eglwys o *Rufain*, yn vnion yn y gwrthwyneb, mewn 26. O *byngciau sylfaenig* gwir grefydd, i'r hon y mae'r Eglwys *newydd* o *Rufain* yn ei ddyscu a'i maentumio: Canys yr oedd S^t^ *Paul* yn dyscu y brif Eglwys o Rufain.

1. Mai o ras Duw y mae ein etholedigaeth ni, ac nid *ex praevisis operibus*, sef, o'n gweithredoedd, rhagweledig. *Rhuf.* 9. 11. *Rhuf.* 11. 5. 6.

2. Ein

2. Ein bod ni yn cael ein cyfiawnhau o flaen Duw, trwy ffydd yn vnig, heb weithredoedd da, *Rhuf.* 3. 20. 28. *Rhuf.* 4. 2. &c. *Rhuf.* 1. 17.

3. Nad yw gweithredoedd da yr adgenedledig ou *teilyngdod eu hunain yn haeddedigol*, ſet yn gyfryw ac a ddichon haeddu y nefoedd *Rhuf.* 8. 18. *Rhuf.* 11. 6. *Rhu.* 6. 23.

4. Mai *y llyfrau hynny yn vnig ydynt ymadroddion Duw*, a'r *Scrythur* ffrwythlawn o *Awdurdod*, yr rhai a draddodaſid i gadwraeth ac i ymddiried yr *Iuddewon Rhuf.* 3. 2. *Rhuf.* 1. 2. *Rhuf.* 16. 16. yr *Apochrypha* nid ydoedd o honynt.

5. Fod yr Scrythyrau Sanctaidd gydâ'g Awdurdod Duw *Rhuf.* 9. 17. *Rhu.* 3. 4. *Rhu.* 11. 23. yn cyttuno â *Gal.* 3. 21. Am hynny vwchlaw Awdurdod yr Eglwys.

6. Fod yn rhaid i bawb yn gyſtal gwyr llŷg a gwyr llên, ar a fynno fod yn gadwedig, fynych ddarllain a gwybod yr Scrythyrau Sanctaidd, *Rhuf.* 15. 4. *Rhuf.* 10. 1. 2. 8. *Rhuf.* 16. 26.

7. Fod holl *Lunian* y gwir Dduw,

yn

yn *ddelwau llygredig Rhuf.* 1. 23. a *Rhuf.* 2. 22. iw gydsynnied.

8. Nad yw plygu y glin yn grefydd dol, o flaen delw, neu addoli yn med adur, ond gwir ddelw-addoliaeth. *Rhuf.* 11. 4. a gwasanaeth celwyddog, *Rhuf.* 1. 25.

9. Na ddylem ni weddio at neb ond at Dduw yn vnig, yn yr hwn yr ydym ni yn Credu, *Rhuf.* 10. 13. 14. *Rhuf.* 8. 15. 27. Am hynny nid at *Seinctiau* nac *Angelion*.

10. Mai *Crist*, ydyw ein vnig *Gyfryngwr* yn y nefoedd *Rhuf.* 8. 34. *Rhuf.* 5. 2. *Ruf.* 16. 27.

11. Nad yw aberth Cristianogion, ddim arall, ond ysprydol aberthu eu heneidiau a'i cyrph i wasanaethu Duw mewn sancteiddrwydd, a chyfiawnder *Rhuf.* 12. 1. *Rhuf.* 15. 16. Am hynny nid oes vn hanfodol neu gorphorol aberthiad a'r Grist, yn yr *Opheren*.

12. Fod yr addoliad duwiol yr hwn a elwir *dulia* yn gystal a *latria* yn perthynu i Dduw yn vnig. *Rhuf.* 1. 9. *Rhuf.* 12. 11. *Rhuf.* 16. 18. iw cydsynnied.

13. Fod yr holl Gristianogion i weddio

ddio at Dduw yn eu Tafodiaith eu hun, *Rhuf.* 14. 11.

14. Nad oes genym ni o honom ein hunain mewn cyflwr llygredigaeth, ewyllys rhydd at ddaioni. *Rhuf.* 7. 18. *&c. Rhuf.* 16. 15. Fod trachwant yn yr adgenedledig yn bechod. *Rhuf.* 7. 7. 8. 10.

16. Nad yw y Sacramentau yn dwyn neu roddi grâs *ex opere operato, eithr yn arwydd ac yn insel* fod y grâs wedi ei ddwyn a'i roddi yn barod i ni *Rhu.* 4 11. 12. *Rhuf.* 2. 28. 29.

17. Y dichon pob *Cristion* vnion gredadwy, yn y byd hwn fod yn ddiogel o'i iechydwriaeth. *Rhuf.* 8. 9. 16. 35. *&c.*

18. Na ddichon vn dyn yn y bywyd hwn yn ôl cwymp *Adda*, berffaith gyflawni gorchymynnion Duw, *Rhuf.* 7. 10. *&c. Rhuf.* 3. 19. *&c. Rhuf.* 11. 32.

19. Fod gosod crefydd mewn rhagoriaeth a'r fwydydd neu ddyddiau, yn ddelw-addoliaeth. *Rhuf.* 14. 3. 5. 6. 17. 23.

20. Mai'r cyfiawnder cyfrifol ei Grist, ydyw yr vnig beth sydd yn ein gwneuthyd

thyd ni yn gyfiawn o flaen Duw. *Rhuf.* 4. 9. 17, 23.

21. Fod *cnawd* Crist, wedi ei wneuthur o hâd *Dafydd:* nid o *afarlladen* trwy *drawsylweddiad Rhuf.* 1. 3.

22. Fod yr holl wir Gristianogion yn Seinctiau, ac nid yr rhai y mae 'r Pab yn eu hurddo, au codi ar y prenniau duon. *Rhuf.* 17. *Rhuf.* 8. 27. *Rhuf.* 15 31. *Rhuf.* 16. 2. *ar* 15. *Rhuf.* 15. 25.

23. Mai *ipse Crist*, Duw yr dangneddyf: ac nid *ipsa* y *Forwyn*, a yssygai ben y Sarph. *Rhuf.* 16. 20.

24. Fod yn rhaid i bob enaid o gydwybod, fod yn ostyngedig a thalu teyrnged i'r Awdurdodau goruchel, hynny yw i'r swyddogion yr rhai sydd yn dwyn y cleddyf, *Rhuf.* 13. 1. 2. *&c.* Ac am hynny mae 'n rhaid ir *Pâb*, ac ir holl *Breladiaid*, fod yn ostyngedig w *Emerodrwyr*, *Brenhinoedd*, ai Pennaethiaid, onis mynnant ddwyn damnedigaeth ar eu heneidiau, megis *Bradychwyr*, y rhai a hybant Dduw ac a wrthwynebant ei Ordeinhâd ef *Rhuf.* 13 1.

25. Mai *Paul* (ac nid *Petr*) a ordeiniwyd

deiniwyd trwy râs Duw i fod yn brif Apostol i'r cenedloedd, ac felly yn ddigwyddedig o Rufain Dinas y cenedloedd, *Rhuf.* 15. 15. 16. 19. 20. *&c.* *Rhuf.* 11. 14. 16. 4.

26. Y dichon Eglwys Rufain gyfeiliorni, a chwympo ymmaith oddiwrth y gwirionedd, cystal ac Eglwys *Ierusalem*, neu vn Eglwys neillduol arall. Rhu. 11. 20. 21. 22.

A chan weled fod yr Eglwys newydd-rith o Rufain yn yr rhain, ac mewn aneirif o byngciau eraill, yn dyscu y gwrthwyneb yn vnion ir hyn a ddyscodd yr Apostol, i'r Eglwys gyntaf o Rufain. Barned Duw ar llythyr hwn rhyngddynt hwy a ninnau, pwy o honom sydd yn sefyll yn y wir hên ffydd *Gatholic*, yr hon a ddyscodd yr Apostol i'r hên Rufeiniaid? Ac oni wnaethom ni yn dda ymadel ag hwynt hwy, cyn belled ac y darfu iddynt hwythau ymadel ac athrawiaeth yr Apostol? A pha vn orau a'i dychwelyd at wirionedd S^t^ *Paul* ai aros yn oesdadol ym mewn Rhufain? Acos yw hyn yn wir, yna cymmered y mynachod ar cyfaint ofal, ac arswydânt,

dant, rhag ofn nad yw hi ffydd, ond tynnach, na gwirionedd, ond bradwriaeth, na chrefydd, ond gwrthryfel, (yn dechrau wrth yr afon *Tiber*, ac yn diweddu wrth y pren teircaingc a elwir *Tibwrn*) yr hyn yw achos eu marwolaeth hwynt. A chwedi ei hanfon o ymrysongar fangre * *Apostatic*, yn hytrach nac o *eisteddle* Apostolaidd tanghneddefus, o ran nas gallant hwy gael eu cynnwys i ddwyn ar ddeall i ddeiliaid dorri eu llyfau, a thynnu eu hyfydd-dod oddiwrth eu llywydd, neu *Brenin*, i gyfodi gwrthryfel, i ennyn difrodiaeth, i frathu ac i wenwyno Brenhinesau, i ladd ac i lofruddio Brenhinoedd, i chwythu i entrych awyr holl Bennaethiaid y deyrnas â *Phowdwr gwn*: Y maent hwy yn taflu eu cyrph eu hunain, yn ddibris iw crogi, ac iw dihenyddio yn aelodau: au (heneidiau yn gadwedig, os perthynant i Duw), yr wyf yn dymuno y cyfryw anrhydedd i holl Seinctiau y neb sydd yn eu hanfon hwynt. Ac y mae i mi achos gyfiawn i ofni, na ddichon gwrthiau dwy Arglwyddes *Lypsius*, Bachgen *Blunston*, gwelld *Garnet*, a phedog danllyd y *Morwynion*,

* *Troi oriawn.*

gadw

gadw mor gwyr hyn yn ddiangol, ac yn ddi-euog o fod yn llofruddiaid iddynt eu hunain, yn hytrach nac yn Ferthyron i Grist.

A pha fath ar gydwybod y gall yn pabist alw *Garnet* yn *Ferthyr*, pryd yr oedd ei gydwybod ei hun yn ei drechi efe i gyfaddef, mai am fradwriaeth ac nid am grefydd yr oedd efe yn marw? Ond os yw offeiriadau Efengyl y *Powdwr gwn* yn Ferthyron, y mae yn rhyfedd gennyf fi pwy a ddichon fod yn llofruddion: Os ydynt hwy yn *Seinctiau*, pwy ydynt *Scithiaid?* A pha rai ydynt *Ganibaliaid*, os hwynt hwy ydynt *Gatholicciaid*.

Ond gan adael yr rhain, os mynnant fod yn fudr, i aros yn ei budreddi yn oesdadol, (gadewch i ni, i ffyddlondeb yr rhai y gorchymynnodd yr Arglwydd ei wir ffydd, megis *depositum*, sef trysawr gwerthfawr) weddio ar Dduw, ar allael o honom ni arwain bywyd sanctaidd, cyfattebol i'n ffydd sanctaidd, mewn *Duwioldeb* tu ag at Crist, ac *vfydd-dod* at ein Brenin: Ac os ein Iachawdwr a'n cyfrif ni fyth yn deilwng o'r anrhydedd honno, i ddioddef *Merthyrdod* 1. Tim. 6. 20.

Diha.24. thyrdod er mwyn yr Efengyl, pa vn
21. bynnac a'i llosci yn gyhoeddus, megis
1.Pet.2. yn nyddiau y Frenhines *Mari*, a'i ca-
17. el ein llofruddia yn ddirgel, megis yn
*Neu bo- nhŷ'r *Inquisition*: neu i oddef ein ci-
lion. gyddio yn gelanneddau megis yn yr o-
pheren osper ym Mharis: neu i gael
ein chwythu i fynu gan *bowdr gwn*,
*Neu megis i'r amcanwyd yn llŷs y **Par-*
gymanfa. *lment*: a wnel i ni gael y grâs i we-
ddio am gynnorthwy ei lân Yspryd,
i nerthu ein *gwendid*; ac i ymddiffyn
ei achos ef: megis y bòm ni yn selio
a'n marwolaethau y gwirionedd Efyn-
gylaidd, yr hwn yr ydym ni yn ei a-
ddef yn ein heinioes: megis y byddom
holl ddyddiau ein bywyd yn fendige-
dig, trwy ei air ef, yn nyddiau ein mar-
Mat.25. wolaeth yn fendigedig yn yr Arglwydd,
34. ac y nydd y farn yn fendigedig gan ei
Dad.22 Dâd ef, *Cannadhâ hynny Arglwydd Ie-*
20. *su.* Amen.

Ym-

*Ymddiddan hyfryd rhwng yr enaid ai Iachawdwr, ynghylch baeddedigaethau ffrythlawn ei ddioddefaint cystuddiol ef.*

## Yr Enaid.

A*Rglwydd pa ham y golchaist di draed dy ddiscyblion?*

*Crist.* I ddyscu i ti pa fodd y mae iti dy baratôi dy hun i ddyfod i'm Swpper i.

En. *Arglwydd pa ham y golchit ti hwynt dy hunan?* Ioa.13.14.

*Cri.* I ddyscu i ti oftyngeiddrwydd os mynni di fod yn ddiscybl i mi.

En. *Arglwydd pa ham y darfu i ti o flaen dy farwolaeth, osod allan dy Swpper diwaethaf?* Luc.22.19.

*Cri.* Fel y gellit ti gofio yn well fy marwolaeth i, a bod yn ddiogel fod yr holl *baedledigaethau* a darddodd o honi yn eiddot ti.

En. *Arglwydd pa ham yr aethit ti i'r fáth le ac y gallai* Iudas *gael gafael arnat?* Ioa.18.1

*Cri.*

*Cri.* Fel y gellych ti wybod fyned o honof fi, mor ewyllysgar i ddioddef am dy bechod di, ac yr aethost ti erioed i gyfle yn y byd i wneuthur pechod.

Esa.18.1 En. *Arglwydd pa ham y dechreuaist ti dy ddioddefaint mewn Gardd?*

*Cri.* O Blegid mai mewn Gardd y cafas dy bechod ti ei ddechreuad gyntaf.

Gen.5.3. En. *Arglwydd pa ham y darfu i'th tri etholedig ddisgybl gwympo yn eu trwm gwsc, pan oeddit ti yn dechrau myned i'th*
Mat.26. 40. *lychwys ath boen?*

*Cri.* I ddangos mai fy fi fy hunan a
Esa.63.5. weithredoedd orchwyl dy Brynedigaeth di.

En. *O Arglwydd pa ham yr ydoedd*
Mat.26. 4. *cymffer o ddichellion ac o faglau wedi eu gosod am danat ti?*

*Cri* Fel y gallwn i dy waredu di o
Psal.92.3. holl faglau yr heliwr ysprydol.

En. *Arglwydd pa ham y gydcwi ti i* Iudas *(oedd yn dy fradychu) dy gusann?*

*Cri.* Megis trwy oddef geiriau gwefusau twyllodrus, y gallwn yn yr vnrhyw fan ddechrau talu iawn am bechod, o'r
Gen.3. 4.5. cyfryw fan, y dygasai *Satan* ef gyntaf i'r byd.

En. *Arglwydd pan ham y mynnit ti dy werthu am 30. o ddarnau arian.*

*Cri.* Fel y gallwn ni dy ryddhau di o gaethiwed tragwyddol.

En. *Arglwydd pa ham y gweiddiast ti trwy y fath lefain cryf a dagrau?*

*Cri.* Fel y gallwn i ddiffoddyd creulondeb cyfiawnder Duw, yr hwn oedd mor danbaid wedi ei ennyn yn dy erbyn di.

En. *O Arglwydd pa ham yr oeddyt ti mewn ymdrech meddwl yn chwysu defnynnau gwaed?*

*Cri.* Mal gan ddioddef y digofaint dyledus i'th pechodau di, y gellit ti fod ynfwy diofal yn dy farwolaeth a chael mwy o gyssur yn dy wrthwynebion.

En. *Arglwydd pa ham y gweddiaist di mor fynych, ac mor ddifrifol, am fyned or cwppan hwnnw oddiwrthit?*

*Cri.* Fel y gellit ti ddeall echryslonrhwydd y felldith honno ar digofaint, yr hon er ei bod yn ddyledus i'th bechodau di, yr oeddwn i y pryd hynny yn ei yfed, ac yn ei oddef trosot.

En. *Arglwydd pa ham y darfu i ti ar ol dy ddymuniad, ostwng dy ewyllys dy hun at ewyllys dy Dad?*

*Cri.* I ddyſcu i ti pa beth a ddylit ti ei wneuthur yn dy holl flinderau: ac mor fodlon y dylyt ti ymroi i oddef trwy ammynedd y gwrthwyneb, yr hyn a weli di ei fod yn dyfod oddiwrth law gyfiawn dy Dâd nefol.

En. *O Arglwydd i ba beth y chwyſaiſ di ddagrau o ddyfr a gwaed?*

Luc. 22. 44. *Cri.* Fel y gallwn i dy lanhau di oddiwrth dy feiau duon a'th anafau gwaedlyd.

Luc 22. 25. En. *O Arglwydd pa ham y mynnit ti dy ddal, pryd y galleſit ti ddiangc gan dy elynion?*

*Cri.* Fel na chai dy elynion yſprydol moth ddala di a'th taflu i garchar,

Mat. 5. 25 i'r tywyllych eithaf.

En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti i'th holl ddiſcyblion dy adael, a ffôi ymaith?*

Mat. 26. 56. *Cri.* Fel y gallwn ni dy gymmodi di â Duw, gan yr hwn yr oeddit tithau yn cael dy adael am dy bechod.

Ioa 18. 8 En. *Arglwydd pa ham yr oeddyt ti yn ſefyll dy hunan: gael dy ddala?*

*Cri.* I ddangos i ti fod ynghariad i i'th iechydwriaeth di, yn fwy na chariad fy holl ddiſcyblion.

En.

En. *Arglwydd pa ham y cafas y gwr ieuangc ei ddal gan y milwyr, a'i ddiosc iw ddisuddio o'i liain: yr hwn a ddaethai oi wely wrth glywed y trwst oedd wrth dy ddala a'th ddwyn at yr Archoffeiriad?* Mar 14. 51, 52.

*Cri.* Iddangos eu creulondeb hwy yn fy llindagu i, am gallu innau yn gwaredu fy holl ddiscyblion allan o'i dwylaw ffieidd-gwbl hwynt, yr rhai o ni buasai hynny, a gawsent eu trin yn waeth ganddynt hwy nac y triniwyd y gwr ieuangc hwnnw.

En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti dy rwymo?* Mat.27.2

*Cri.* Fel y gallwn ddattod rhaffau dy anwireddau di.

En. *Arglwydd pa ham y gwadodd* Petr *dy di?*

*Cri.* Fel y gallwn dy gyfaddef di o flaen fyn Nhâd, ac fel y gellit ti ddyscu nad oes dim ymddiried mewn dŷn, a bod iechydwriaeth yn deilliaw yn vnig o'm trugaredd i. Luc. 22. 57.

En. *Arglwydd pa ham y dygaist di* Petr *i edifeirwch, trwy ganiad y ceiliog?*

*Cri.* Fel na byddai i neb ddirmygu y

moddion a ordeiniwyd iw troad; a gwaeled y byddont iw gweled.

En. *Arglwydd pa ham y darfu i ti ar*
Luc.22. 16. *ganiad y ceiliog droi ac edrach ar* Petr?

*Cri.* Fel y gellych ti wybod, heb gynnorthwy fy-ngrâs i, na ddichon vnrhyw foddion droi pechadur at Dduw, wedi iddo ef vnwaith gwympo oddiwrtho ef.

En. *Arglwydd pa ham yr oeddyt ti*
Ioa.19.5. *wedi dy ymwisco mewn gwisc o borphor?*

*Cri.* Fel y gellych ti ddeall mai fy fi ath lanhâodd di oddiwrth dy bechodau gwaedlyd.

En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti dy*
Mat 7.29 *goroni â drain?*

*Cri.* Mal gan wisco drain, ffrwythau cyntaf y felldith, y byddai yn eglur, mae fy fi sydd yn tynnu ymmaith y pechodau ar felldith or byd, ac yn
1.Pet.5. dy goroni di â choron y bywyd a'r gogoniant.

En. *Arglwydd pa ham y rhoddasid*
Mat.27. 29. *corsen yn dy law di?*

Mat.12. 20. *Cri.* Fel y byddai yn eglur na ddaethim i dorri *y gorsen ysig.*

En. *Arglwydd pa ham y gwatworwyd*

*wyd dydi gan yr Iddewon?* Mat.27.

*Cri.* Fel y gellit ti orfoleddu ar gyth- 29.
reuliaid, y rhai oni bai hynny, a fuasent yn dy watwor di, megis y darfu Barn.16.
i'r Philistiaid a *Sampson.* 25.

En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti halogi dy fendigedig wyneb â phoer?* Mat.26. 67.

*Cri.* Fel y gallwn lanhau dy wyneb di oddiwrth gywilydd pechod.

En. *Arglwydd, pa ham y cuddiwyd dy wyneb di?* Mar.14.

*Cri.* Fel, gan ddwyn ymmaith dy 65.
ddallineb ysprydol di, y gellit ti ganfod wyneb fy Nhâd yn y nefoedd.

En. *Arglwydd pa ham i'th tarawsant di â dyrnau, ac i'th pwyasant di â ffynn?*

*Cri.* Fel y gellit ti fod yn rhydd, oddiwrth ddyrnodiau, a rhwygiadau Mat.27.
yr ysprydion vffernol. 30.

En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti dy gablu?*

*Cri.* Fel y gallai Dduw adrodd Mat.27.
tanghneddyf wrthit ti trwy ei air ai y- 39.
spryd.

En. *Arglwydd pa ham y rhodded clesisiau ar dy wyneb â chernodiau?* Ioa.19.3.

*Cri.* Fel y tywynnai dy wyneb di yn Mat.13.
ogonedd us, megis *Angel* yn y nefoedd. 13.

En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti dy fflangellu mor greulon?*

*Cri.* Fel y gellit ti fod yn rhydd oddiwrth bigiad neu frâth cydwybod, ac oddiwrth fflangellau poen dragwyddol.

En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti dy ddwyn yn rhwym ger bron Brawdle Pilat.*

Mat.14.53. *Cri.* Fel y gellyt ti yn y dydd olaf gael dy ryddhau ger bron ſyngorſeddfaingc i.

Luc.23.2 En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti dy gyhudao ar gam?*

*Cri.* Fel na chait ti moeh euog farnu yn gyfiawn.

Mat27.2. En. *Arglwydd pa ham y traddodid tydi i'th euog farnu gan Farnwr dieithr.*

*Cri.* Fe y gellit ti wedi dy waredu o gigwien yr ufferrnol gigydd, gael dy roi yn ol i Dduw, ciddaw yr hwn oeddit o gyfiawnder.

Ioa.19.11. En. *Pa ham y darfu i ti gydnabod, fod awdurdod i Pilat arnat ti, wedi ei ddodi oddi-uchod?*

*Cri.* Fel na chai yr *Anghrist* trwy liw o'i fod yn Ficar i mi, ei dderchafu

ci

ei hunan vwchlaw pob gallu a thywy-
sogaethau. Rhuf.13.

En. *Arglwydd pa ham y dioddefaist* 1.Pet.2.
*di dy archollion dan Pontius Pilatus, yr* 13,14.
*hwn ydoedd bennaeth o Rufeiniwr dan*
*Caesar?*

*Cri.* I ddangos mai dichellgar ly- Dad.11.
wodraeth y *Caesariaid* a'r *Escobion o Ru-* 8.
*fain*, a brif erlidient yr Eglwys, ac am
*croesboelient* i yn fy aelodau.

En. *Eithr pa ham O Arglwydd y myn-*
*nit ti dy gondemnio a'th farnu yn euog?* Ioa.19. 6.

*Cri.* Megis y byddai y gyfraith we- Luc.23.24
di ei chondemnio ynof fi na chid mo'th
condemnio di trwyddi hi.

En. *Ond pa ham y mynnit ti dy* Mat.27.
*gondemnio pryd na allent brofi dim yn* 24.
*dy erbyn di?*

*Cri.* Fel y gellit ti wybod nad am fy
mai fy hun, eithr mai trosot ti y dio-
ddefais i.

En. *Arglwydd pa ham i'th arweini-* Mar.27.
*wyd ti allan o'r ddinas, i ddioddef?* 33.

*Cri.* Fel y gallwn i dy ddwyn di i'r
ddinas nefol i orphywys.

En. *Arglwydd, pa ham y darfu ir* Luc.23.
*Iddewon beri i Simon o Ciren, yr hwn* 16.
*oedd yn dyfod o'r maes, ddwyn dy groes di?*

*Cri.* I ddangos y gwendid i'r hwn y darfu eu bwys dy bechodau di fy nhrosclwyddo i: ac ym mha ryw gyflwr y mae pob Cristion, yr hwn sydd yn myned i faes allan or byd yma tu ag at *Ierusalem* nefol.

Ioan.29. 23. En. *Arglwydd pa ham i'th ddinoethwyd o'th ddillad?*

*Cri.* Fel y gellych di weled fel y darfu i mi ymadel ar cwbl i'th prynu di.

En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti dy godi ar Groes?*

Luc.23. *Cri.* Fel y gallwn dy gyfodi di gyd â myfi i'r nef.

En. *Arglwydd pa ham y mynnyt ti dy grogi ar bren melldigedig?*

*Cri.* Fel y gallwn dalu iawn am y pechod a wneuthid ti wrth fwyta ffrwyth y pren gwaharddedig:

Luc.23. 33. En. *Arglwydd pa ham y mynnyt ti grogi rhwng dau o ladron?*

*Cri.* Fel y gellit ti (fy anwyl enaid) gael lle ym mhlith yr Angelion sanctaidd.

Psal.22. 16. Ed. *Arglwydd pa ham yr hoeliwyd dy draed ath ddwylaw wrth y groes?*

I roi rhydd-did i'th ddwylaw di i wneu-

wneuthur gweithredoedd cyfiawnder, ac i roi dy draed yn rhydd i rodio mewn ffyrdd tanghneddyf.

En. *Arglwydd pa ham y darfu dy groeshoelio yn golgotha, lle 'r oedd pen-glogau y gwyr meirwon.* Mat. 27. 33.

Cri. Ith siccrhau di fod fy marwolaeth i yn fywyd it marwol.

En. *Arglwydd pa ham na rannai y milwyr dy bais ddi-wniad?* Ioa. 19. 24.

Cri. I ddangos mai vn yw fy Eglwys heb rwyg o gau grediniaeth.

En. *Arglwydd pa ham y darfu i ti archwaethu finegr yn gymmescedig â bustl?* Mat. 27. 34.

Cri. Fel y gellit ti gael bwyta bara Angelion, ac yfed dwfr y bywyd.

En. *Arglwydd pa ham y dywedaist ti ar y groes fe a'i gorphenwyd?* Ioa. 19. 30.

Cri. Fel y gellit ti wybod, fod y gyfraith wedi ei chyflawni trwy fy marwolaeth i, a'th iechydwriaeth dithau wedi ei weithredu. 2. Cor. 5. 13.

En. *Arglwydd pa ham y darfu i ti lefain allan ar y groes, fy Nuw fy Nuw, pa ham i'm gwrthodaist?* Ioa. 19. 34.

Cri. Rhag i ti wedi cael dy wrthod gan Dduw, gael dy fwrw allan i lefain

ym mhoenau vffern: gwae ac och yn dragwyddol.

Mat.27. 34. En *Arglwydd pa ham yr oedd y fath dywyllwch mawr cyffredinol, pryd yr oeddit ti yn dioddef ac yn llefain ar y groes?*

2.Pet.2. 4. *Cri.* Fel y gellit ti weled cyffelybiaeth o'r poenau vffernol, a ddioddefais i i'th waredu di o boenau didrangcedig vffern, ac o rwymedigaeth tywyllwch tragwyddol.

Ioa.19. 23. En. *Arglwydd pa ham y mynnit ti hoelio dy freichiau ar llêd?*

*Cri.* Fel y gallwn i dy gofleidio di yn garedicach, fy enaid anwyl.

Luc.23. 43. En. *Arglwydd pa fodd y darfu i'r lleidr ni wnaethai ddaioni erioed o'r blaen, ynnill paradwys ar y cyfryw edifeirwch byrr?*

*Cri.* Fel y gellych di weled gallu fy marwolaeth i, yn maddau i'r rhai a edifarhâo, megis na byddo rhaid i vn pechadur anobaithio.

Luc.23. 39. En. *Arglwydd pa ham na chai y lleidr arall, yr hwn oedd yn crogi cyn nesed ac yntau attat, feddiannu yr vnrhyw drugaredd?*

*Cri.* Am fy mod i yn gadael yr rhai a *fyn-*

*a fynnwyf fi* iw caledu eu hunain yn eu drygioni, i ddinistr, fel y byddai bawb yn ofni, ac na ryfygai neb. Rhu.9.18 22.

En. *Arglwydd pa ham y darfu i ti lefain a'r fath lef uchel, yn rhoddi yr yspryd i fynu?* Mat.26. 50.

*Cri.* Fel i'r ymddangosai, na ddygodd neb mom henioes i oddiarnaf, eithr rhoddi o honof fi hon ar lawr o honof fy hunan. Ioa.10.8

En. *Arglwydd pa ham y darfu i ti orchymmyn dy enaid i ddwylaw dy Dâd?* Luc.23. 46.

*Cri.* I ddyscu i tithau pa beth a ddylit ti ei wneuthur wrth ymadael ar bywyd hwn? Ioa..13.1

En. *Arglwydd pa ham y rhwygwyd llenn y deml yn ddwy wrth dy farwolaeth?* Mat.27. 51.

*Cri.* I ddangos na chai ddeddf y *leuitiaid* fod mwyach yn ganolgae terfyn rhwng yr Iddewon ar cenedloedd: a bod y ffordd i'r nefoedd yr awrhon yn agored i bawb a gredant. Eph.2.14

En. *Arglwydd pa ham y crynodd y ddaiar ac ir holldodd y meini wrth dy farwolaeth di?*

*Cri.* O ddychryn dwyn ei Harglwydd iw farwolaeth, ac i dymeru caledwch

dwch a chreulondeb ynghalonnau pechaduriaid.

En. *Arglwydd pa ham na thorrai y milwyr dy esgeiriau, fel y gwnaethant ir lladron yr rhai oeddynt yn crogi o'th ddeutu?*

Exod. 12. 46. Psa. 34. 21. *Cri.* Fel y gellit ti wybod, nad oedd iddynt allu i wneuthur dim ychawneg i mi, nac a rag-ddywedasai yr Scrythur y gwnaent, ac a ddioddefwn innau, i'th waredu di.

En. *Arglwydd pa ham y gwahanwyd dy ysdlys â gwaiwffon?*

*Cri.* Fel y gellit ti gael ffordd i ddyfod yn negossach at fy nghalon.

Ioa. 19. 34. En. *Arglwydd i ba beth y rhedodd y dwfr ar gwaed allan o'th fendigedig ystlys?*

Ioa. 19. 34. *Cri.* I siccrhau i ti fy lladdi, mewn gwirionedd, gan fod gwaed fynghalon yn ffrydio allan, a'r dwfr yr hwn oedd o amgylch fynghalon yn pistyllio ar ei ol: i'r hwn y tywallter vnwaith y mae 'n angenrhaid iddo farw.

En. *Arglwydd, pa ham y rhedodd y gwaed o'r neilltu, ar dwfr a'r ol hwnnw ar neilltu yntau, allan o'th fendigedig archoll.*

*Cri.* I'th siccrhau di o ddau beth: 1. mai

mai trwy dywalltiad fyngwaed i, y gweithredwyd cyfiawnhâd a ſanctei-iddiad i'th waredu di. 2. mae fy yſpryd i, trwy gydwybodus arfer o'r dwfr yn y *Bedydd*, ar gwaed yn y *Cymmun*, a weithreda ynot ti gyfiawnder a ſancteiddrwydd, trwy yr hyn y cai di fyngogoneddu i.

En. *Arglwydd pa ham y darfu i'r beddau ageri wrth dy farwolaeth?* Mat.2.52.

*Cri.* I arwyddoccau, fod Angau trwy fy angau i, wedi cael ei friw angau, ai orchfygu.

En. *Arglwydd pa ham y mynnyt ti gael dy gladdu?* Mat.27.60.

*Cri.* Fel na allai dy bechodau di fyth gyfodi i fynu yn y farn, yn dy erbyn di.

En. *Arglwydd pa ham y mynnyt ti y fath ddau Henuriaid anrhydeddus, ſef,* Nicodemus, *a* Ioſeph o Arimathea, *ith claddu?*

*Cri.* Fel y byddai y gwirionedd o'm marwolaeth i (yr achos oth fywyd di) yn eglurach i ymddangos i bawb oll. Io.19.40.

En. *Arglwydd pa ham i'th claddwydd mewn bedd newydd yn yr hwn ni roddaſid dŷn erioed or blaen?* Ioa.19.4

*Cri.*

*Cri.* Fel y byddai yn eglur, mai fy fi ac nid neb arall a gyfododd: ac mai trwy fy nerth fy hun, ac nid trwy rinwedd neb arall, mal y bwn a aeth i fyw wrth gyffwrdd ag efcyrn *Elisha.*

Mat.28.6. En. *Arglwydd pa ham y darfu i ti gyfodi dy gorph drachefn?*

Rhu 4.25. *Cri.* Fel y gellyt ti fod yn ddiogel o fod dy bechodau gwedi eu rhyddhau, ath fod dithau wedi dy *gyfiawnhau.*

*En. Arglwydd pa ham y darfu eu gynifer o gyrph y Sainct yr rhai a hunasent, gyfodi wrth dy adcyfodiad di.* Mat.27.52

Act.17.3. *Cri.* I roddi hyfofyrwydd, yr adcyfoda holl gyrph y Sainct, trwy rinwedd fy *adcyfodiad* i yn y dydd diweddaf.

Psa.116.11. En. *Arglwydd pa beth a roddaf i ti am dy holl ddoniau hyn?*

Gal.6.15 *Cri.* Câr dy Greawdr, a bydd yn greadur newydd.

---

*Yr Enaid wrth fyfyrio ar ddioddefaint ei Arglwydd yn treuthu wrtho ei hunan.*

PA beth a wnaethost di, O fy Iachawdwr hyfryd, am tra-fendigedig waredydd? pryd y bradychodd *Iudas* ty di, i'th werthwyd i'r Iddewon, i'th ddaliwyd, megis drwgweithredwr, ac ith arweiniwyd yn rhwym mal Oen i'r lladdfa? Pa ddrygioni a wnaethit ti, y byddai raid i ti fel hyn yn gyhoeddus gael dyfarnu, ath cyhuddo ar gam, ath euogfarnu i farw yn anghyfiawn ger brô *Annas* a *Chaiphas*, Offeiriadau Iddewaidd a cher bron brawdle *Pilât* Pennaeth o Rufeinydd? Pa beth oedd dy fai? neu i bwy erioed y cynnygiaist di gam? fel y byddai raid i ti fel hyn yn dostturus gael dy *guro* â *fflangellau*, dy *gyroni* â *drain*, dy *fingammu* â gwatworgerdd, dy *gablu*, â geiriau, dy gernodio, â dyrnau, dy bwyo â ffynn? O Arglwydd pa wedd yr haeddaist di gael dy fendigedig wyneb wedi ei ddiss-boiri trosto, a chwedi ei guddio

megis

megis â chywilydd? gael dy ddillad wedi eu rhannu, ath ddwylaw a'th draed wedi eu hoelio wrth y groes? ath cyfodi i fynu ar y pren melldigedig, i'th *croesshoelio* ym mhlith lladron, a gwneuthur i ti archwaethu *Finegr a bustl?* ac yn dy angenoctid ath orthrymder marwol, i oddef y fâth lifeiriant anfeidrawl o ddigllonrhwydd Duw, yr hyn a wnaeth i ti lefain allan megis pe buasit ti ar wrthod gan Dduw? hefyd dy galon ddiniwaid yn cael ei goreithio â gwaiwffon felldigedig, a thywallt allan dy werthfawr waed o flaen llygaid dy Fam fendigedig? Oh Iachawdwr anwyl, pa fâth greulondeb ar gystudd a gefaist di yn goddef hyn oll, gan weled fy mod i yn synnu cyn belled wrth feddwl am dano. Yr wyf fi yn gofyn am dy fai, ac ni fedrai
1.Pet.2.22. glywed fôn am yr vn ynot ti, *na chymmaint a chael twyll yn dy enau.* Yr ydis yn holi dy elynnion, ac ni feiddiodd yr vn o honynt dy argyoeddi *di o*
Ioa.1.4.6. *bechod*: y cyhuddwyr (a gyflogesid) nid oeddynt yn medru cyttuno yn eu tystiolaeth: y Bar[illegible]r oedd i'th fwrw, oedd y [illegible] ddiniweidrwydd

yn

yn agored: yr oedd ei wraig ef wedi danfon gair iddo, ei bod hi wedi cael ei rhybuddio mewn bryddwyd, o'th fod di yn wr vnion; ac am hynny y dylai efe gymmeryd gofal, ac edrych rhag gwneuthur anghyfiawnder â thydi. Y Canwriad yr hwn oedd i'th *ddibenyddio* di, oedd yn cyfaddef a'n wirionedd dy fod ti yn wr cyfiawn, ac yn wir Fab i Dduw. Yr oedd y lleidr yr hwn oedd yn crogi gyd â thydi, yn dy gyfiawnhau di: gan ddywedyd na wneuthit ti ddim ar fai.

Gan hynny o Arglwydd, pa beth ydyw yr achos o'th wradwydd cruelon, a'th ddioddefaint arteithiol? Fy fi o Arglwydd, fy fi ydyw yr achos o'th ofidiau hyn: fy mhechodau i a weithredoedd dy gywilydd, fy anwiredd i oedd yr achosion o'th gammau di, my fi a wneuthum y bai, a thithau a bennydiwyd am y camwedd, fy fi ydwyf *euog*, a thithau yn cael dy ddwyn ger bron i *drafeisio*, my fi a wneuthum y pechod, a thithau a ddioddefaist y farwolaeth, my fi a wneuthum y *bai*, a thithau a grogwyd ar y *Groes*. Oh ddyfnder cariad Duw. O ynmarweddiadd nefol *ryfeddol*

*ddol rad.* Oh anfesurol fesur o dra-
vchel drugaredd. Y *drygionus* yn tro-
seddu ar *cyfiawn* yn cael ei gospi: yr
*euog* yn diangc, ar *gwirion* yn cael ei
fwrw iw farwolaeth: Y *drwgweithre-
dwr* yn cael ei ryddhau, ar *di-niwaid* ei
gondemnio: yr hyn yr oedd y dŷn
drwg yn ei haeddu, yr oedd y dŷn da
yn ei ddioddef: y *gwas* yn gwneuthur
y camwedd, a'r *Meistr* yn cael y ce-
rydd. Pa beth a ddywedai? *Dŷn* a
bechodd a *Duw* a fu farw. O Fab Duw
pwy a ddichon gyflawn adrodd dy *ga-
riad*? neu ganmol dy *dduwioldeb*? neu
ddatcan prydferthwch dy foliant? yr
oeddwn i yn *falch*, a thithau yn *ostyng-
edig*, yr oeddwn i yn anufydd a
thithau a fuost vfydd. My fi a fwytei-
ais o'r *pren gwaharddedig* a thithau a
grogodd ar y *pren melldigedig*. My fi
a fum ddyn *glwth*, a thithau a ympry-
diaist. *Chwant diffaith* am arweiniodd
i, i fwyta 'r *afal melus*, *a chariad tra-
pherphaith* a'th tywysodd di i yfed o'r
*cwppan chwerw*: my fi a brofais flasu-
saf ffrwyth yr *aeron*, dithau a archwa-
ethaist chwerwdod y *bustl*. *Efa* ynfyd
oedd yn gwenu, pryd yr oeddwn i
yn

yn chwerthin, eithr yr oedd *Mair* fendigedig yn wylo, pryd yr oedd dy galon di yn gwaedu, ac yn marw. O fy Nuw, yma yr wyf yn gweled dy ddaioni di, am drygioni innau: dy *gyfiawnder* di, am *anghyfiawnder* innau: annuwioldeb fyngnawd i, a duwioldeb dy anian di. Ac yr awrhon o Arglwydd bendigedig, gan ddarfod i ti ddioddef hyn oll er fy mwyn i; *pa beth a roddaf i ti am yr holl ddoniau a ganniadheuaist di i mi* enaid truan; mewn gwirionedd Arglwydd, yr wyf yn cyfaddef fy mod i yn dy ddlêd ti yn barod am *fyngbreadigaeth*, yn fwy nac yw bossibl i mi allael ei dalu: canys o herwydd hynny yr wyf yn rhwymedig a'm holl *allu, ewyllys*, a *thraserch*, i'th garu, a'th anrhydeddu di. Os wyf fi yn fy *nyled* fy hunan i ti, am i ti fy rhoddi fyfi fy hunan i mi, yn *fyngbreadigaeth*: pa beth yr awrhon a *roddaf* fi i ti, am dy roddi dy hun trosof fi i'r fâth farwolaeth echryslon, er mwyn *fy mbrynedigaeth*? Mawr oedd y dawn, oedd i ti fyngreu o ddim, ond pa dafod a ddichon ddatcan yn vniawn mawredd y rhâd hwn: ddarfod i ti fy mhrynu am bris

mor

mor werthfawr, pryd yr oeddwn i yn waeth na dim? yn wir Arglwydd oni allaf fi dalu y diolch a ddylwn i ti; (a phwy a eill dalu i ti, yr hwn wyt yn rhoddi dy radau heb synnied *haeddedigaeth* nac edrych ar *faintiolaeth*: ) amlder dy fendithiau sydd yn fyngwneuthur i mor druan-dlawd, megis yr aethum cyn belled oddiwrth allael talu *corph yr hawl*, mal nad yw bossibl i mi dalu cymmaint a'r *llog* o'th gariad.

Eithr o Arglwydd ty-di a wyddost er pan gollais i dy lun di (o waith codwm fy henafiaid anedwydd) na allaf fi moth garu di am holl allu, ac am holl feddwl, fel y dylwn: Am hynny megis y darfu i ti yn gyntaf daflu dy serch arnaf fi, pryd yr oeddwn i yn *blentyn y digofaint*, ac yn dywarchen or byd colledig; felly yr awrhon yr wyf yn attolygu i ti dywalld dy gariad trwy dy làn yspryd, i'm holl feddyliau am amcanion, fel, er nas gallaf fi fyth dalu i ti yn y fâth fesur ar gariad, ac a haeddaist di: etto y gallwyf ymegnio i dalu i ti yn y cyfryw fodd, ac a fyddo yn gymmeradwy gennit ti yn dy *drugaredd*; fel y byddwyf mewn

vniondeb

vniondeb calon, i garu fynghymydog er dy fwyn di, a'th caru di vwchlaw pob dim er dy fwyn dy hunan. Na âd i ddim fod yn ddifyr gennif, ond yr hyn a fyddo yn ddifyr ger dy fron di. Ac o Iachawdwr anwyl, na chynnwys i mi fyth fod yn golledig, neu fy nhaflu ymmaith: yr hwn a brynaist ti cyn ddrutted a'th *werthfawr waed* dy hun. O Arglwydd na âd i mi fyth anghofio dy anfeidrol gariad hyn, a'th ddawn amhaethadwy o'm prynedigaeth i: heb yr hyn beth, fe fuasai well i mi na *buasWn* erioed, na chael *bod.*

A chan weled dy fod ti yn canniadhau i mi gynnorthwy dy lân Yspryd; Dòd gennad i mi o Dâd nefol (yr hwn wyt Dâd yr ysprydau) ynghyfryngdod dy Fab i lefaru ychydig eiriau ynghluistiau fy Arglwydd. Os ydwyt ti o Arglwydd yn fy nirmygu am gwrthod am fy anwireddau, fel yr haeddwn, etto bydd drugarog wrthif fi er mwyn haeddedigaethau dy Fab, yr hwn a ddioddefodd gymmaint trosof fi. Beth er nad wyt ti yn gweled ynof fi ddim ond trueni, yr hyn a ddichon

ennyn

ennyn dy ddigter a'th ddigofaint: etto edrych ar haeddedigaethau dy Fab, ac ti a gai weled digon ith annog i drugaredd a thosturi: gwêl ddirgelwch ei gnawdoliaeth ef, a gollwng dros gôf drueni fy nrhoseddau i. A chan fynyched ac y byddo archollion dy fab yn ymddangos yn dy olwg, gâd ei ròch a gwaedd fy mhechodau i fod yn guddiedig oth wydd di. Cyn fynyched ac y byddo cochni ei waed yn discleirio yn dy olygon: Oh gâd i euogrwydd a haeddedigaeth fy mhechodau, gael eu tynnu allan o'th lyfr di. Afiaeth fy nghnawd i a enynnodd dy ddigofaint ti: Oh gâd ei ddiwairdeb ei gnawd ef ddwyn ar gof i ti drugarhau: megis yn y modd y darfu im cnawd i fy nrhoi i bechu, felly y gallo ei gnawd ef fy nhattroi ith ffafr di. Fy anufydd-dod i a haeddodd ddial mawr, ond ei ufydd-dod ef a haeddai ddau cymmaint o drugaredd: canys pa gosp a ddichon dŷn ei haeddu, ar nas dichon Duw yr hwn a wnaeth ddŷn haeddu cael maddeuant am dani? pan ystyriwyf faintiolaeth dy ddioddefaint, yno yr wyf yn gweled wiried y dywedir:

*Ddyfod*

*Ddyfod o Iesu Grist i'r byd i iachau 'r pechaduriaid pennaf.* A fciddi di gan hynny *O Cain ddywedyd fod dy bechodau yn fwy nac a ellir eu maddau?* Yr wyt ti yn dywedyd celwydd fel Llofruddiwr. Trugareddau vn Crist a ddichon faddau i lonaid yr hollfyd o fâth *Cain*, os *credant* ac *ediferhânt*. Pechodau yr holl bechaduriaid ydynt ofewn rhif, trugareddau Duw ydynt anerif. Am hynny O Dâd er mwyn Angau chwerw a dioddefaint gwaedlyd dy Fab Iesu Grist, yr hyn a ddioddefodd trosof fi, y rhai a gofiais i yr awrhon wrthit: maddau a phardyna i mi fy *holl* bechodau, a gwared fi oddiwrth y felldith ar dial, y rhai y maent hwy yn ei gyfiawn haeddu: a thrwy ei haeddedigaethau ef, gwna fi O Arglwydd yn gyfrannog o'i drugaredd ef. Dy drugaredd di ydyw y peth am yr hwn yr ydwyf fi mor ddifrifol yn curo amdano. Ac ni chaiff fy nhaerder ballu a galw, a churo megis y dŷn oedd yn ceisio y torthau ym menthyg: nes i ti godi ac agori pyrth dy râd i mi. Ac oni channiadhei di i mi y bara, O *Arglwydd* na naccâ mo honof fi o

friwsion

friwſion o'th trugaredd, a hynny a gaiff waſanaethu i'th lawforwyn newynllyd.

A chan weled nad wyt ti yn gofyn dim am dy holl ddoniau, ond i mi dy garu yngwirionedd ſef, o eigion fyngalon oddifewn ( o'r hyn y mae *Creadur newydd*, yn vnionaf tyſtiolaeth *oddiallan*,) a bod cyn hawſed gyd â thydi, fyngwneuthur i yn *greadur newydd*, a pheri i mi fod yn gyfryw ac wyf: *Crea galon lân ynof o Griſt ac adnewydda yſpryd vnion o'm mewn*: Ac yno y cei di weled mal (gan farwhau yr hên *Adda* ai drachwantau llygredig) y gwaſanaethaf dydi mal *creadur newydd*, mewn buchedd *newydd*: rhyd llwybr *newydd*: â thafod *newydd*, a moddion *newydd*, â geiriau *newyddion*, â gweithredoedd *newyddion*, er gogoniant i'th enw, ac i ynnill eneidiau pechadurus eraill, i'th ffydd di, trwy fy agwedd bucheddol.

Cadw fi yn dragywydd o fy Iachawdwr oddiwrth boenau vffern a chreulondeb y cythraul. A phan fyddwyf i ymadel ar bywyd hwn, danfon dy Angelion ſanctaidd im dwyn i

fel

ſel y dygaſant enaid *Lazarus* i'th deyrnas nefol. Derbyn fi y pryd hynny i'th hyfrydol baradwys, yr hwn a addewaiſt ti i'r lleidr ediſeiriol, yr hwn ar ei ddiben diwaethaf ar y groes, oedd mor ſucheddol yn erfyn dy drugaredd, a lle yn dy deyrnas. Canniadhâ hyn, o Criſt, er mwyn dy enw dy hun: I'r hwn megis y mae 'n gyfiawn ddyledus, y byddo holl ogoniant, ac anrhydedd, mawl, a goruchafiaeth yr awr hon, ac yn oes oeſoedd.

*Amen.*

*TERFYN.*



# DOSPARTHIAD O BOB PRIF ACHLYSUR CYNNWYSEDIG YN Y llyfr hwn.

49. Gweddi

Ni chefais i amser i graffu ar y beiau a ddiangodd yn y print, am hynny ddarllennydd cariadol attolwg i ti eu diwygio.

---



## Interpretis de ſeipſo Epigramma.

*GWaith yw hwn a haeddei ei wnenthur*
*Gan vn a fai â mwy o ſynwyr,*
*Ond fel* Pilat *mi a ddwedais*
A ſcrifennais, a ſcrifennais.
*Mai 'n dda gennif druan ienthydd*
*Ynnill cariad y darllennydd*
*Os bu ddiffyg yn cyfiesthu,*
*Cymred wllys yn lle gallu.*
*Mi wn nad yw ſyngwaith anhymmig*
*Ond gwaeliawn ac annyſcedig*
*Fel y mae yn rhodd* cymmerwch
*Oni wnewch chwi well* canmolwch

## Chronogramma.

arfer DVwIOLDeb a LafVrIalS I, yn oeD IesV.

## DIWEDD.